

GREGORY FAWR YN TEIMLO WRTH WELED PLANT Y CYMRY AR WERTH GAN GAETH-FASNACHWR AR HEOLYDD RHUFAIN.—Tudal. 125.

"TRA MOR TRA BRYTHON."

# HANES
# CENEDL Y CYMRY,

MEWN

## Pymtheg o Ddarlithiau;

YN CYNWYS—

EU BONEDD—EU GWLADYCHIAD YN MRYDAIN—EU CREFYDD—DAROSTYNGIAD YR YNYS GAN Y RHUFEINIAID—A DYGIAD CRISTIONOGAETH I'W PLITH.

EU HELYNION AR OL YMADAWIAD Y RHUFEINIAID,—A LLYGRIAD YR EGLWYS GYMREIG GAN BABYDDIAETH.

EU HELYNTION O DAN EU TYWYSOGION—OWAIN GLYNDWR A'I AMSERAU.

TORIAD GWAWR PROTESTANIAETH AR GYMRU—D. ROWLANDS, CHARLES O'R BALA, A'U HAMSERAU—ANSAWDD BRESENOL CREFYDD, MOESAU, AC ADDYSG YN NGHYMRU,—

ENWOGION O GYMRY

A RAGORASANT MEWN AMRAFAEL GANGHENAU O WYDDORIAETH,

&c., &c., &c.

GAN Y

PARCH. OWEN JONES,

MANCHESTER.

CAERNARFON:

CYHOEDDEDIG AC AR WERTH GAN H. HUMPHREYS.

1861.

# AT Y DARLLENYDD.

---

Parotowyd y Darlithiau canlynol i'w traddodi i gynnulleidfa o Gymry yn y ddinas hon; a buant yn offerynol i gyfeirio sylw aml un at Hanes ei wlad a'i genedl, na feddyliasai am hyny o'r blaen; ac i gynnyrchu chwaeth at farddoniaeth a henafiaethau Cymreig mewn amryw o'n hieuenctyd oeddynt, yn y lle Seisonig hwn, yn barod i godi eu ffroen mewn diystyrwch ar bob peth Cymreig.

Trwy anogaeth amryw gyfeillion, cydsyniais i ganiatau iddynt gael eu hargraffu, gan obeithio y bydd iddynt—yn y cylch eangach yma—dueddu llawer o ieuenctyd ein cenedl, wrth eu darllen, i ystyried y dyddiau gynt, blyneddoedd yr hen oesoedd; ac i ymhyfrydu mwy mewn sylwi ar yr hen olion a frithant ein cymmydogaethau—enwau bryniau, nentydd, a thai—a allant daflu goleu ar hanesyddiaeth ein gwlad; a thraddodiadau cyssylltiedig â lleoedd, ac âg adfeilion, ydynt wedi eu cadw o enau i enau mewn amryw ardaloedd; y rhai, pe y'u gwnelid yn hysbys trwy yr argraffwasg, a allent fod o wasanaeth pwysig i'r rhai ydynt yn ymchwilio i henafiaethau Cymru.

Hyd yn hyn, ychydig o lyfrau a gyhoeddwyd ar henafiaethau ein gwlad a'n cenedl yn ein hiaith ein hunain, nac am bris a'u dygai o fewn cyrhaedd y werin; gan hyny, pa ryfedd bod llawer o amaethwyr y dywysogaeth yn chwalu amryw o'n hen garneddau bob blwyddyn, er cael eu pridd i'w gymmysgu gyda gwrtaith eu meusydd—ac yn cludo cerig ein hen amddiffynfeydd i wneuthur magwyrydd o amgylch eu tiroedd—heb feddwl eu bod trwy hyny yn dileu yr unig lyfrau coffadwriaeth a adawsai ein hynafiaid am orchestion rhai o'n hen dywysogion, a'r manau y cwympasent yn nydd y frwydr, ac y'u claddesid mewn parch a galar gan eu brodyr—cyn i'r henafiaethwr ymchwilgar gael gwneyd ei gasgliadau oddiwrthynt, a gwneuthur ei adysgrif o honynt yn ddyogel trwy yr argraffwasg?

Mae rhai o'n bonedd a'n llenorion yn cael llawer o ddifyrwch ac addysg fuddiawl wrth efrydu y gangen hon o wybodaeth; a phaham na byddai i ninau—y werin—ymroddi i roddi rhyw foddion mewn gweithrediad, a effeithiai i alw sylw lluaws Cymru yn fwy cyffredinol at ei henafiaethau, nes gwneuthur amaethwyr ein gwlad a'u gweinidogion yn geidwaid ein hen adfeilion coffadwriaethol, yn lle eu dinystrwyr?

Onid allai rhyw argraffydd Cymreig ymroddgar gyfodi cyhoeddiad misol rhadlawn—gwerth tua thair ceiniog yn y mis—i'r hwn y gellid gwahodd plant Gwalia i anfon cynnyrch eu hymchwiliadau ar y wyddonaeth ddyddorawl hon, a chael ei dalu yn dda trwy eangder ei gylchdaeniad? Gallem trwy y cyfryw gyfrwng gael hanes ein hen feirdd, a darnau o'u cyfansoddiadau, yn nghydag eglurhad arnynt—hanes y carneddau, y cestyll, y meini Derwyddawl a Rhufeinig, a'r croesau Pabaidd, a frithant ein broydd—yr hen eglwysi, capeli, mynwentydd, ffynnonau cyssegredig, yspyttai, &c. ydynt luosawg yn ein hardaloedd—y traddodiadau lleawl, y rhai ydynt ar fyned ar ddifancoll—achau teuluaidd, &c.; pethau, ond eu cynnull, a wasanaethent lawer tuag at gywiraw a manylu ein hanesyddiaeth genedlaethol. Os clyw rhyw un ar ei galon roddi cychwyn ar y fath orchwyl, gwnaf a allaf er ei gefnogi; ac nid amheuaf na cha gefnogaeth galonog llawer o wŷr galluocach na myfi.

Y mae yn ddrwg genyf fod amryw wallau wedi dianc yn yr argraffiad hwn o'r Darlithiau; y rhai, efallai, a ochelasid pe y buaswn mewn cyfleustra i edrych dros y prawfleni cyn eu gweithio allan. Nid oes genyf yn awr ond ei gyflwyno, fel ag y mae, at wasanaeth fy nghydgenedl; ac yn benaf, y dosbarth hwnw o'r bobl nas gallant gyrhaedd llyfrau drutach.

Eich gostyngeiddiaf was,

OWEN JONES.

MANCHESTER,
Awst 1af, 1853.

# DARLITHIAU

AR

# HANES Y CYMRY.

## DARLITH I.

### BONEDD CENEDL Y CYMRY, A'U GWLADYCHIAD YN MRYDAIN.

Un o wireiriau doethion ein tadau oedd, "Cas gŵr ni charo y wlad a'i mago." Y mae gwladgarwch yn addurn dymunol yn nodwedd pawb a'i meddo, ac amddifadrwydd o hono yn ddiffyg i'w resynu pa le bynag y'i gweler. Cawn fod dynion o'r athrylith grefaf yn dra hoffus o'u gwlad a'u cenedl, ac wrth olrhain eu hanes a darllen eu portreiad o'u profiadau eu hunain, gwelwn na bu eu symudiadau yn nhreigl Rhagluniaeth i wledydd estronol yn ddigon grymus i ddiffodd fflam gwladgarwch o'u mynwes. A oddefwch chwi i mi ddyfynu rhai llinellau penigamp o eiddo yr anfarwol Oronwy fel enghraifft? Mewn cywydd o'i eiddo, a ganai i gyfarch y "Bardd Coch," o Walton yn swydd Gaerhirfryn *(Lancashire,)* yn y flwyddyn 1753, wedi aralleirio Ps. 37, 3—6, dywaid—

"Llyna ddiwael Israeliad!
Anwyl oedd i hwn ei wlad:
Daear Mon, dir i minnau
Yw, o chaf ffun, ei choffau:
Mawr fy nghwynfan am dani—
Fel Seion yw Mon i mi!
O f'einioes ni chaf fwyniant
Heb Fon, er na thôn na thant."

Ac mewn cywydd arall a ganai i annerch yr un gŵr, rai blyneddoedd yn ddiweddarach, yr ydym yn cyfarfod â'r llinellau hyn—

"Poed it' hedd pan orweddwyf
Yn mron llawr estron lle'r wyf.
Gwae fi na chawn enwi nod,
Ardd wen, i orwedd ynod."

A phaham na feithrinwn ninau, twf yr oes bresenol, fwy o wladgarwch yn y ddinas estronol hon? Paham y mae llawer o Gymry wedi y delont i drigianu yn Manceinion, yn enwedig os digwydd iddynt lwyddo ychydig yn y byd, yn ymwadu yn llwyr â'r iaith a wefusolwyd ganddynt gyntaf, ac yn cefnu yn hollol ar y genedl yr hanasant o honi?

Pa degwch amgenach, neu urddas rhagorach, a ganfyddant yn y Saeson pan y maent mor awyddus am eu cyfrif o honynt? Ai rhyw lwyth o anwariaid, nas gallant olrhain eu bonedd, yw y Cymry, pan y mae ambell ysgogyn yn nhrefydd mawrion Lloegr mor awyddus i guddio ei drâs, fel

nas gwybydder mai Cymro ydyw? Ai cenedl euog o annewrder diesgus, neu greulondeb direol, ydyw, fel y byddai rhyw warthnod tragyfyth yn gysylltiedig â'i hanes? A ydyw hi yn ol i ryw genedl Ewropaidd arall am foesau heirdd, a chrefydd effro ei miloedd, fel y byddai raid i'w phlant gywilyddio arddel eu hunain y cyfryw, yn mysg y Saeson, yr Ysgotiaid, a'r Gwyddelod? A ydyw ei phlant yn fwy amddifad o athrylith gynhwynol na phlant y cenedloedd cylchynol?

I hyn oll, a mwy o'r cyffelyb ymholion, gellid ateb yn nacaol yn eithaf dibetrus; ïe, gellid ychwanegu, gan ddywedyd fod y rhagoriaeth yn mantoli yn ddirfawr o du Cymro, Cymru, a Chymraeg. Ond y mae ymddygiadau o'r fath a grybwyllwyd, o eiddo ieuengctyd Cymru pan y deuant i Loegr, i'w briodoli yn benaf, efallai, i'w *hanwybodaeth,* ac yn brawf eglur nad yw yr ychydig ddysg a gwybodaeth yr ymfalchïant o honaw, ond tra arwynebol a choeg; ac am hyny y maent yn wrthddrychau i dosturio wrthynt a'u cynnorthwyo, yn hytrach nag i'w beio a'u ffieiddio.

Yn y Ddarlith hon ceisiaf olrhain bonedd ein cenedl, a'i hymsefydliad yn yr ynysoedd Prydeinaidd, ac yr ydwyf yn hyderu y bydd yr hyn a ddywedaf yn ddigonol er argyhoeddi pob Cymro a all ffurfio barn ar resymau eglur, i benderfynu nad oes iddo yr achos lleiaf i gywilyddio o'i genedl, nac i ymddihatru o'r enw *Cymro,* ar gyfrif bonedd y genedl.

Wrth *fonedd* ein cenedl y meddyliaf eu trâs, eu gwehelyth, neu y cyff o'r hwn yr hanasant. Am fonedd y Saeson, nis gwaeth iddynt pa leiaf a chwiliont arno; canys nid oeddynt *bobl* pan ydoedd ein henafiaid ni yn genedl gref, gyfoethog, ac enwog: ac nid oes yn awr *genedl* o honynt yn Mrydain, namyn rhyw bobl gymmysg o Rufeiniaid, Sacsoniaid, Normaniaid, Fflandrwysiaid, ac nis gwn pa sawl haid grwydrol eraill, a ddaethant yma drwy gydol yr oesoedd, ac a wladychasant ar yr ysglyfaeth a yspeiliasent oddiar ein tadau.

Gellir dywedyd fod un o dri pheth yn gwneuthur cenedl yn enwog yn y byd:—sef, lluosogrwydd ei phobl, gwrhydri ei gweithredoedd, neu henafiaeth ei thrâs; ond os ceir allan fod y tri rhagoriaeth uchod yn cydgyfarfod mewn cenedl, rhaid addef ei bod yn teilyngu ei galw yn wir fawr: a bod y tri pheth hyn yn perthyn i'r *Celtiaid,* neu y genedl a adwaenid yn ddiweddarach wrth yr enw y *Galiaid,* o'r rhai yr hanasom ni yn ddigymmysg, sydd brofadwy i sicrwydd.

Yn y lle cyntaf, yr oedd y Galiaid yn genedl gref a lluosawg ei phobl yn foreu; canys yr ydym yn meddu tystiolaethau sicr fod tir Gâl yn amser *Augustus Cæsar,* pan oedd gogoniant y genedl wedi tywyllu, a'i ffiniau wedi eu cyfyngu i raddau mawr, yn cynnwys tri ugain o ddinasoedd neu dylwythau mawrion a chryfion: a'r gangen o'r genedl a breswyliai Ynys Brydain oedd mor gref a lluosog, fel pan ddaeth y llengau Rhufeinaidd drosodd yma, mai trwy yr egniadau mwyaf gorchestol dros ugeiniau o flyneddoedd, ac ar draul gwaed ac einioes ugeiniau o filoedd o'u dewrion, y llwyddasant i ddarostwng yr ynys dan warogaeth i arglwyddes y byd: ac yn wir, ni lwyr ddarostyngwyd yr holl ynys byth dan iau y Rhufeiniaid, fel y cawn ddangos yn y drydedd Ddarlith.

Ac mewn perthynas i'w gwrhydri a'i henafiaeth, nyni a gawn y sylwadau canlynol yn ngwaith M. Pezron, abad dysgedig, a henafiaethwr enwog o Lydaw, neu Brydain Fechan, yn Ffrainc; fel hyn y dywaid efe: "Meddwn brawf o ddewrder dihafal y bobl hyn ers pum' cant a deng mlynedd a phedwar ugain cyn y cyfnod Cristionogawl, sef yn amser teyrnasiad *Tarquin yr Henaf,* pan y darfu i fyddin dra lluosawg o'r Galiaid, a arweinid dros fynyddau yr Alpau, dan dywysiad *Bellovessus,* oresgyn rhan fawr o'r Eidal, a'i galw ar eu henw eu hunain, *Gallia Cisalpina*

neu "Gâl ger yr Alpau;" ac yn mhen dau can' mlynedd wedi hyn, hwy a gymmerasant feddiant o Rufain ei hunan, ac a fuant dros oesoedd yn ddychryn i'r Rhufeiniaid, y rhai wedi hyny a arglwyddiaethasant ar yr holl fyd adnabyddus.

"Ac er fod gwrhydri mawreddawg yn hyn, nid oedd ond megys dyddim i'w gystadlu â'r gorchestion milwraidd a gyflawnasent oesoedd cyn hyny yn *Asia Leiaf*, *Groeg*, a'r *holl Orllewin*. Ac heblaw eu lluosogrwydd a'u dewrder, yr oeddynt yn enwog hefyd am eu henafiaeth, gan y cawn ddechreuad y genedl yn Asia Uchaf, yn mhen ychydig oesoedd wedi y dylif, a'u bod yn meddu breninoedd enwog o'r eiddynt eu hunain yn nyddiau Abraham, a chyn amser teyrnasiad *Ninus* yn Assyria."*

Mae yr henafiaethwyr cywreiniaf yn cyduno fod y Cymry yn deillio o Gomer, mab henaf Japheth, yr hwn oedd fab henaf Noa; ac felly ni ddichon un genedl dan y nef honni ei bod o fonedd uwch na hwy.

Yr hanesydd Iuddewig *Josephus*, yn y llyfr cyntaf o'i Hynafiaethau, pen. 6, yn rhoddi math o esboniad ar Gen. 10, lle y cawn ni enwau penau pob cenedl gan Moses, a ddywaid fel hyn :—"Gomer a seiliodd y bobl hyny a elwid Gomeriaid, ond a elwir gan y Groegiaid yn bresenol, Galatiaid, neu y Galiaid."

Y mae ymadroddion i'r un perwyl hefyd gan *Eustathius* o Antiochia, yn ei esboniad ar yr *Hexameron*, ond ei fod ef, yn ol y *Septuagint*, yn galw Gomer yn *Gamer*, a'i hiliogaeth yn *Gamariaid*. A *St. Jerome* yn ei sylwadau ar Genesis a ddywaid yn ddibetrus fod y Galatiaid, neu y Galiaid, wedi hanu o Gomer. *St. Isidore*, esgob *Seville*, a ddywaid, "Nyni a welwn fod gan Japheth saith o feibion; o ba rai, Gomer, yr henaf, oedd dad y Galatiaid, neu y Galiaid."

Heblaw hyn, y mae yr hen ddaiaryddwyr enwocaf, megis *Dïonysius* o Alecsandria, *Pomponius Mela*, *Pliny*, a *Ptolemy*, yn son am y Gomariaid, neu y Comariaid, gan eu cyfleu yn *Bactriana*, ar yr afon *Oxus;* a rhan neu gangen arall o honynt a gyflëir ganddynt yn *Margiana*, rhwng yr afon *Iaxartes* a'r mynydd *Immaus*, neu yr *Himalaya;* ychydig oddiar y môr a elwir y Caspiaidd, y wlad a elwir yn awr *Bokarah*.

A bod rhai o hiliogaeth Gomer yn Asia Uchaf mor ddiweddar a dyddiau y prophwyd Eseciel, sydd amlwg oddiwrth pen. 38. 6, lle y darluniai ruthriad byddinoedd o ogledd Asia i wlad Israel, ac yn eu mysg, "Gomer a'i holl fyddinoedd," neu y Gomariaid a'r bobl ereill a ddeillient o honynt.

Nid rhyfedd gan hyny oedd fod y dysgedig Syr William Jones, wrth olrhain ieithoedd India y Dwyrain, yn synu wrth ganfod ynddynt eiriau cyffelyb i amryw eiriau Cymreig, canys nid yw yn annhebyg bod rhai cangenau o'r cenedloedd dwyreiniol hyn o'r un gwehelyth a'n cyndadau.

Ond ni oddef ffiniau y Ddarlith hon i mi ddilyn tystiolaethau henafiaethwyr dysgedig a ysgrifenasant ar hyn, yn mhellach; gan hyny, ymdrechaf yn unig i roddi crynodeb cywir ac eglur o'u golygiadau ar hyn, yn nghyda'r casgliadau mwyaf naturiol oddiwrthynt.

Wedi i hiliogaeth Gomer fod dros amser yn y wlad fras a orweddai o'r tu dwyreiniol i fôr Caspia, a chynnyddu o honynt yn genedl gref, dechreuai annghydfod dori allan yn eu plith, trwy eu bod yn cyfyngu ar eu gilydd; bu raid i'r blaid wanaf godi allan o'r diwedd, fel gwenyn o gwch, i chwilio am gartref arall; felly, gan groesi y mynyddau mawrion a orweddent ar y tu deheuol i'w tiriogaeth, hwy a ddaethant i wlad oedd yn meddiant y Mediaid, hiliogaeth *Madai*, trydydd mab Japheth; a thrwy fodd neu anfodd, hwy a ymsefydlasant yn y wlad grybwylledig; a chan

* The Antiquities of Nations, b. i., ch. 1.

eu bod yn bobl a yrasid allan o'u gwlad enedigol, ac a ysgaresid oddiwrth eu brodyr, fe'u gelwid *Parthiaid;* a'r dalaeth yn yr hon y gwladychent a elwid *Parthia*, o'r hen air Celtaeg, *parthu;* ac o'r rhai hyn yr hanodd y Persiaid—yn iaith y rhai, fel y sylwa *M. Pezron* a dysgedigion ereill, y mae lluaws o eiriau Celtaeg. Cymmerai hyn le cyn teyrnasiad Ninus yn Assyria, ac felly mor foreu, os nid boreuach, na dyddiau y patriarch Abraham.

Ond cyn pen llawer o amser wedi deoliad y gangen gyntaf o'r drigfan gyntefig, llanwai yr hen gwch eilwaith, a heidiau newyddion a orfyddent godi allan yn barhaus, llawer o ba rai a amgylchent y Môr Caspiaidd, a'r Môr Du, ac a feddiannent brif wledydd Ewrop. Ac mai y ffordd yma y daeth ein henafiaid ni a gadarnheir yn y Trioedd, y rhai a gynnwysant ynddynt rai o'r hen draddodiadau derwyddol. Fel hyn y dywedir yn Tri. 56—"Hu Gadarn a ddangoses y ffordd i aru tir gyntaf i genedl y Cymry, pan oeddynt yn Ngwlad yr Haf, sef y lle y mae Constantinopolis yn awr, cyn no eu dawed i Ynys Brydain." Ac yn Tri. 54, dywedir fel hyn—"Tair gwrthrym Ardwy Ynys Prydain: Hu Gadarn yn dwyn cenedl y Cymry o Wlad yr Haf, a elwir Deffrobani, hyd yn Ynys Prydain; a Phrydain ab Aedd Mawr, yn gyru gwlad a rhaith ar Ynys Prydain; a Rhitta Gawr, a wnai iddo ei hun ysgin o farfau breninoedd, a wnaethai efe yn eillion am eu gormes ac eu difrawd."

Mae golygydd dysgedig y "Cambro Briton," yn ei sylwadau eglurhaol ar y Trioedd hyn,* yn dywedyd—"Y mae llwybr y Cymry yn cael ei nodi allan yn y Trioedd, fel pe buasai o lennydd yr *Euxine*, sef y Môr Du, i Denmarc, a buasai y ffordd yn hygyrch iddynt i fynu yr afon Dnister, trwy Poland, hyd darddiadau yr Elbe, ac i waered yr afon honno hyd ei harllwysiad. Y mae cofion henafiaethol, ac ieithoedd yr amryfal bobl a gyfaneddant ar hyd amgylchoedd y llwybr crybwylledig, hyd heddyw, yn cefnogi y syniad a gynnwysa y Trioedd: canys yr ydym yn canfod enw y Cymry yn *Cimmerii* y Crimea, a *Cimbri* Jutland. Ac wrth gydmaru amryfal gangenieithoedd y Sclafonaeg a'r Gymraeg, gwelir eu cyfathrach ar unwaith, yn enwedigol tafodiaith y Wendi yn Lusatia, yr hon a gadwodd ei pherthynas â'r Gymraeg mor rymus, fel y gallai brodorion y ddwy wlad ymddiddan â'u gilydd o'r braidd. Achlysurid ymchwiliad i berthynas y Wendaeg a'r Gymraeg drwy adroddiad un o'r Prwssiaid, ei fod ef ac amryw ereill, yn yspaid y seithmlwydd rhyfel Ffrederic Fawr, wedi cael eu synu yn ddirfawr wrth weled y milwyr Wendiaidd yn siarad â rhai Cymry oeddynt yn mhlith milwyr Lloegr: mewn canlyniad i'r hysbysiad yma, agorid gohebiaeth â'r Dr. Anton, o Gorlitz, yn Lusatia, trwy yr hyn y caed allan sicrhad boddhaol o hanfodiad perthynas agos rhwng y Gymraeg a'r Wendaeg. Dodir yr ymadrodd canlynol o'r Beibl yn y Wendaeg fel enghraifft—"A wono bu nos;" yr hwn ymadrodd a ysgrifenid yn Gymraeg fel hyn—"Ac yno bu nos." Gallem sylwi yma hefyd gyda phriodoldeb, fod *Hamburgh* yn cael ei galw *Treva*, mewn *Atlas* Ellmynaidd a gyhoeddid tua chanol yr ail ganrif ar bymtheg: ac y mae yn amlwg mai Cymraeg pur yw *Treva* am *Ham Burgh*."

Mae y cyffelyb ffug-chwedlau hefyd yn ffynu yn mysg amryw o genedloedd y cyfandir ag a geir yn y Mabinogion Cymreig; er enghraifft—y traddodiad a geir yn niwedd Tri. 54, am *Rhitta Gawr*, a ganfyddir yn hen draddodiadau y Pwyl, yn cyfateb yn fanwl; ond ei fod ef yno yn cael ei alw *Rittagorus*. Ac y mae yn haws i ni ddychymygu bod yr hen Gymry wedi gadael olion eu hiaith a'u ffug-chwedlau ar eu hol yn amryfal wled-

* Cambro Briton, vol. ii, p. 97, 98.

ydd y cyfandir wrth ymsymud yn arafaidd drwyddynt, yn eu ffordd o Asia Uchaf hyd yma, na'u bod hwy, wedi eu hymsefydliad yn yr ynys hon, wedi cael cyfleusdra i ymgydnabod â chenedloedd pellenig y cyfandir, fel ag y benthycient oddiwrthynt hwy er cyfoethogi eu hiaith, ac ychwanegu at eu traddodiadau: ond fel hyn y dilynwn ol traed yr hen Geltiaid, yn eu symmudiad tuag yma; a mawr yr hyfrydwch a sugna y meddwl ymofyngar wrth geisio gwneyd y fath olrheiniad.

Y mae pryddest hefyd ar gael o waith *Taliesin*, yr hwn ei hun, debygid, a ddygasid i fynu dan addysg dderwyddol, a gadarnha y golygiad uchod: fel hyn y mae—

"Llwyth lluaws anuaws eu henwerys.
Dygorescynau Prydain, prif fan ynys,
Gwyr gwlad yr Asia, a gwlad Gafis;
Pobl pwyllad enwir, eu tir ni wys,
Famen gorwyreis herwydd Maris;
Amlaes ei peisiau, pwy ei hefelis?
A phwyllad dyfyner, ober efnis
Europa."*

Efallai y býddai deongliad o'r bryddest uchod mewn iaith ddiweddarach yn ddymunol; ac yma y canlyna yr aralleiriad mwyaf boddhaol a welais i: "Llwyth lluosog o nodweddiad llymdost, a'th gynoresgynai, Brydain, y flaenaf o'r ynysoedd. Brodorion o wlad yn Asia, a gwlad Gafis, i'r rhai y mae enw, eu bod yn bobl synwyrol; ond nid adwaenir y fro oedd fam y plant hyn a ymenwogasant gymmaint trwy eu hanturiaethau morawl. Wedi eu trwsio yn eu llaeswisgoedd, pwy a ymgystadleuai â hwynt? Eu medr sydd glodfawr; oeddynt arswyd Ewropa."

Ond gan adael eu trigias gynhenid ar hynyna o sylw, deuwn at eu cynenwau cenedlaethol.—Y Parch. Eliezer Williams, Ebrwyad Llanbedr Pont Stephan, a mab y diweddar Barch. Peter Williams o Gaerfyrddin, a farnai mai enw cyffredinol a gymmerai hiliogaeth Gomer arnynt eu hunain er arwyddo eu blaenafiaeth, fel y gangen henaf yn hiliogaeth Noa, oedd *Cynmry*, neu *Cimbri*;—"Mae yr enw hwn (eb efe) yn ddylynadwy drwy Ewrop, fel llinell olynol hyd yn Mrydain, ac yn cael ei ddefnyddio gan yr hen Frythoniaid hyd heddyw; yn gymmaint ag mai dyma yr enw cenedlaethol yr ymgyfenwant arno, sef *Cynmry*, a'i ystyr lythyrenol yw y *cynlwyth*, neu y bobl gyntaf." Ac y mae golygydd y "Cambro Briton" yn gwneyd sylw cyffelyb ar yr enw hefyd:—"Cymry sydd ddeilliedig o ddau air—*Cyn* a *Bro;* yn arwyddo yn yr iaith Gymreig, *y bobl gyntaf, neu wreiddiol.* Y gwreiddeiriau hyn, trwy gysylltiad naturiol i'r iaith, a ffurfiant y gair *Cynmro*, neu *Cymro*—yn y lluosrif *Cynmry*, neu *Cymry*, o'r hwn air y ffurfiai y Groegiaid eu *Cimmerioi*, enw a ddefnyddid mor foreu ag oes *Homer*, o leiaf; a'r Rhufeiniaid, gyda mwy o briodoldeb, eu *Cimbri*."†

Ond heblaw yr enw tadawl neu gyffredinol yma—yr hwn a weddai yn briodol i holl hiliogaeth Gomer, ar gyfrif eu blaenafiaeth yn y llinach, ac o'r hwn enw, fel y crybwyllwyd yn barod, y ceir olion, gydag ychydig o amrywiaeth, ar draws cyfandir Ewrop, o fynydd-dir Asia hyd yn Mrydain Fawr—yr oedd gan y gwahanol lwythau neu drefedigaethau, enwau ereill, darluniadol o'u sefyllfa, neu eu dull o fyw: y cyfryw enwau gallem gyda phriodolder eu galw, enwau tylwythol; a daeth yr enwau tylwythol mor gyffredin yn mysg rhai o honynt, mewn amser, fel y llwyr annghofid yr

* "Ymarwar Lludd Bychan."—*Myf. Arch. vol. i., p.* 76.

† Cambro Briton, vol. i., p. 44, Note.

enw cyffredinol; felly, debygid, y bu gyda'r *Celtiaid*, y rhai hefyd a elwid y *Galiaid*. Ar y cyntaf, hwy a elwid y *Celtiaid*, neu y *Celtwys*, oddiwrth *Cêl*, lloches, neu guddle, am eu bod yn trigianu yn y coed, neu mewn llochesau, cyn arloesi y wlad: ond fel yr oeddynt yn arloesi y tir, ac yn dechreu trigianu yn y cyfryw wastadeddau arloesedig, gan fyw ar amaethyddiaeth, hwy a elwid y *Galiaid;* ac fel yr oedd y dosbarth yma o honynt yn dyfod i fwy o rym, sylw, a dylanwad, llyncid yr hen enw *Celtiaid* i'r enw diweddarach *Galiaid*, oddiwrth *Gâl*, teg, clir, agored, neu golau, fel y mae y gair yn arwyddoccau. Efallai bod y ddau fath bobl hyn, o dipyn i beth, wedi syrthio i ymrafaelion mynych â'u gilydd, trwy fod trigolion y gwastadoedd, mewn canlyniad i'w lluosogiad, yn gwasgu ar ffiniau y rhai a gyfaneddent yn y coedwigoedd, neu y *Celtiaid*, gan arloesi eu cyrau er chwanegu eu tiriogaethau eu hunain; ac felly, mewn amser, deuai y gair *gâl* yn enw cyffredinol ar *elynion*.

Meddwn enghreifftiau er cadarnhau y golygiad uchod, o fewn i'r ynys hon ei hunan hefyd; canys yr Alban, am yr un rheswm, a elwid *Celyddon*, a'r preswylwyr *Celyddonwys*, *Ceiltwys*, neu *Ceiltiaid*, am fod eu trigias yn y celfeydd a'r llochesau; ac *Ysgodogion*, neu *Ysgotiaid*, am eu bod yn cyfaneddu yn nghysgodion y coed; o'r hyn y cawn dystiolaethau sicr yn ngweithiau *Caisar* a *Thacetus*. Enw arall, dynodawl o'u dull o fyw, a roddid ar gynfrodorion Cymru a'r Werddon, ac a lŷn wrth yr olaf eto, yw "Gwyddelod," oddiwrth "gwydd"—*coed*, a "cêl," er dynodi eu trigias yn y coed; neu yn hytrach oddiwrth "gwydd" a "hela," er dangos mai ar eu helwriaeth yn y coedwigoedd yr oeddynt yn ymgynnal bron yn hollawl ar y cyntaf, cyn iddynt arloesi y tir, ac ymroddi i feithrin amaethyddiaeth. Ac yma goddefer i mi grybwyll fy marn am yr adfeilion lluosawg a ganfyddir ar rai o fryniau Cymru, ac a adweinir yn gyffredin dan yr enw "Cytiau y Gwyddelod;" nis gallaf lai na meddwl am danynt eu bod yn olion yr aneddau dynol cyntaf, a gyfodwyd gan gynfrodorion yr ynysoedd hyn, tra yr oeddynt yn preswylio ar y bryniau mwyaf amlwg, ac yn bywioliaethu ar ffrwyth eu helwriaeth yn y gwydd a orchuddient y dyffrynoedd a'r gwastadoedd. Nid wyf heb wybod fod y cyffredin yn meddwl am danynt mai olion rhyw adeiladau a wnelid gan drigolion y Werddon i fod yn drigleoedd tymhorol iddynt oeddynt, ar yr achlysur o rai o'u cadgyrchiadau i Gymru: ond tra yr addefaf fod trigolion y Werddon wedi bod yn blino llawer ar ein henafiaid o bryd i bryd, fel y caf achlysur i grybwyll yn fynych yn Darlithoedd dylynol, nid wyf yn cael allan eu bod wedi ymsefydlu yma dros yspaid digonol ag i gyfrif am adeiladiad cynnifer o aneddau, o furiau cerrig cryfion, mewn cynnifer o fanau trwy y wlad. Heblaw hyny, nid yw yn debyg y buasent yn cael seibiant digonol i gyfodi cynnifer o aneddau cedyrn yn y wlad, oddieithr eu bod yn feistri ar drigolion y wlad; ac os buasent wedi meistroli y brodorion, onid yw yn fwy tebyg y buasent yn cymmeryd meddiant o'u haneddau clydion hwy, y rhai oeddynt barod iddynt, mewn rhyw gilfachau cysgodfawr, yn hytrach na myned i'r fath draul a thrafferth i gyfodi adeiladau iddynt eu hunain, a hyny yn enwedig yn y fath sefyllfeydd noethion, agored i gurfeydd yr ystormydd, fel y gwelwn fod y rhan fwyaf o'r adfeilion a elwir ar y cyfryw enw genym.

Ond er y dichon bod ein henafiaid ni unwaith yn cael eu galw Gwyddelod, ar y cyfrif a grybwyllwyd uchod, megis y cyfenwid trigolion boreuol yr Alban yn Ceiltwys ar yr un, neu y cyffelyb gyfrifon, y mae yn ymddangos fod ein henafiaid ni wedi cadw yr hen enw cynhwynol *Cynmry* yn fwy gofalus nag un gangen arall o hil lluosog Gomer: yr hyn sydd i'w briodoli yn benaf, efallai, i'w sefyllfa ynysawl; ond nis gwn yn amgenach nad oeddynt yn ymfalchïo yn yr ymwybyddiaeth o'u bod y gangen

henaf ar gyff dynoliaeth, o hen batriarch yr arch; ac yn gwerthfawrogi yr enw *Cymry* fel dynodiad o hyny.

Bellach, dyna ddigon wedi ei ddywedyd, efallai, ar *fonedd* ein cenedl, fel na raid i un *Cymro* o honom byth ostwng ei ben i un *Sais*, na neb o unrhyw genedl arall, ar y cyfrif yna: gan hyny, symudaf bellach at yr ail beth a nodais i fod yn destyn y Ddarlith hon; sef, Gwladychiad ein henafiaid yn Ynys Brydain.

Barn gyffredin henafiaethwyr yw fod Ynys Prydain wedi ei phobli gyntaf o Gâl, neu Ffrainc, gan ei bod yn weledig o lenydd y wlad honno. Y Parch. Eliezer Williams,* am yr hwn y crybwyllais eisoes, a farnai fod gorllewin Ewrop wedi ei gyfaneddu gan dylwythau o ddynion anturiaethus yn mhen tua dau can' mlynedd wedi y gwasgariad cyffredinol a fu ar y teulu dynol o'r fro lle y buant yn ymadnerthu wedi y dylif; a chan gasglu bod y glenydd hyny o'r cyfandir ydynt gyferbyniol i Ynys Prydain yn mysg y bröydd gorllewinol cyntaf a olrheinid gan ysbryd ymchwilgar dyn, tybiai fod yr ynys hon ei hunan wedi tynu ei sylw yn dra buan. Efallai na ryfygem, pe y tybiem i'r ynys hon gael ei darganfod, a dechreu ei chyfaneddu, yn mhen o bump i wyth can' mlynedd wedi y dylif; o leiaf, mae genym lawer o seiliau i gasglu bod hiliogaeth Gomer, mor foreu a hyny, yn cynnwys cenedloedd cryfion, dan arglwyddiaeth breninoedd enwog, a elwid y *Titaniaid*, neu y cawri, y rhai oeddynt yn peri eu harswyd dros ranau helaeth o Ewrop ac Asia; a'r rhai wedi hyny a addolid fel duwiau gan genedloedd Ewrop yn gyffredinol: ac oddeutu y pryd hyny, yr ydym yn deall i un o'r cyfryw freninoedd Celtaidd, o'r enw *Sadwrn*, ffoi rhag cynddaredd ei fab *Iau*, am nodded at *Janus yr Henaf*, yr hwn oedd ar y pryd yn teyrnasu ar ryw bobl a wladychent oddeutu glenydd y *Tiber*, ac yno y cafodd efe nodded, ac y bu yn cyd-deyrnasu dros amser â *Janus*.† Am dano dywaid *Tertullian*, ac ereill o'r prif Gristionogion a ysgrifenent yn erbyn eilunaddoliaeth y Cenedloedd, nas gwyddent hwy am unrhyw dduw o flaen Sadwrn. Mai dynion enwog o'r cynoesoedd ydoedd duwiau y Paganiaid, a addefid gan eu hathronwyr mwyaf goleuedig, ac a ddadleuid gan amddiffynwyr boreuaf Cristionogaeth. *Athenagoras*, athronydd Groegaidd dysgedig, ac amddiffynwr enwog y grefydd Gristionogawl, dan deyrnasiad yr amherawdwyr *M. Aurelius Antoninus* ac *L. Aurelius Commodus*, a ddywedai fel hyn—"Y mae yr afradlonaf o ddynion, a'r atgasaf gan ysbrydion da, wedi cael yr enw o fod yn dduwiau eu hunain. *Semiramis*, ferch *Dercetus*, benyw drachwantus a gwaedlyd, a addolir dan enw o dduwies Syriaidd; ac am hyny y mae y Syriaid yn addoli colomenod, o herwydd fod *Semiramis*, yn ol *Ctesias*, wedi ei throi yn golomen. Gan hyny, pa ryfedd os yw tywysogion, yn malchder ac uchder eu llywodraeth, trwy weniaith eu deiliaid, yn cael eu haddoli mal duwiau? Addefir hyn gan y *Sybil* a grybwylla *Plato*:—

'Twas now the tenth revolving Age of Man,
When Saturn, Titan, and Japetus reign'd;
Styl'd by succeeding Times, the noble Sons
Of *Ouranos* and *Gaia*, and so styl'd
Because the first of perish'd human Race." ‡

Fel hyn y mae amryw henafiaethwyr dysgedig a llafurus yn haeru mai dynion a arferent yr iaith Gymraeg oedd yr enwogion hyn, a fuant wedi hyny yn brif dduwiau Groeg a Rhufain: ond pa mor amhosibl bynag yw

* See his English Works, pp. 213, 214. † M. Pezron's Ant. b. i., c. 11.

‡ Athenagoras's Apology, pp. 208, 209.

cael sicrwydd boddhaol ar hyn yn bresenol, bod yr ynys hon wedi ei chyfaneddu yn foreu sydd amlwg; canys pan ddaeth *Caisar* drosodd yma, tua thri ugain mlynedd cyn geni Crist, yr oedd yr ynys wedi ei chyfaneddu o gŵr bwygilydd, ac mor alluog fel y gallai un tywysog Cymreig yma gyfodi tri ugain ac un o filoedd o arfogion i'w harwain drosodd i'r cyfandir, i ddial rhyw sarhad personol a gawsai efe ei hunan, neu i amddiffyn eu brodyr y Llydawiaid yn erbyn y Rhufeiniaid; ac er dial am hyny y daeth Caisar a'i lengau drosodd yma gyntaf: o leiaf, dyna y rheswm a roddai efe ei hunan am ei waith yn hwylio o'r cyfandir i Frydain; ac â hynny y cytuna y Trioedd.—"Ail Cyforddwy a ddyweiniwyd y gan Caswallawn ab Beli ab Manogan, a Gwenwynwyn a Gwanar, meibion Lliaws ab Nwyfre, ac Arianrod ferch Beli, eu mam. Ac o Arllechwedd Galedin, ac Essyllwg, ac o Gydwelyddon y Bylennwys ydd hanoeddynt; a rhif y Gwyr hyny oeddynt driugaint ac un mil; a myned a wnaethant y gyda Chaswallawn eu hewythr, ar ol y Caisariaid drwy Fôr hyd yn nhir Geli Llydaw, a hanoeddynt o Rial y Cymry: ac ni ddaeth un o honynt na'u heppil yn eu hol i'r Ynys hon; eithr aros a wnaethant yn ngwlad Gwasgwyn, yn mysg y Caisariaid, lle maent hyd yn awr; ac yn nghylch dial yr Orddwy hono y daethant y Caisariaid gyntaf i'r Ynys hon."—Tri. 14.

Mewn un arall o'r Trioedd, nyni a gawn y rheswm a gymhellai Caswallawn i arwain ei fyddin drosodd i Gâl i wrthladd Iwl Caisar; sef bod un Fflur, ferch Mygnach Gorr, â'r hon yr oedd Caswallawn mewn cariad, wedi ei dwyn drwy drais, gan dywysog o Gwasgwyn, a elwid Mwrchan, a'i chyflwyno i Caisar, i fod yn un o'i ordderchadon: yr ymddygiad ysgeler yma a ferwai waed, ac a gyffroai gynddaredd y tywysog Cymreig, fel yr arweiniai ei luoedd drosodd i'r cyfandir, lle yr ymosododd mor bybyr ar y Rhufeiniaid ag y lladdodd o honynt *chwe' mil*, ac y gwaredodd Fflur oddiar y treisiwr estronol. Fel hyn y mae y crybwyllion a gawn ni am hyny yn y Trioedd:—

"Tri eurgryd Ynys Prydain; cyntaf, Caswallawn ab Beli, pan âi hyd yn Ngwasgwyn i gyrchu Fflur, merch Mygnach Gorr, a ddygid o lathlud yno i Gaisar emmherawdr, y gan a elwid Mwrchan Leidr, Brenin y wlad hono, a châr Iwl Caisar; a Chaswallawn a ei dyges yn ol i Ynys Prydain."—Tri. 110.

A thrachefn:—"Tri Serchogion Ynys Prydain, cyntaf Caswallawn ab Beli, am Fflur, ferch Mygnach Gorr, a myned yn ei chylch hyd yn nhir Gwasgwyn, yn erbyn Gwyr Rhufain, ac ei dwyn ymaith; a lladd chwe' mil o'r Caisariaid—ac yn nial hyny o alanas, y doynt Wyr Rhufain i Ynys Prydain."—Tri. 102.

Barna amryw o'r henafiaethwyr cywreiniaf mai yn swydd Caint y glaniai y dynion cyntaf yn yr ynys hon, ac nid oedd y fordaith yn faith o Ffrainc i'r parth hwnw o Frydain. Y mae dyfalion yr henafiaethwr dysgedig, y Parch. Henry Rowlands, o Blas gwyn, Llanedwen, awdwr y "*Mona Antiqua Restaurata*," ar y pwnc yma yn hynod o gywrain: fel y meddyliwyf na byddai dyfyniad o honynt yn flin i chwi. Fel hyn y dywaid:—"Os sylwn ar y rhanau hyny o Ynys Prydain a orweddant yn nesaf i'r cyfandir, lle o ganlyniad y gellid dysgwyl yn naturiol eu bod wedi eu cyfanneddu gyntaf, nyni a ganfyddwn eu bod yn yr hen amseroedd yn cadw sain y *cyn* yn nghyfansoddiad eu henwau; felly *Cyn*, neu *Cynta*, y gelwid y rhan hono o'r wlad a elwir yn bresenol *Caint*, ac yn Saes'neg *Kent*; ac a alwai yr Haneswyr Rhufeinig *Cantium:* ac ychydig o'r neilldu y cawn ni *Uch-cyn*, a alwai y Rhufeiniaid *Icenorum Regio;* ond a elwir gan y Saeson yn bresenol *Norfolk* a *Suffolk:* a thu hwnt i hyny, yn nes i'r gogledd, y cawn *Obry-cyn*, a elwid gan y Rhufeiniaid *Brigan-*

*tum Regio*, gan gynnwys swyddi Caerefrog, a'r rhandir agosaf iddi; felly yr ydwyf yn ostyngedig yn barnu fod yr enwau uchod yn dynodi y tiroedd y glaniwyd arnynt, ac a boblogwyd gyntaf."

Mewn nodyn ar odrau y ddalen, y mae yr awdwr crybwylledig yn gwneyd y sylw canlynol yn ychwanegol:—"O *Cynta*, y deillia yr enw *Cyniaid;* o *Uch-cynta*, y deillia yr *Uch-cyniaid;* o *Obry-cynta*, y deillia *Obry-cyniaid;* sef yr amryfal lwythau o'r cynfrodorion a alwai yr Haneswyr Rhufeinaidd *Cantij*, *Iceni*, a *Brigantes*. Yr ydwyf yn gwybod bod ysgrifenwyr cyfrifol yn rhoddi hanes wahanol, a honno yn un lled hygoel, am ddeilliad y Brigantwys; yr hon nid wyf yn cynnyg ei gwadu, neu ei gwrthbrofi; ond gan fod y sylw blaenorol yn dyfod mor naturiol, nis gallaswn lai na'i wneuthur, ac fel y cyfryw, ei gynnyg i sylw y darllenydd; a chan ystyried fod enwau lleoedd, ac o ganlyniad, enwau y bobl a elwir arnynt, yn cael eu dwyn yn mlaen yn aml, o'u dodiad cyntaf, trwy amryw genedlaethau, yn mysg yr un bobl, ac yn yr un iaith, pa mor bell a gwasgaredig bynag y lledo y bobl hynny eu trefedigaethau; nid yw yn anmhriodol olrhain enw y llwyth yma, cystal a'r ddau flaenorol, i'r un gwreiddyn; gan gyfrif fod y gwahaniaeth yn cael ei achosi yn unig drwy sefyllfa berthynasol y gwahanol leoedd olaf â'r lle blaenaf, "*Cyn*," sef y rhandir honno o'r ynys, ar yr hon y tiriasant gyntaf."

Efallai fod yr awdwr yn y rhan olaf o'r dyfyn-nodiad uchod yn cyfeirio at y ffaith o fod y Brigantwys, yn amser goresgyniad yr ynys gan y Rhufeiniaid, yn cyfaneddu ar lan Môr y Werydd, ac nid fel y Cyniaid a'r Uchcyniaid, ar lan Môr Llychlyn.

Meddwn rhyw gynnifer o draddodiadau lled dywyll am ddyfodiad amryfal dylwythau i wladychu yn Mrydain cyn ei goresgyniad gan y Rhufeiniaid; ac efallai na byddai yn anmhriodol i destyn y Ddarlith hon roddi o honom hyny a allom gael o adroddiad lled resymol am y naill a'r llall o'r dyfodiaid hyny.

Cawn yn y Trioedd grybwylliad am ddyfodiad amryw lwythau estronol i'r ynys hon wedi ei gwladychiad gan y cynfrodorion, o'r rhai y gwnaf rai dyfyniadau fel y canlyn:—

"Tair Ciwdawd Addwyn Ynys Prydain: Cyntaf oeddynt genedl y Cymry a ddaethant gyda Hu Gadarn i Ynys Prydain; sef ni fynai efe wlad na thiroedd o ymladd ac ymlid, eithr o gyfiawnder, ac yn nhangnef. Ail, oeddynt y Lloegrwys, a ddaethant o dir Gwasgwyn, ac a hanoeddynt o brif genedl y Cymry. Trydydd, oeddynt y Brython, ac o dir Llydaw y daethynt, a'u hanas o gyssefin Al y Cymry. A'r tair Hedd Giwdawd a'u gelwir, am ddyfod o honynt y naill wrth fodd y llall, yn heddwch a thangnef; a'r tair Ciwdawd hyny a hanoeddynt o gyssefin genedl y Cymry; a chyfiaith cyflafar y tair Ciwdawd."—Tri. 5.

Gallwn farnu fod y Triad uchod yn cyfeirio at wladychiad cyntaf Ynys Prydain, gan wahanol lwythau o'r un genedl: y llwyth cyntaf a ddaeth drosodd yma a elwir yn "Genedl y Cymry," a dywedir eu bod wedi dyfod yma dan arweiniad "*Hu Gadarn*." Pwy oedd Hu Gadarn—ai rhyw ben cenedl enwog yn eu mysg, dan arweiniad yr hwn yr anturiai nifer o honynt o'r cyfandir, i ymofyn am drigias heddychol yn yr ynys hon, yr hon hyd hyny ydoedd yn annhrigianol, ai ynte rhyw ddyluniad coffaol o Noa, oedd fel arwydd ar eu lluman cenedlaethol, pan y daethant yma, fel y barnai amryw—nid yw yn hawdd penderfynu.* Y mae

* Gwel Davies's Mythology and Rites of the Druids, pp. 24 a 110. Celtic Researches, p. 164. Pughe's Cambrian Biography, p. 178, a'i Eiriadur. Hefyd, "Hu Gadarn," Cywydd gan Idrison, p. 2.

llawer o debygolrwydd fod y golygiad olaf yn gywir; canys nid oes genyf un amheuaeth nad oedd hen batriarch yr arch yn cael ei addoli yn y cynoesoedd gan y Cymry, dan yr enw Hu Gadarn. Fel hyn y dywaid Dr. Pughe ar hyn:—"Prin y gellir barnu ai llywiedydd y Cymmry ydoedd Hu, ynte, gyd ag ei ychain, a'i arwydd ar eu llumanau hwynt, o goffa tywyll am Noah. Aml yr arferynt yr hen feirdd Hu, Huon, a Heon, yn enwau Duw; dylunid hefyd Anubis gan yr Aiphtiaid âg iddo ben huad, neu huadgi; ac efelly y dylunir Amida [gan drigolion Japan, yr hwn meddynt oedd warcheidwad dynawl-ryw: a dychymygir yr eistedda efe yn nofiaw ar y dail o enw lotus, ac hefyd ar y milyn a elwir y llyry, a oedd iddo gresten galed ar ei gefn, mal cenni caledion yr afanc. Hefyd Fo-Hi yn Catai, Menw, a Fishnw, neu Budha, yn yr India, a honnir iddynt gynneddfau fal ag yr addefid i Hu, gan y Cymmry."

Tybiai y Dr. Pughe hefyd, mai o Hamburgh, hen enw yr hon oedd "Trefa," fel y gwelir ar rai o'r hen ddaearlenni Isellmynaidd a gyhoeddwyd yn yr ail ganrif ar bymtheg,* yr hwyliai y Giwdawd, neu y llwyth cyntaf yma i Frydain, dros "Fôr Tawch," neu y *German Ocean.* Fel hyn y dywaid:—"Preswyliynt Gymmry ar Benrhyn y Cymmry, neu y *Chersonesus Cimbrica,* mal y gelwid gan hanesyddion Rhufain, dros oesoedd aml, gwedi i dorf Hu ymadaw âg ei chydgenedl yno. Delynt yn gyfun ag y Gothiaid yn ormes echrydus ar y Rhufeiniaid, o gylch 109 mlynedd c.c.; ac ar droion cyn hyny taenid syndawd gan eu henw. Mae cenedl o weddillion al gyssefin y Cymmry yn cyfaneddu gwlad gyfagaws i Benrhyn y Cymmry hyd heddyw, ac yn cadw eu hiaith fal ninnau; sef yn Lusatia, Lunenburgh, a thaleithiau eraill, tan yr enw Wendi, neu Wenden. Hefyd, hen enw Hamburgh oedd Trefa; o hon, tebygwn, y cychwynynt y Cymmry ar eu mordwy i Ynys Prydain."†

Yr ail "Giwdawd Addwyn," neu Lwyth Cyfeillgar, oedd "y Lloegrwys," a elwid felly, efallai, am eu bod unwaith yn cyfaneddu ar lanau y *Loire,* hen enw yr hon oedd *Liger.* Ac nid yw yn annhebyg eu bod o'r un cyff a phreswylwyr yr hen *Liguria,* yn Ngorllewin yr Eidal; o'r hon dalaith yr oedd *Genoa* yn brif ddinas.‡ Dywedir mai o "Dir Gwasgwyn," yr un a *Gascony* mae yn debyg, y deuai y Giwdawd hon; a'i bod yn hanu o'r un cyff, ac yn meddu yr un iaith, a'r hon a ddaethai yma gyntaf. Ond tebygid fod y drydedd Giwdawd, a elwid "y Brython," yn cael ei golygu o gystlyniad nes i'r gyntaf; gan y dywedir bod eu haniad "o gyssefin Al y Cymry." Efallai pan oedd un fintai o honynt yn cyfeirio tua'r Ynys Wen, dan arweiniad Hu Gadarn, i'r rhan arall gyfeirio o fesur ychydig ac ychydig ar hyd y tir tua Ffrainc; ac mai rhyw gyfran o'r cyfryw ydoedd y rhai hyn, a elwir "y Brython," ac y dywedir iddynt ddyfod drosodd o Lydaw.

Gellir meddwl ar sail y traddodiad sydd yn y Triad uchod, bod y tair ciwdawd hyn wedi cydymgorphori fel un genedl, a chydgyfaneddu yr ynys mewn heddwch.

Efallai fod y Brython wedi cael yr enw hwnw, o herwydd eu hymarferion rhyfelgar, a'u glewder, yr hyn a arwyddoceir yn yr enw, ac a ellir ei gasglu oddiwrth y crybwyllion blaenorol; canys tra yr oedd y rhai a elwid "Cenedl y Cymry," yn dewis anturio y cefnfor dan dywysiad Hu Gadarn, i ymofyn am ryw le annghyfaneddawl i'w feddianu trwy gyf-

* Gwel Cambro Briton, vol. ii., p. 98.

† Gwel "Hu Gadarn," Cywydd o III Caniad, gan Idrison, t.d. 52.

‡ Cambro Briton, vol. i., p. 48.

iawnder a thangnefedd, am na fynent wlad a thiroedd o ymladd ac ymlid; y lleill a ddewisent ymladd eu ffordd am diriogaeth o nerth arfau.

Ar hyn y dywaid y Dr. Pughe yn y Cywydd crybwylledig :—

"I ninnau iawn ennynu
O dân cyfanian a Hu;
Efe gan rad a gad yn rhydd
Arweiniai war awenydd;
Tros diroedd rhag trais taerion,
Tros y dyli du ei dôn,
I Brydain gain ei brodir,
Hedd er ei feddu'n hir."

Yn y Trioedd nesaf sonir am ddyfodiad tylwythau ereill drosodd, yn ddiweddarach, debygid, na'r tair ciwdawd flaenorol y buom yn son am danynt. "Tair Ciwdawd Nawdd a ddaethant i Ynys Prydain; ac yn nhanc a chenad Cenedl y Cymry y daethant, heb arf, heb ossawd: Cyntaf oedd Ciwdawd Celyddon yn y Gogledd: Ail oedd yr Al Wyddyl, ac yn yr Alban y maent: Trydydd, Gwyr Galedin, a ddaethant yn y llongau moelion hyd yn Ynys Wyth, ban foddes eu gwlad, a chael o honynt le Tir gan Genedl y Cymry, ac nid oedd iddynt fraint o hawl yn Ynys Prydain, namyn y Tir a'r Nawdd a rodded iddynt dan derfynau, a dodi arnynt nas gellid braint Cymry cynhenid iddynt hyd yn mhen y nawfed Ach."—Tri. 6.

Am y ddwy giwdawd gyntaf o'r tair a grybwyllir yma; meddyliwyf mai preswylwyr Iseldiroedd yr Alban oedd y naill, ac mai trigolion yr Ucheldiroedd oedd y llall, ac iddynt encilio o diroedd y Gogledd at eu brodyr, am nawdd rhag newyn, neu ryw anffawd arall: ond am y drydedd, a elwir "Gwyr Galedin," y dyb gyffredin yw, mai rhai a gyfanedddent ranau o'r wlad a elwir *Holland*, oeddynt. I'r rhai hyn rhoddai y Cymry nawdd ac achles yma, yn nydd eu cyfyngder, ar amodau rhesymol; ac yn ol pob tebyg, darfu i'w hiliogaeth ymgorphori yn un genedl â'u noddwyr.

Yn y Triad nesaf fe'n hysbysir am ddyfodiad tylwythau gormesol i'r ynys.

"Tair Ciwdawd Ormes a ddaethynt i Ynys Prydain, ac nid aethynt byth o honi: cyntaf oeddynt y Coraniaid, a ddaethynt o wlad y Pwyl: ail, y Gwyddyl Ffichti, a ddaethynt idd yr Alban drwy Fôr Llychlyn: trydydd, y Saeson. Sef lle mae y Coraniaid, am afon Hymyr a glan Môr Tawch; ac yn yr Alban y mae y Gwyddyl Ffichti, a glan Môr Llychlyn. A myned yn un a wnaethynt y Coraniaid ag y Saeson, a dwyn rhïal y Lloegrwys yn ogyfun â hwynt, o drais a gorfod arnynt, a gwedi hyny dwyn coron yr unbenaeth oddiar genedl y Cymry. Ac nid oes odd y Lloegrwys nad aethynt yn Saeson, namyn a geir yn Nghernyw, ac yn nghymwd Carnoban, yn Neifr a Brynaich. A chiwdawd gyssefin y Cymry, a gadwasant eu gwlad ac eu hiaith, colli teyrnedd Ynys Prydain a wnaethant, achaws brad y ciwdodau nawdd, ac anrhaith y tair ciwdawd ormes."—Tri. 7.

Mae yn debyg fod y Coraniaid a grybwyllir uchod yr un a'r *Coritani.* Dywedir mewn un Triad, gan hen esponiwr, eu bod wedi dyfod ar y cyntaf o Asia. Fe'u crybwyllir hefyd mewn dau eraill o'r Trioedd, yn un o ba rai y dywedir eu bod wedi dyfod i Brydain yn amser Lludd ab Beli, brawd yr enwog Caswallawn, a elwid gan y Rhufeiniaid *Cassivellannus.* Meddylia rhai bod yr enw yn tarddu o *Cawri*, wrth yr hwn enw y dynodid penaethiaid, neu wroniaid. Y mae yn lled anhawdd penderfynu arwyddocäad yr enw *Pwyl,* meddylia rhai ei fod yn dynodi *Holland;* ond yr

henafiaethwr enwog Edward Llwyd a ddadleua mai hen enw Poland ydoedd. *Llychlyn*, a all fod yn arwyddocäau y gogledd yn gyffredin.* Mae ereill yn haeru mai yr un oedd y Coraniaid a'r *Belgwys*, y rhai debygid, oeddynt o'r un cyff cynhwynol a'r Cymry; ond trwy eu bod wedi cyfaneddu hir amser yn nghymydogaeth y llwythau Almaenaidd, yr oeddynt o angenrheidrwydd wedi myned drwy radd fawr o ymgymmysgiad â hwy. Cesglir mai yr achos iddynt hwylio drosodd i ymofyn am diriogaethau yn yr ynys hon, oedd bod y llwythau Almaenaidd yn gwasgu ar eu ffiniau; ac oddiwrth y crybwyllion a gawn ni yn ngwaith rhai hen awduron, meddylir eu bod wedi dechreu gwladychu yma tua thri chan' mlynedd cyn glaniad Caisar a'i lengau yma. Ac arferai Caisar son am breswylwyr yr ynys, dan y ddau ddosparth o Gynfrodorion a'r Belgwys.†

Mae y Parch. Eliezer Williams, yn ei ddarluniad o hen raniadau Prydain, ac enwau yr amryfal lwythau a'i cyfaneddent, yn dywedyd fod holl nifer y llwythau, neu daleithiau anymddibynol a breswylient yr ynys hon pan ddaeth y Rhufeiniaid drosodd, yn bump a deugain; y rhai a alwai—y Ceintwys, preswylwyr swydd Caint; y Rhygeinwys, a gyfaneddent *Surry* a *Sussex;* y Penfrogwyr, a gyfaneddent ranau de-ddwyreiniol swydd *Berk;* yr Attrefwys, a gyfaneddent barthau gorllewinol swydd Berk; yr Isgwenti, a gyfaneddent ar lenydd y Kennet, a'r rhan ogleddol o swydd Ham; y Belgwys, a gyfaneddent yr oll o swydd Ham, oddieithr y parth gogleddol; y Dwrodigwys neu y Morinwys, a gyfaneddent swydd Dorset; yr Heidionwys, a gyfaneddent Wlad yr Haf; y Dyfneinnwys, a gyfaneddent swydd Dyfnaint; y Cernywiaid, o Gernyw; yr Essyllwyr, a gyfaneddent swyddi Henffordd, Maesyfed, Mynwy, a Morganwg; y Dyfedwys, a gyfaneddent Frowyr, a swyddi Caerfyrddin, Penfro, Brycheiniog, a Cheredigion; y Gordofigwys, oedd yr enw wrth yr hwn yr adwaenai y Rhufeiniaid yr oll o drigolion Gogledd Cymru; y Tranofanhwysou, a breswylient swyddi Middlesex ac Essex, a'u prif ddinas oedd Caer Lundain; y Coraniaid, neu y Coreinwys, sydd lwyth arall a grybwyllir gan yr awdwr dysgedig uchod, ond nid yw yn cynnyg penderfynu ar y rhan o'r ynys a gyfaneddid gynddynt; y Casiaid, a gyfaneddent swyddi Hertford a Bedford, a rhanau o Buckingham; y Tafeinwys, preswylwyr y rhanau isel o swydd Gaerloyw, a dyffrynoedd swydd Rhydychain; y Gwycheinwys, a gyfaneddent swydd Warwick, ac agos y cyfan o Worcester; yr Uchelwys, y parthau dwyreiniol o swyddi Rhydychain a Buckingham; y Corineifwys, swydd Gaerlleon, a rhanau o swydd yr Amwythig, Stafford, Warwick, a Leicester; y Syddyntwys, swydd Gaerhirfryn *(Lancashire,)* a'r rhanau deheuol o Westmoreland; y Gwylleintwys, y rhanau gogleddol o Westmoreland, a'r oll o Cumberland; y Brigantwys, swydd Gaerefrawg a Durham, a rhan o Northumberland; y Gododinwys, y gweddill o Northumberland, Lothian, a'r Mers, a hanner Tweedale; y Godeinwyson, Ystrad Clwyd a'r rhan arall o Tweedale; y Sallwyfawys, Annandale, Nithisdale, a Galloway; y Nofantwys, y rhan o Galloway a orwedda ar y tu gorllewinol i'r Dee; y Dyfnwyson, Carrick, Cunningham, a Renfrew; yr Hyrwysti, Strathern a mynydd-dir Perth; yr Uchaeronwys, y gweddill o Perth, Gawry, Angus, a Merus; y Tachialwys, Mar a Buchan; yr Albanweis, rhanau o Athol a Braidalban; yr Eitha-coetwys, Lenox, neu eithaf Coed Celyddon; y Celyddonwys, Inverness a'i chyffiniau; y Ceintiaid, y parthau dwyreiniol o Ross; y Lygiaid, arfordir Sutherland; y Cernywiaid gogleddol, Caithness; y Cateion, arfordir Strathnavern; y Meirwys, Strathnavern a Sutherland; y Carnein-

* Cambro Briton, vol. i., p. 49. † Hanes Cymru, tudal. 92.

ogwys, glenydd Ross; y Cawronwys, rhanau o Inverness; y Creonwys, neu y Creuonwys, ar lanau yr afon Itys, neu Sheyl; yr Ebydwys, Cantine, a Knapdale.

Buasai yn dda genyf ddyfynu ychwaneg o'r Traethawd cywrain hwn ar y testyn tra dyddorawl yma; yr hyn ni oddef fy ffiniau; ond dymunwn annog cynnifer o'm cydwladwyr ar a allont, i ymgynghori â'r gwaith gwreiddiol.* A chyn terfynu y Ddarlith hon, y mae yn weddus i mi alw eich sylw at ryw gasgliadau neillduol a ellir wneyd yn naturiol oddiwrth ei chynnwys.

1. Gwelwn nad oes un genedl dan haul, a all olrhain uwch bonedd na chenedl y Cymry; gan ei bod yn disgyn mewn llinach union syth o'r henaf o feibion Noa, tad dynoliaeth wedi y dylif; ac nid yw yn annhebyg bod yr enw a gadwasant arnynt eu hunain trwy holl dreigliadau yr oesoedd, er dynodi hyny, sef "y Cynmry," yn arwydd lled amlwg eu bod yn ymfawrygu yn hyny o'r dechreu.

2. Gwelwn fod y dystiolaeth Ysgrythyrol, mewn perthynas i hiliogaeth Japheth, yn eithaf cywir:—Genesis 10. 5, "O'r rhai hyn y rhanwyd Ynysoedd y Cenhedloedd, yn eu gwledydd, pawb wrth eu hiaith eu hun, trwy eu teuluoedd, yn eu cenhedloedd." Yn y crybwylliadau blaenorol gwelwn fod hyd yn nod hiliogaeth Gomer, *un* o feibion Japheth, wedi meddiannu y rhan fwyaf o wledydd arforawl Ewrop, a'i brif ynysoedd; o ba rai y mae Ynys Brydain yn un. Gwelwn hefyd fod y fendith a gyhoeddai Noa ar Japheth, a'i hiliogaeth, wedi ei chyflawni mewn modd arbenig, Gen. 9. 27, "Duw a helaetha ar Japheth, ac efe a breswylia yn mhebyll Sem; a Chanaan fydd iddo ef." Gellir golygu y geiriau yna fel hanes brophwydoliaethol gryno, ond cynnwysfawr, o'r byd; canys wrth olrhain hanesiaeth yn fanol, nyni a gawn le i feddwl fod mwy na hanner y teulu dynol wedi deillio o Japheth, ac y mae y rhan fwyaf o'r byd y dydd hwn dan arglwyddiaeth ei hiliogaeth ef. Ac yn gymmaint ag mai yn mhlith ei blant ef y llwyddodd yr efengyl yn benaf hyd yn hyn, fe barodd Duw iddo felly "breswylio yn mhebyll Sem," trwy dderbyn breintiau gwir grefydd oddiwrth had Abraham: ac mor wir a hynny, y mae hiliogaeth Canaan wedi bod, yn mhob oes, yn ddarostyngedig i'r eiddo Sem a Japheth.

3. Gwelwn fod yr hen Geltiaid, o'r rhai mae y Cymry yn hanu yn ddiwad, ac yn cadw eu hiaith yn fwyaf dilwgr heddyw o unrhyw bobl ar wyneb y ddaear, yn genedl fawr, gref, ac enwog, yn yr oesoedd boreuaf; mor enwog, fel mai eu gwroniaid a'u doethion hwy oeddynt dduwiau enwocaf y Groegiaid, y Rhufeiniaid, a chenedloedd enwog ereill. Yr iaith Gymraeg a siaredid gan y *Titans*, y cawri, neu y penaethiaid a wnaent y fath orchestion yn y cynoesoedd, fel y'u haddolid dros oesoedd wedi eu marw; ac y pentyrai eu holynwyr y fath ffug-chwedlau ar eu henwau, nes y mae y rhai annghyfarwydd mewn henafiaethau wedi myned i feddwl nad oedd *Sadwrn*, *Iau*, &c., yn ddim amgen na chynnyrch dychymygion ymenyddiau mall eilunaddolwyr.

Gan hyny, na chywilyddiad un Cymro o'i iaith na'i genedl. Yn wir, y mae symledd yr iaith Gymraeg, a'i chyfaddasrwydd i ddylunio gwrthddrychau, yn profi ei henafiaeth, ac yn achosi grym a gwerth ynddi, tu hwnt i ddim a geir mewn un iaith arall yn Ewrop.

4. Gwelwn mai eiddo cyfiawn ein tadau ni oedd Prydain Fawr o fôr i fôr. Hwynthwy a'i darganfuant, ac a'i meddiannasant gyntaf; a chanddynt hwy y cafodd ei harloesi a'i dwyn i drefn; ac erioed ni roisant eu

*"The English Works of the late Rev. E. Williams, pub. by Cradock & Co., 1840."

hawl o honi, nac o un ran o honi i estroniaid, o'u bodd; ond fel y'i dygwyd oddiarnynt trwy drais a gormes gan y minteioedd yspeilgar o Rufeiniaid, Sacsoniaid, a Normaniaid, a ddaethant yma o bryd i bryd, gan chwennychu eiddo cyfiawn eu cymmydogion diniwed, a'i ddwyn oddiarnynt trwy drais ac annghyfiawnder, heb un esgus priodol ganddynt am eu gwaith, heblaw eu trachwant annghyfiawn; ac felly y mae mwy o wir anrhydedd yn perthyn i'r Cymry fel cynfeddiannwyr yr ynys hon nag i un genedl arall a droediant ar ei hwyneb.

Gall y Cymro wrth dramwyo gwledydd brasaf Lloegr, godi ei ben, a dywedyd, "Dyma wlad etifeddiaeth fy nhadau, a roddwyd iddynt gan Arglwydd Dduw nefoedd a daiar; ac o ran cyfiawnder, a ddylasai fod yn eiddo i mi a fy mrodyr heddyw." A rhaid i'r Sais hunanol, a'r Norman trahaus, os y medd ryw gymmaint o wybodaeth hanesyddol, ddywedyd—"Y mae y wlad fras a etifeddaf wedi dyfod i'm meddiant heb unrhyw deitl am dani, ond a ysgrifenwyd â gwaed gwirion yr aerod cyfiawn, gan arfau trais fy henafiaid bradwrus, yspeilgar, a gwaedlyd."

Wrth ystyried y pethau hyn, bernwch chwi—I bwy o fewn yr ynys hon y perthyn gwir fonedd? A gwelwn fod i ni y cymhelliad cryfaf, oddiwrth nodweddiad ein hynafiaid, i gadw i fynu urddas ein cyff? Ac os ydym wedi colli ein Tir ond "Gwyllt Walia," yn ol rhagddywediad Taliesin, bydded i ni fod yn ymdrechgar yn wastadol i gwblhau y rhan arall o'i brophwydoliaeth hefyd, sef—

"Eu Ner a folant,
Eu hiaith a gadwant."

---

# DARLITH II.

## CREFYDD Y CYMRY CYN DYGIAD CRISTIONOGAETH I'W PLITH.

MAE ansawdd gwybodaeth, gwareiddiad, a chrefydd yn mysg y Cymry cyn dyfodiad y Rhufeiniaid yma yn beth sydd wedi bod yn destyn dadleuaeth frwd rhwng henafiaethwyr enwog: tra y mynai rhai eu dylunio fel cenedl o anwariaid mwyaf anwybodus ac anniwylliedig, y mae ereill yn dadleu eu bod yn bobl oleuedig, wedi cyrhaedd gradd uchel o wareiddiad a gwelliant meddwl dan ddospeirth o athrawon cyfrifol, y rhai ni buasai raid iddynt gywilyddio pe y cystadleuasid eu moeswersi â'r eiddo enwogion doethaf Groeg a Rhufain. Wedi gwneyd pob ymchwil ar a allwn i hyn, yr ydwyf yn gorfod barnu mai yn rhyw le'yn y canol rhwng y ddau eithaf uchod y mae y gwirionedd yn gorwedd; ac er hoffed ydwyf o'm cenedl, ac er mor eiddigeddus yr ydwyf yn teimlo dros enw da fy henafiaid, nis mynwn gynyg tynu portreiad tecach o'u nodwedd nag a deilyngont; na dweyd dim am eu rhagoriaethau ond a ellir ei gasglu yn naturiol oddiar ffeithiau anwadadwy.

Gan mai crefydd y cynfrodorion ydyw testyn y Ddarlith hon, disgynaf yn ebrwydd i sylwi ar hyny. Mae yn amlwg i bawb ystyriol bod llawer o gynnwys y Ddarlith yma yn rhwym o ran natur pethau o gael ei gwneyd i

fynu o ddyfalion yn hytrach na ffeithiau: ond ymdrechaf i arwain fy ngwrandawyr, mor ddiymdroi ag y gallwyf, o lanerchau niwliog dychymygion, i diroedd claer tystiolaethau credadwy a phrawfion diymwad; gan wybod bod rhodio yn y goleuni yn yr ystyr yma yn llawn mor hyfryd a dilyn dychymygion, ac yn llawer mwy buddiol.

Mae yr henafiaethwyr mwyaf craffus yn barnu, wrth ystyried hir hoedledd, a chynnydd cyflym dynolryw, yn yr oesau cyntaf wedi y dylif, y gallasai fod y bobl a ddaethant i wladychu gyntaf yn Ynys Prydain, o fewn dwy neu dair o oesoedd i feibion Noa;* ac os felly, y mae yn ddigon rhesymol i ni farnu fod yr athrawiaeth fawr o hollalluogrwydd Duw, ei gyfiawnder, a'i drugaredd, a ddysgasai efe mewn ffordd mor effeithiol i'r wyth enaid a gadwyd yn yr arch pan fodded y byd, ar gof a chadw yn mysg eu hiliogaeth yn yr oesoedd boreu hyny; ac wedi gweithio yn eu meddyliau syniadau eglur a bywiog am briodoliaethau addoladwy y Duw mawr, ac, o ganlyniad, ryw radd o ymsyniad o'u gwaeledd a'u diddymdra eu hunain, a'u hollawl ymddibyniad ar ewyllys da y Bod goruchel a addolent. Gallem feddwl fod y sail dda yma o wir grefydd yn gorwedd mor ddwfn yn meddyliau dynion dros rai canrifoedd wedi y dylif, fel y ceid llawer o bobl, yn eu gwahanol wledydd, yn dyrchafu addoliad cymeradwy i'r unig wir a goruchel Dduw, yn yr oesau boreuol hyny; ac felly yr ydwyf yn barnu y gellid cymeryd yn ganiataol am rai o frodorion cyntaf yr ynys hon, os oeddynt mor agos yn eu disgyniad i ffynhonell gwir grefydd, a bod un o feibion Noa yn *daid*, neu o leiaf yn *hendaid* iddynt, ac efallai, wedi bod yn cyfoesi rhyw gymmaint â rhai o honynt, eu bod wedi cludo gyda hwy rai o syniadau athrawiaethol, a defodau ymarferol y grefydd honno, yn lled ddilwgr, yn eu hymdreigliad o Asia hyd yr ynys hon; er y rhaid i ni addef eu bod yma, fel mewn gwledydd ereill, wedi gwyro yn fuan oddiwrth symlrwydd y gwirionedd, i'r dychymygion mwyaf cyfeiliornus, a'r arferion mwyaf gwarthus.

Os ystyriwn ansawdd gyntefig gwir grefydd yn mysg dynolryw wedi y dylif, nyni a ganfyddwn ei bod yn dra dysyml, heb gynnwys ond ychydig ddefodau allanol, y rhai a wnelid i fynu o offrymau diolch, ac aberthau dyhuddiadawl, yn offrymiad y rhai y cydnabyddai gwir addolwyr Jehofa ei oruchelder ef arnynt, a'i hawl o'u gwasanaeth; ac yr addefent eu pechadurusrwydd eu hunain, a'u hangen am iawn er dyhuddo ei wyneb, a throi ei ddigofaint oddiwrthynt. A chan fod y fath gyfundrefn fer a chryno o Ddwyfyddiaeth mor hawdd i'w dysgu a'i chofio, oni allem farnu mewn cariad, fod brodorion cyntaf y gwledydd hyn wedi ymgadw at burdeb a symledd y grefydd batriarchaidd yn lled gyson, trwy yspaid eu teithiau meithion, a'u llafur blin, hyd oni ddaethant ac ymsefydlu o fewn yr ynysoedd hyn mewn heddwch, a'r cefnfor o'u hamgylch, megis caerau a rhagfur iddynt; ond wedi iddynt wladychu mewn heddwch, llawnder, ac esmwythder, fel y mae dynion yn dueddol yn mhob oes a gwlad i ymlygru fwyaf pan y mae yn esmwythaf arnynt, felly yn ol pob tebyg, yr ymollyngasant hwythau, yn eu hesmwythder, i chwilio allan lawer o ddychymygion ofergoelus, gan adael symledd gwir grefydd.

Caniateir yn gyffredinol fod offrymu ebyrth yn un o brif gyflawniadau cyhoedd a gweledig crefydd yn y cynoesoedd; y peth cyntaf y dywedir i Noa ei wneyd, ar ol dyfod allan o'r arch, i ddechreu ail bobli y byd annghyfaneddol, oedd adeiladu allor, ac offrymu poeth offrwm arni i Dduw, yr hwn a gyfryngasai mor hynod i'w gadw ef a'i deulu yn fyw, o holl dylwythau y ddaear;† ac y mae yn eithaf naturiol i ni farnu y buasai ei

* Rev. Eliezer Williams's English Works. † Gen. 8. 20.

hiliogaeth dros dair neu bedair o oesau ar ei ol, o leiaf, yn dilyn ei siampl a'i gynghorion daionus, gan gyfodi allorau i'r Goruchaf pa le bynag y delynt i breswylio, ar y rhai yr offryment ebyrth moliant i Dduw, am fendithio eu hymdrechion hyd hyny, ac o flaen y rhai y talent iddo gydnabyddiaeth o'i ben teyrnedd ef ar blant dynion.

Wedi cymmaint a hynyna o sylwadau oddiar natur pethau, nyni a allwn daflu bras olwg ar olion crefydd yr hen Gymry, a gwneyd ein casgliadau yn mhellach oddiwrth hyny am natur ac ansawdd eu crefydd.

Trown ein wynebau i'r wlad a fynom, nyni a ganfyddwn allorau, aruthrawl o faint, ac mor debyg i'w gilydd o ran dysymledd eu gwneuthuriad, pa un bynag ai yn yr Almaen neu Ffrainc, yn Mrydain neu yr Iwerddon, yn Manaw neu ynysoedd oerion Denmarc, fel yr ydym yn rhwym yn ol natur pethau, i'w priodoli i'r un dechreuad cyffredinol. Dyma fel y dywaid *M. Mallett*, yn ei "Hynafiaethau Gogleddol," am y cyfryw allorau yn Norway, Denmarc, a Sweden—"Gwelir yma a thraw, hyd y dydd heddyw, yn Denmarc, Sweden, a Norway, yn nghanol gwastadedd, neu ar fryn bychan, allorau, o amgylch y rhai yr ymgynnullent i offrymu aberthau, ac i gyflawni defodau crefyddol ereill. Y rhan fwyaf o'r allorau hyn ydynt wedi eu cyfodi ar ryw fryn bychan, naturiol neu gelfyddydol. Ar dair o ddarnau o graig, ar eu penau, y gorwedda llechfaen fawr, yr hon yw bwrdd yr allor; o dan yr hon yn gyffredin y mae ceudwll mawr, wedi ei amcanu, efallai, i dderbyn gwaed yr aberth."* Pe buasai y Ffrencyn uchod yn darlunio rhai o hen gromlechau Gogledd Cymru, ni allasai wneyd yn fwy cywir nag y gwna drwy y darluniad blaenorol o allorau gwledydd gogleddol Ewrop.

Mae un o'r cyfryw allorau, o feini aruthrol eu maint, ar lan afon Menai, yn mhlwyf Llanedwen, yn Mon, yr hon, fel y mae y fwyaf o allorau yr ynys, ydoedd hefyd, debygid, y benaf gynt o'i mewn: ar yr hon, efallai, yr offrymai y cynfrodorion flaenffrwyth yr ynys i Dduw.

Yr enw arferol ar yr allorau hyn gan y cyffredin, yw "*Cromlechau*," a barna rhai mai y rheswm am eu galw felly yw, am fod y llechfaen yn gyffredin yn grwm, fel na safai y gwaed arni, ond y rhedai oddiarni i'r ceudwll cloddiedig i'w dderbyn. Ond efallai nad yw dyfaliad cywrain y Parch. H. Rowlands yn annheilwng o sylw; efe a ddywedai nad oedd pob un o'r llechfeini alloraidd hyn a welsai efe yn *grwm*, ac o ganlyniad na allasent fod wedi cael eu henw cyffredinol oddiwrth y gwreiddair hwnw; ac efe a fynai mai un o'r hen enwau a ddygid gan ein tadau, hyd yn nod o Babel, ydyw hwn; ac er cefnogiad i'w ddyfaliad hwn, noda luaws o eiriau eraill, gwir ebrwyad eu gwreiddiau, ydynt drwy hir arferiad wedi dyfod megys yn gorfforedig yn ein hiaith. Felly, efe a ddadleuai mai llygriad yw y gair "Cromlech" o *Caeremluach*, maen dyhewyd, neu allor; ac nid yw yn annhebyg eu bod yn rhagddodi y gair *Caerem* neu *Crem*, i bethau ereill perthynol i'w haddoliadau crefyddol, heblaw eu llechfeini alloraidd, er fod y cyfryw enwau yn bresenol wedi myned o arferiad, ac i annghof hollawl, oddieithr mewn ychydig o enghreifftiau, yn y rhai y cawn ni leoedd cysegredig, debygid, yn myned dan yr enw *Cremlwyn;* neu, fel y'u gelwir yn bresenol, "Cremlyn;" y naill yn agos i Beaumaris, yn Mon, a'r llall yn agos i Abergwyngregyn, cydrhwng hyny a Bangor, yn Arfon. Mae yn y ddau le hyn gornant ddofn gul, yr hon yn y cynoesoedd mae yn debyg oedd yn orchuddiedig gan *lwyn* cysegredig o goed cauadfrig; ac yn y lle a elwir Cremlyn, yn Mon, y mae rhai o'r hen golofnau a elwir "Meini Hirion" yn sefyll eto; ac yr

* Mallet's Northern Antiquities.

oedd yno un o'r hen gromlechau, neu allorau cyntefig, yn aros hyd yn ddiweddar; fel y mae enw y lle, a'r olion uchod, yn cydgadarnhau y dyb fod y fan hon wedi bod unwaith yn un o lwyni cysegredig y Derwyddon, lle yr arferent offrymu eu haberthau, a lle hefyd, ond odid, y dysgent gyfrinion eu crefydd i'w dysgyblion.

Y mae amryw draddodiadau lleawl cysylltiedig â'r cromlechau hyn: gelwir rhai o honynt "Coetanau Arthur," ac am ereill o honynt, y traddodiad yw, mai ar feddrodau rhai o'u henwogion y'u cyfodid. Am y cyntaf, hysbys yw, y cyfarfyddir yn fynych yn yr hen hanesion Cymreig â chrybwylliad o ddau wrthddrych hollol wahanol, dan yr enw Arthur; y naill oedd dywysog clodwiw, a flodeuai yn yr hanner gyntaf o'r chweched ganrif, am yr hwn y cawn draethu yn fanylach rhagllaw; a'r llall, ydoedd nodweddiad traddodiadol, gwron mawr y ffug-chwedlau Prydeinaidd, i'r hwn yr arferai y werin briodoli y gorchestion mwyaf anhygoel. Ei gynnrychiolydd yn y nef serenol yw yr *Arth Fawr*, a golygid y cyfseryddiad *Lyra*, ei delyn. Dywedir mai mab ydoedd i *Uthr Bendragon*, neu y *Prif Arweinydd rhyfeddol*, ac *Eigyr*, neu y *Gallu cenedlaethol*. Mae yr unrhyw orchestion yn cael eu priodoli iddo ef yn y ffug-chwedlau Celtaidd ag a briodolid gan genedloedd eraill i Erclwff, a'r Cawri. Meddyliai yr Arathraw W. O. Pughe, bod y nodweddiad yma yn seiliedig yn hanes Nimrod:* ond y Parch. E. Davies a farnai yn hytrach, mai un o enwau dwyfyddol y patriarch Noa ydoedd;† â'r hwn feddylddrych, medd efe, y cydsynia yr hyn a ddywedir gan y beirdd, ac yn y Trioedd. Ac am yr ail olygiad a grybwyllwyd mewn cysylltiad â'r cromlechau fel beddfanau eu gwroniaid, gall fod hyny yn ddigon cyson â'r syniad am danynt fel allorau, yn enwedig y rhai diweddaraf o honynt, canys pan gwympai rhai o enwogion yr oesoedd boreuaf, y rhai a berchid yn fawr yn mysg y bobl am eu cynneddfau rhagorol, nid yw yn annhebyg i'w holynwyr yn eu hawydd i anfarwoli eu henwau, a'u parch coelgrefyddol i'w coffadwriaeth, gyfodi rhai o'r allorau hyn ar eu beddau, ar y rhai, fel y llygrid eu syniadau am grefydd, y gallai eu bod yn arferol o aberthu i'w hysbrydoedd ymadawedig; ac felly, efallai, yn mysg y genedl hon, fel yn mysg cenedloedd ereill, y dechreuai y cyfeiliornad o gyfrif eu hen wroniaid yn rhyw fath is is-dduwiau, i'r rhai y cyflwynent addoliad crefyddol.

Gwelir pentyrau mawrion o geryg hefyd yn Nghymru fel mewn gwledydd eraill, y rhai a elwir *Carneddau;* ac nid yw yn annhebyg bod y rhai hyn hefyd yn dwyn rhyw berthynas â'u hen ddefodau crefyddol; ac fel y mae yr hen allorau a'r meini hirion yn cael eu galw yn aml yn goetanau Arthur, y mae y carneddau hyn yn aml yn cael eu galw yn "Arffedogaid y Gawres;" a'r traddodiad cyffredin mewn cyssylltiad â hwy yw, bod y gawres (yr un mae yn debyg a Cheridwen) wedi ymgymeryd â'r gwaith canmoladwy o gludo cerig at ryw bwrpas daionus, megis Pont ar Fenai, neu grefydd-dy mewn rhyw lanerch, ac i linyn ei harffedog dori yn y fan lle gwelir y pentwr cerig.

Mae yr hanesiaeth henaf a sicraf a feddwn, sef yr eiddo Moses, yn ein hysbysu yr arferid yn foreu iawn gyfodi colofnau a charneddau ar yr achlysur o ymgyfamodiad pwysig, cystal ag ar ryw achlysuron ereill. Gen. 31. 45—54, "A Jacob a gymmerth garreg, ac a'i cyfododd yn golofn. Hefyd Jacob a ddywedodd wrth ei frodyr, Cesglwch gerrig; a hwy a gymmerasant gerrig ac a wnaethant garnedd. Dywedodd Laban hefyd

* Cambrian Biography.—Arthur.

† Mythology and Rites of the British Druids, by Ed. Davies, p. 187.

wrth Jacob, Wele y garnedd hon, ac wele y golofn hon a osodais rhyngof fi a thi; tyst a fydd y garnedd hon, a thyst a fydd y golofn, na ddeuaf fi dros y garnedd hon atat ti, ac na ddeui dithau dros y garnedd hon, na'r golofn hon, ataf fi, er niweid. Duw Abraham, a Duw Nachor, a farno rhyngom ni, Duw eu tadau hwynt. Hefyd Jacob a aberthodd aberth yn y mynydd (neu ar y garnedd,) ac a alwodd ar ei frodyr i fwyta bara; a hwy a fwytasant fara, ac a drigasant dros nos yn y mynydd."

Amcan yr holl orchwyl yma ydoedd cadarnhau cyfamod a wnelsid mewn manylrwydd a difrifwch mawr rhwng Laban a Jacob, yr hyn iddynt hwy ar y pryd ydoedd o gryn bwys, er sicrhau tangnefedd rhyngddynt, a rhwng eu hiliogaeth ar eu hol hwynt; ac nid yw yn annhebyg fod y defodau a grybwyllir yma, yn cael eu hymarfer ar y cyffelyb achlysur yn mysg trigolion y byd yn gyffredinol yn yr oesoedd boreuol hyny; canys nid oes dim yn holl amgylchiadau yr hanes uchod yn rhoi ar ddeall i ni mai rhyw ddefod newydd, a ddyfeisid gan Laban a Jacob i'w gweinyddu ar yr achlysur crybwylledig, ydoedd hon; ond yn hytrach ei bod yn hen, ac mewn ymarferiad cyffredinol yn mysg y gwahanol dylwythau a'r cenedloedd, fel seremoni grefyddol, wedi ei sefydlu er penderfynu ar iawnderau a meddiannau, yn yr oesoedd boreuol; ac nid yw yn annhebyg y buasai defod mor wir angenrheidiol er eu dedwyddwch a diogelwch, yn cael ei chludo gan ddynolryw, gyda hwy i'w gwahanol drefedigaethau.

Heblaw y cromlechau a'r carneddau crybwylledig, y mae amryw golofnau i'w canfod yma a thraw, y rhai a elwir weithiau "meini hirion," "meini gwyr," "meini crair," "meini gwynion," &c.; y rhai hyn hefyd, yn ol pob tebyg, ydynt olion rhai o ddefodau boreuol ein cyndadau. Efallai na chyfodid mo honynt ar yr un cyfrif ag y cyfodai Jacob ei golofn gynt yn Bethel, er coffau rhyw ddaioni neillduol o eiddo yr Arglwydd tuag ato; ond yn hytrach ar y duedd hunanol, a'r uchelgais ffol, sydd yn mhlant dynion, i wneyd iddynt eu hunain enwau anfarwol, trwy y cyfryw gof-golofnau oesol; o'r hyn yr oedd tŵr Babel yn un enghraifft fawr a chyffredinol; Gen. 11. 4, "A dywedasant, Moeswch, adeiladwn i ni ddinas a thŵr, a'i nen hyd y nefoedd, a gwnawn i ni enw," &c. Ac i'r un perwyl y cyfodid colofn bedd Rahel; Gen. 35. 19, 20, "A Rahel a fu farw, ac a gladdwyd yn y ffordd i Ephrath; hon yw Bethlehem. A Jacob a osododd golofn ar ei bedd hi; honno yw colofn bedd Rahel hyd heddyw." Enghraifft arall i'r un perwyl a gawn ni yn hanes Absalom, mab teg, ond drwg, y brenin Dafydd; 2 Sam. 18. 18, "Ac Absalom a gymmerasai, ac a osodasai iddo yn ei fywyd golofn yn nyffryn y brenin: canys efe a ddywedodd, Nid oes fab genyf i wneuthur coffa am fy enw; ac efe a alwodd y golofn ar ei enw ei hun. A hi a elwir Lle Absalom, hyd y dydd hwn." Efallai fod y meini hirion geirwon hyn wedi eu cyfodi ar y cyntaf heb unrhyw amcan amgenach na chadw coffa rhyw un enwog a gleddid yn y llanerch honno; ond nis gellir gwadu na ddaethant mewn amser yn offer eilunaddoliaeth, os nid yn wrthddrychau i'r rhai y cyflwynid addoliad yn uniongyrchol.

Tybia rhai henafiaethwyr eu bod yn cael eu gwisgo fel dynion ar ryw amserau arbenig, er peri iddynt gynnrychioli rhai o'u gwron-dduwiau yn berffeithiach; ac yna fel y daethant o dipyn i beth i gael eu cyfrif yn gysegredig, dewisid rhai o honynt efallai yn nodau terfynau etifeddiaethau, a chyrchid atynt i ymgyfamodi neu ymgynghreirio, am ba achos y gelwid rhai o honynt "meini crair;" ac ar yr un cyfrif dewisid rhai o honynt yn orseddau barn, am ba achos y'u gelwid "meini gwynion;" ac un o'r cyfryw, debygid, ydoedd "maen addwyn," neu *faen y rhinwedd*, yn Mon. Meddylia ereill mai *ar*, neu *am*, y meini hirion hyn y dodid y

delwau gwiail anferth hyny a grybwylla Caisar, yn y rhai yr offrymai yr hen Galiaid, os nad y Cymry hefyd, ebyrth dynol; ac felly yn raddol daeth y colofnau hyn i gael eu cyfrif yn gysegredig i'w crefydd; a phlenid llwyni o'u hamgylch, yr hyn a ystyrid mor hanfodol i'w cyflawniadau crefyddol.

Hwyrach y goddefir i mi adrodd fy marn am yr amryfal chwyldroadau yr ydwyf yn credu i syniadau crefyddol ein cyndadau fyned drwyddynt cyn dygiad Cristionogaeth i'w plith. Wedi iddynt ddechreu ymsefydlu yn eu hetifeddiaeth yn yr ynysoedd hyn, ar ol eu crwydriadau blinion, teimlent yn naturiol awydd cadw ar gof i'w hiliogaeth, ragoriaethau eu cyndad Noa, a'r modd rhyfedd y'i gwaredasid ef a'i dylwyth yn yr arch, pan foddid y byd drwy y dylif ofnadwy; ac i'r perwyl hyny, y mae yn debyg iddynt neillduo nos a dydd Calanmai, fel adeg gysegredig i gofio dyfodiad yr hen batriarch o'r arch; ar yr hon adeg, efallai nas gwnaent ar y dechreu ddim amgen nag offrymu ŷch neu ddau ar eu hallorau, fel offrwm diolch i Dduw y nefoedd am y waredigaeth honno; ac er dilyn y siampl a roddes Noa ei hunan i'w blant, pan ar ei ddyfodiad allan o'r arch, yr offrymodd efe boeth offrymau o'r creaduriaid glân ar yr allor i Dduw, pan y rhyngodd bodd i'r Arglwydd wneuthur cyfamod âg ef, a rhoddi addewid iddo, na ddystrywia efe y byd â dylif mwyach. Ar yr achlysuron hyn, gallwn feddwl fod yr henafgwyr yn adrodd i'r ieuenctyd yr hanes ryfedd am y dylif, a'r arch, a'r modd y gwaredwyd Noa a'i deulu, yn nghydag ychydig nifer o amryfal rywogaethau o greaduriaid afresymol, i ail bobli y byd. Yn gysylltiedig â hyny, gellid meddwl bod rhagoriaethau Noa, fel gŵr cyfiawn, a chyfaill Duw, yn cael eu hadrodd yn helaeth ganddynt. O oes i oes, ymlygrent yn naturiol oddiwrth symlrwydd yr ymarferiad cyntefig, ac ychwanegent amryw ddefodau dynwaredol o'r dyfodiad allan o'r arch, &c., gan gyflawni eu defodau ar lanau llynoedd, y rhai ar y cyfrif hwnw a olygent hwy yn gysegredig. Noa a ddarlunient fel y mwyaf a'r rhagoraf o ddynion; ac o dan yr enw "Hu Gadarn" priodolent iddo ddygiad eu cenedl o "Wlad yr Haf, a elwir Deffrobani, sef lle mae Constantinopolis, trwy Fôr Tawch, hyd yn Ynys Prydain, a Llydaw."—Tri. 4. Cyfrifent ef fel tad amaethyddiaeth, gan ddywedyd mai "efe a ddangoses y ffordd i aru tir gyntaf i genedl y Cymry, pan oeddynt yn Ngwlad yr Haf, sef lle y mae Constantinopolis yn awr, cyn no eu dawed i Ynys Prydain."—Tri. 56. Iddo y priodolent eu trefniad yn llwythau a thylwythau, neu yn ol iaith y Trioedd, "wneyd clud a gosgordd gyntaf ar genedl y Cymry."—Tri. 57. Darlunient ef fel un nodedig o'r gofalus am gyfiawnder, uniondeb, a heddwch; canys felly y dywedir am dano, "Ni fynai efe wlad a thiroedd o ymladd ac ymlid, eithr o gyfiawnder, ac yn nhangnef."—Tri. 4. A phriodolent iddo ef ddodiad cyfreithiau traddodiad gyntaf iddynt, er eu hiawn lywodraethiad yn eu cylchoedd cymdeithasol. "Hu Gadarn a ddodes gyntaf ar gerdd dafawd gynnal cof a cheudawd."—Tri. 92. Gan y priodolent gynnifer o ragoriaethau iddo, nid rhyfedd iddynt mewn amser fyned i'w addoli ef *fel rhyw un dwyfol*, os nid *yn lle* Duw, a gwneyd o honynt gyfrif mawr o hono ef a'i arch.

Cysegrent hefyd amryw lynoedd i goffadwriaeth y dylif, ar lenydd pa rai, y mae yn debyg, y cyflawnent eu defodau, trwy gyfleu ar wyneb y llyn ryw fath o ynys nofiadwy, goediog, yn yr hon y byddai y coffr cysegredig a gynnrychiolai yr arch yn guddiedig: yr ynys hon a dynid i dir ganddynt â dau o'r ychain mwyaf a allent gael yn yr holl fro, y rhai o'r herwydd a elwid "ychain bannog;" a'r ddefod hon, debygaf, yw yr hyn a elwid yn "dynu yr afanc o'r llyn."

Mae yn gofus genyf draddodiad a glywais pan yn fachgen, yr hwn a â yn mhell er cadarnhau y golygiad uchod. Y mae rhan o'r ffordd fawr a arweinia o Bentraeth, yn Mon, i'r Borthaethwy, a elwir "Gallt y Plas gwyn," o'r lle y gellir gweled tair o Lanau plwyfol ar unwaith, sef Llanddyfnan, Llanbedrgoch, a Llanfair Bettws Geraint: a'r traddodiad yw, i'r afanc a dynid gan yr ychain banog, pan ddaeth hyd y llanerch grybwylledig, dori ei galon wrth weled tair eglwys ar un golwg, a threngu. Un o'r eglwysi uchod, sef Llanddyfnan, oedd yn un o'r addoldai Cristionogol cyntaf a adeiladwyd, fel y mae ei thadogaeth ar Dyfnan yn arwyddo; y lleill, sef Llanbedr a Llanfair, nid adeiladwyd hyd rai oesoedd yn ddiweddarach, pan oedd arferion Eglwys Rhufain yn dechreu dylanwadu y Cymry, fel y gwelir eu bod wedi eu henwi ar Pedr a Mair; ond meddyliwn y gallai y traddodiad uchod fod yn rhoddi ar ddeall i ni, yn nulliaith ddamegol yr athrawon derwyddol, fod paganiaeth wedi parhau i gael ei harddelwi, a'i defodau eu cyflawni yn y wlad, hyd oni ffynodd Cristionogaeth, gan luosogi ei themlau yn yr ynys, fel y gwelid cynnifer a thair o honynt mewn cylch mor fychan.

Mae amryw o'r llynoedd cysegredig yn cadw eu henwau sanctaidd arnynt hyd heddyw, megis "llyn y creini," sef *llyn yr addoliad*, ar "gefn creini," sef *bryn yr addoliad;* a "llyn urddyn," sef *llyn y cysegriad*, yn swydd Feirion; a "llyn gwydd Ior," neu *lyn llwyn Ior*, yn swydd Maldwyn, ac amryw rai cyffelyb a ellid nodi. Ac am y llynoedd cysegredig hyn yn gyffredin, fe'u darlunid fel lleoedd yn y rhai y buasai dinasoedd yn gorwedd gynt, ond a lyncasid i fynu mewn rhyw gyffroad ar natur, a'r llynoedd a ffurfiasid yn eu lle; nid am fod hyny wedi cymeryd lle yn weithredol, ond am fod y cyfryw ddarluniad o honynt yn eu cyfaddasu yn well i gynnrychioli boddiad y byd trwy y dylif; yr hyn oedd y ffaith hanesyddol fawr yr amcenid ei chadw ar gof. Y mae y cyfryw draddodiad yn cael ei gadw i fynu yn ei rym mewn cysylltiad âg amryw lynoedd yn ein gwlad hyd heddyw.*

Afonydd a ffynonau hefyd a gysegrid gan ein tadau i'r un perwyl, o ba rai yr oedd y Dyfrdwy yn un arbenig, a'r ffynonau o ba rai y tarddai a elwid yn "Dwyfan" a "Dwyfach," ac a olygid yn cynnrychioli Noa ai wraig, y *ddeuddyn dwyfol*, fel y'i cyfrifid; a'r afon a gynnrychiolai *afon bywyd*, yr hon meddynt a redai trwy Lyn Tegid, heb ymgymmysgu â'i ddwfr, trwy yr hyn y cynnrychiolid *llifiad ffrwd einioes yn ddiogel trwy ddyfroedd dinystriol y dylif, yn mhersonau Noa, a'i wraig, a'u hiliogaeth.* Gerllaw dyfodiad diogel y Dyfrdwy anllygredig allan o'r llyn, nyni a gawn y "*Bala*," neu y mynediad allan; ac yno mae "tomen y Bala" yn weledig hyd y dydd hwn, ar yr hon, ond odid, yr offrymid yr ychain banog, wedi iddynt gyflawni eu gorchwyl cysegredig o dynu yr arch i dir; ac yn agos i ffynonell y Dyfrdwy, y mae mynydd a elwir "*yr Aren.*" Mae yn wir y gellid meddwl bod yr enw "*Aren*" neu "*Aran*," ar yr hwn y gelwir amryw o fynyddoedd Prydain, yn dynodi uchelfan, oddiwrth *ar;* ond yr oedd yr henafiaethydd dysgedig Mr. Bryant, ac ar ei ol ef Faber, a'r Parch. E. Davies, yn barnu mai enwau a roddid ar yr Arch oedd *Aren* ac *Arene*, ac mai meddwl llythyrenol *Dinas Arena*, ydoedd "*Dinas yr Arch.*" Heblaw hyny, efallai y ceir cadarnhad i'r golygiad uchod pan ystyrier fod "Aren Meirionydd" yn gysegredig i "Tydain tad awen," yr hwn oedd yr unrhyw ag Apolo y Pheniciaid; ac yr ydys yn meddu seiliau cryfion i gredu nad oedd hwnw drachefn yn neb amgen na rhyw gynnrychioliad o hen batriarch yr arch ei hun.

* Gwel Cambro Briton, vol. i., pp. 121, 126—128.

Arferai y beirdd grybwyll cysegroedd eu duwiau, a'u dynsodion cysegredig, yn aml dan yr enw "beddau," neu *orphwysfäau*; megis y gŵyr dysgedigion y golygid temlau Osiris yn yr Aipht fel beddrodau y duw hwnw, neu y gwanau lle y gorphwysai efe. Ac y mae yn beth nodedig fod Taliesin yn cydio Bedd Tydain yn yr un penill a'r eiddo *Dylan*, un arall o'u dynsodion dwyfol dychymygol, y rhai a ddefnyddid i gynnrychioli patriarch y dylif.

> "Bed Tidain Tad Awen,
> Yn ngodir Bron Aren:
> Yn yd wna ton tolo,
> Bed Dilan Llan Beuno."*—TALIESIN.

Ac y mae yn beth nodedig, fod ar ben yr *Arenes* yn Llydaw, olion hen adeilad, am yr hon y dywedir yn sicr, mai hen deml gysegredig i'r un duw ydoedd. Ac fe ddichon fod y Derwyddon Llydawaidd yn meddu cystal manteision i gadw i fynu y defodau coffaol o'r dylif, gerllaw yr Arenes yn Llydaw, ag a fwynhai y Derwyddon Cymreig wrth droed Aren Meirionydd; canys fel hyn y darlunir y lle:—"Tair milldir i'r gorllewin o'r dref hon *(Ffalaise)* y gorwedda Mynydd Arenees; ac yn mhentref Arnes, yr hwn sydd yn perthyn i'r dref hon, *y mae llyn, a borthir gan ffrydiau tanddaearol*, yr hwn a sych i fynu weithiau, ac yna a lenwir yn ddisymwth drachefn.†

Mae yr enw "Llyn Tegid" hefyd yn arwyddo yr un peth, fel y gallwn ddeall oddiwrth y traddodiadau perthynol i Tegid ydynt ar gael yn y ffugdreithodau a elwir "*Hanes Taliesin;*" a ganlyn sydd fath o gyfieithiad rhwydd mewn iaith ddiweddar o ran o hono:—

"Yn y cynamserau yr oedd gwr o drâs uchel, yn Mhenllyn. Ei enw oedd *Tegid Foel*, a'i dreftadaeth oedd yn nghanol Llyn Tegid.

"Ei wraig ddyweddiedig a elwid *Ceridwen;* ac o'r wraig yma bu iddo fab, a elwid *Morfran ab Tegid:* a merch a elwid *Ceirfyw*, yr hon oedd y wyryf decaf yn yr holl fyd.

"Ond i'r plant hyn yr oedd brawd, a elwid *Afagddu*, yr hagraf mewn bod. A Cheridwen, mam yr hagr-fab hwn, a benderfynai yn ei meddwl mai siawns fach a fyddai iddo gael ei dderbyn i fysg cymdeithion anrhydeddus, oddieithr ei fod wedi ei ddonio â rhyw wyddion neu ragoriaethau anrhydeddus; canys yr oedd hyn yn y cyfnod cyntaf i Arthur a'r ford gron."

Yn agoriad yr hanes, wele ni ar unwaith wedi ein bwrw ar dir y ffugchwedlau—yn nghyflead ei dreftadaeth, y darluniad o'i ddynsawd, enw ei wraig, yn nghydag enwau a nodweddau ei blant, yr ydym yn cael hanes ddamegol o'r dylif yn bortreiedig ar waelod Cymreig ger bron ein llygaid. Cyfleir treftadaeth Tegid, gŵr Ceridwen, yn nghanol Llyn Tegid, y mwyaf o'r llynoedd Cymreig. Rhaid bod yr etifeddiaeth yma yn gyfyngedig i faint *nawf-ynys*, *llong*, neu *fâd*, yr hwn a allai nofio yn y cyfryw sefyllfa; neu yntau rhaid cymmeryd yn ganiataol ei bod wedi ei gorlifo, trwy yr hyn y cadwai ein henafiaid i fynu goffad o ddystryw yr *hen fyd* trwy y dylif. Darlunir Tegid fel gwr tra hybarch ei ymddangosiad, wedi colli ei wallt oddiar ei goryn; canys "Tegid Foel" y'i gelwir; ac yn hyn y mae yn cyfateb yn hollol i'r hen dduw cenedlig Sadwrn, yr hwn a addefir yn gyffredin yn gynnrychiolydd Noa, ac a ddarlunir fel priod *Rhea*, yr hyn nid yw namyn enw arall ar Ceridwen, neu *Cêd*, elfod yr Arch. Ni oddef

* Davies's Mythology, pp. 192, 193. † Ib. p. 195.

fy ffiniau i mi olrhain y golygiad yma yn mhellach ar hyn o bryd; ond fe all y cywrain gael ei foddhau trwy ymofyn â'r gwaith a grybwyllais amryw weithiau o'r blaen, sef "*The Mythology and Rites of the British Druids*," gan y Parch. Edward Davies.

Yn mhen rhyw yspaid, y mae yn ymddangos i'r Pheniciaid ddechreu agor trafnidiaeth â'r ynysoedd oeddynt oddiallan i benrhyn Cernyw a Dyfneint, o'r lle y cloddid alcan—yr hwn ddelid, o herwydd ei brinder, ydoedd dra gwerthfawr. Y Pheniciaid hyn a gyfaneddent dueddau Syria a Galilea, a chan fod eu tiriogaeth yn estyn yn hir ar lan Môr y Canoldir, daethant yn fordwywyr medrus yn foreu, ac yn enwog am eangder eu trafnidiaeth fasnachol, fel y dywedir fod masnach yr holl fyd adnabyddus yn eu llaw unwaith. I'r bobl hyn y perthynai y dinasoedd blodeuog *Tripolis*, *Berytus*, *Tyrus*, *Sidon*, *Ptolemais*, ac amryw ereill oeddynt dra enwog yn y cynoesoedd. Yr oeddynt yn enwog hefyd am eu dysgeidiaeth a'u gwybodaeth athronyddol; ond yr oeddynt mor nodedig am eu heilunaddoliaeth ag oeddynt am ddim arall. Mae Whittaker, yn Hanes Manceinion (llyfr i. pen. 11, adr. 2,) yn dyweyd fod y Pheniciaid wedi dechreu masnachu â Phrydain o leiaf bum' can' mlynedd cyn y cyfnod Cristionogol, ac yn mysg eu heilunod yr oedd Baal, Asteroth, Hercules, Tamuz, Apolo, &c. Y rhai hyn o'r diwedd a ddygasant eu crefydd drosodd i'r ynys hon, ac a enillasant ddysgyblion i'r grefydd newydd—yn gyntaf, efallai, yn Nghernyw a Dyfneint, lle y gallem gasglu iddynt sefydlu eu defodau crefyddol mewn cryn rwysg: ond yn cael eu gwilied â llygaid tra eiddigus gan drigolion y parthau ereill o'r wlad, y rhai oeddynt yn dra phenderfynol dros hir amser i sefyll dros eu hen grefydd; canys yr ydym yn deall eu bod yn galw y rhai a gofleidient y grefydd newydd, "Dallben;" a'r wlad lle y ffynai yr egwyddorion hyn a alwent "Glyn Dallwyr." Heblaw hyny, fe'n hysbysir yn yr hen draddodiadau dammegawl, i'r grefydd newydd yma gael ei chadw dros yspaid hir o fewn Glyn Dallwyr, yn Nghernyw; a chan gynted ag y dechreuodd eppilio, neu gynnyrchu dychweledigion, dywedir i Arthur (nid y brenin Arthur, yr hwn a fu yn ei flodeu ar ol ymadawiad y Rhufeiniaid o'r ynys hon, ond Arthur y ffug-chwedlau, pen cyfriniol hen grefydd y wlad,) gynnull ei luoedd trwy yr holl ynys, er mwyn llwyr ddystrywio y grefydd newydd yma, a gwaredu y wlad oddiwrth ei chefnogwyr: ond aflwyddiannus hollol a fu ei gais; canys y grefydd newydd a ennillodd dir, ac a ymledodd yn lled gyffredin dros y wlad. Yn ol y grefydd hon, cyfodid yr haul, y lleuad, a'r ser, yn wrthddrychau addoliad, yn lle yr hen Dwyfan a Dwyfach, Tegid, a Cheridwen, a'u defodau dysyml er coffad o Noah a'i dylwyth, y dylif a'r arch, &c.

Er dangos fy seiliau dros y crybwyllion uchod, cyfeiriaf eich sylw at y Triad canlynol, a dylynaf ef â rhai sylwadau eglurhaol arno;—"Tri Gwrddfeichiaid Ynys Prydain;—*Cyntaf* fu Pryderi fab Pwyll Pendaran, Dyfed, a getwis foch ei dad, tra ytoedd yn Annwn; ac yn Nglyn Cwch, yn Emlyn, y cetwis efe wynt. *Ail*, Coll ab Collfrewi, a getwis hwch Dallwaran Dallben a ddoai yn ngorddodwy hyd yn Mhenrhyn Penwedig yn Nghernyw, ac yna myned yn y Môr; ac y lle y daethoedd i dir, Abertarogi yn Ngwent Iscoed; a Choll mab Collfrewi ag ei law yn y gwrych ffordd bynnag ydd elai, ai ar fôr, ai ar dir; ac yn maes gwenith yn Ngwent y dodwes dri gwenithyn, a thair gwenynen; ac er hyny y mae goreu gwenith a mêl yn Ngwent: ac o Went y cerddai hyd yn Nyfed, ac y dodwes ar heiddyn a phorchellan; ac er hyny goreu haidd a moch yn Nyfed; ac yn Llonio Llonwen y dodwes y rhai hyn. Gwedi hyny y cerddwys hyd yn Arfon, ac yn Lleyn y dodwes ar y gronyn rhyg; ac er

hyny, goreu rhyg yn Lleyn ac Eifionydd. Ac ar ystlys Rhiw gyferthwch y dodwes ar geneu blaidd, a chyw yr eryr; a rhoi yr eryr a wnai efe i Frynach Wyddel, o Ddinas Affaraon; ac y blaidd y rhoddes efe i Fenwaed, arglwydd Arllechwedd: a llawer o son sydd am eryr Brynach, a blaidd Menwaed. Ac oddiyna myned yd y Maen du yn Arfon, lle y dodwes ar geneu cath; a Choll mab Collfrewi a ei teflis yn Menai; a hono oedd y Gath Balwg a fu yn ormes yn Mon wedi hyny. *Trydydd*, Trystan ab Tallwch, a getwis foch March fab Meirchion, tra aethai y Meichiaid yn gennad at Essyllt i erchi oed â hi; ac Arthur, a Merchell, a Chai, a Bedwyr, a fuant eill pedwar ar ymgais a chyrch, ac nis gallynt gael cymmaint ag banw, nac o rodd, nac o bryn, nac o dwyll, nac o drais, nac o ledrad: sef achaws eu gelwid y Gwrddfeichiaid, am nas gellid nac ennill na gortrech arnynt am un o'r moch a gedwynt; eithr eu dadfer a wnaynt ar eu llawn gynnydd idd y rhai ag eu pieufynt."

Mae yn ddiau y bydd llawer o'm cydgenedl, annghyfarwydd yn henafiaethau eu tadau, yn barod i'm beio am roi chwedl mor afresymol a'r un uchod i fewn; ac yn wir ni buaswn yn gwneyd hyny, oni buasai fy mod yn credu y cynnwysa ryw draddodiad pwysig o barth i ffyniant coelgrefydd yn ein gwlad, o'r hyn nid oes un hanes arall ar gael; a'm bod yn barnu y gellir rhoddi eglurhad boddhaol ar y rhan fwyaf o honi, er ei bod wedi ei gwisgo yn iaith gyfriniol yr hen athrawon derwyddol.

Er ein galluogi i ddeall rhyw gymmaint o'r Triad uchod, y mae yn angenrheidiol i ni gofio fod yr hen Frythoniaid yn cyfrif Noa fel yr un a ddysgai i'w tadau aredig tir gyntaf; ac yn gyson â hyny y dywedir yn yr Hanes Sanctaidd, i Noa yn fuan wedi y dylif ddechreu bod yn *llafurwr* (Gen. 9. 20); ac am hyny, pan nad oedd ganddynt ysgrifen, ond y cludent eu meddyliau o oes i oes trwy ddarluniau, hwy a'i darlunient ef drwy faedd, am fod y creadur hwnw yn aredig y ddaear â'i drwyn, gan ymlid ar ol y pryfed, ac felly yn arddwr mwyaf naturiol: rhoddent barch addoladwy i'r arch, neu elfod yr arch, dan yr enw Cêd neu Ceridwen, yr un a *Ceres* y Groegiaid, fel duwies llawnder, am mai o'r arch y caed had i hau y ddaear, wedi anrhaith mawr y dylif; a hwy a'i galwent hi weithiau "Ogyrwen Amhad," ac a'i darlunient dan y nodwedd o *hwch*, ei hoff ddysgybl a elwid *porchellan*, ei harchoffeiriad a elwid *twrch*, neu *gwyddhwch*, sef *baedd y llwyn*, ei hoffeiriaid a elwid *meichiaid*, neu geidwaid moch, a'i chynnulleidfaoedd a elwid *moch;* ac felly, ar gyfrif eu dyhewyd crefyddol o'r cynoesoedd, y cyfenwid y Monwysion "Moch Mon." Mae rhai o'r hen ffug-chwedlau a elwir y "Mabinogion," sef chwedlau a gyfansoddid gan yr athrawon derwyddol mewn iaith gyfriniol, i ddysgu eu dysgyblion trwyddynt yn eu hathrawiaethau a'u cofion crefyddol, yn gynnorthwyol i fwrw goleu ychwanegol i'r ymofynydd chwilfrydig ar y crybwyllion uchod: ond ni oddefir i mi ddyfynu nemawr o honynt o fewn terfynau y Ddarlith hon.—Y cyntaf o'r tri gwrddfeichiaid a grybwyllir uchod yw "*Pryderi,*" sef *dwys ystyriaeth*, a chan y'i cyfenwir "Gwynfardd Dyfed," neu *Dderwydd Dyfed*, y mae yn hawdd i ni ganfod mai cyfundraith ei grefydd oedd testyn ei ddwys ystyriaeth. Ei dad oedd "*Pwyll,*" sef *rheswm*, neu *gallineb;* a gallem feddwl mai nid enwau personol oeddynt y rhai hyn; ond yn hytrach enwau cyfriniol, er dynodi y cymhwysderau gofynol i wneyd meichiad da, neu swyddog crefyddol effeithiol yn y cyflawniad o'i swyddogaeth. Cadarnheir fy meddwl yn y golygiad yma drwy ddernyn hynod o farddoniaeth yr hen Daliesin, a elwir "*Preiddeu Annwn,*" sef "Yspeilion y Dyfnder," neu "Gofion Crefyddol y Dylif," lle y dywaid mai wrth gynghor Pwyll a Phryderi yr aeth yr hen batriarch i'r arch. Fel hyn y mae—

"Golychaf wledig, pendefig, gwlad ri.
Pa ledas y penaeth dros draeth *Mundi;*
Bu cywair carchar Gwair* yn Nghaer Sidi,
Trwy ebostol Pwyll a Phryderi,
Neb cyn nog ef nid aeth iddi.
Y gadwyn dromlas, cywirwas a'i cedwi;
A rhag preiddeu annwfn tost yd geni;
Ac yd frawd, parhawd yn Bardd weddi:
Tri lloned Prydwen ydd aethem ni iddi;
Namyn saith ni dyrraeth o Gaer Sidi."

Er mwyn y sawl a allant fod yn annghyfarwydd yn iaith cyfansoddiadau y prif-feirdd, dodaf yma aralleiriad rhydd o'r dernyn uchod:—

"Addolaf y penadur, goruchaf reolydd y tir. Ped estynai ei arglwyddiaeth dros eithafoedd y byd; eto cyweirid carchar Gwair yn Nghaer Sidi, trwy gynghor Pwyll a Phryderi, nid aeth neb iddi o'i flaen ef. Dyoddefaist y gadwyn dromlas, O ŵr cyfiawn! ac am yspeilion y dyfnder, tost yw dy gwyn, a hyd ddydd brawd y'i cofir yn ngweddïau beirdd. Aeth tri llonaid Prydain i'r dyfnder; ond ni ddychwelodd namyn saith o Gaer Sidi."

Dywedir yn y Mabinogion, fod Pwyll, arglwydd saith dalaeth Dyfed, pan yn *Arberth*, neu yr Uchel lwyn, wedi penu dydd hela, hyny yw, debygid, adeg arbenig i gyflawni cyfrinion eu crefydd; a'r lle a ddewisai i hyn, oedd *Glyn Cwch* (y bâd, neu yr arch.) A phan oedd Pwyll ar ganol ei helwriaeth, yn gwrando ar swn ei fytheiaid, efe a glywai yn eglur swn bytheiaid ereill, hollol wahanol eu goslef i'w rai ei hun, ac yn dyfod yn gymhwys i'w herbyn. Mae hyn yn cynnwys cyfeiriad at ryw ddefodau crefyddol hollol wahanol i'r eiddo Pwyll a'i henafiaid:—Ai tybed nad oes yma ryw gyfeiriad, er yn dywyll, at lygriad a gwyriad yr hen Gymry oddiwrth symlrwydd eu crefydd gyntefig, yr hon oedd yn llawer mwy cydweddol â synwyr ac ystyriaeth ddifrifol na'r lluaws defodau coegion ac eilunaddolgar yr ymlithrai y genedl i'w harfer yn fuan?

Am Coll fab Collfrewi, efe a ddarlunir fel nai a dysgybl Rhuddlwm Gawr, neu y *Cawr coch esgyrniog*, fel yr arwyddoca yr enw, yr hwn nis gall fod yn neb amgen na'r Masnachydd coch o Phenicia, yr hwn oedd Ganaanead o un tu, ac Edomiad o'r tu arall, ac a drafnidiai i ynysoedd yr alcan, ger Cernyw. Coll fab Collfrewi, debygid, a olygir yn y Triad fel athraw y grefydd newydd yma; a'r gyfundraith a ddysgid ganddo a ddarlunir dan y gyffelybiaeth o *hwch*, i'r hon y priodolir *dodwy*, neu adael o'i hol, neu gynnyrchu mewn amrywiol wledydd yn ei fordd, amryfal bethau neu effeithiau, fel olion ei hymweliad. "Yn Ngwent dodwes dri gwenithyn a thair gwenynen." Nis gwn a allai hyn gynnwys rhyw amnaid bod *Coll* a'i gyfundraith newydd wedi cael derbyniad lled roesawus yn Ngwent; neu efallai ei fod yn rhoddi ar ddeall fod yr athraw hwn wedi bod o gryn wasanaeth i drigolion Gwent, trwy eu hyfforddi i wellhau amaethyddiaeth eu gwlad, ac felly gynnyrchu cynnaliaeth a chysuron einioes yn helaethach nag o'r blaen. Heblaw hyny, y mae y rhai ydynt yn hyddysg yn nghoelgrefyddau y prif oesoedd yn ein hysbysu fod gwenyn yn cael lle mawr yn eu temlau mewn cysylltiad â rhai o'u defodau: ac am hyny, oni allwn ni gasglu bod athraw y grefydd newydd hon yn ŵr tra dichellgar; a'i fod, dan y gochl o ddysgu y Gwenhwyson yn y gelfyddyd werthfawr o amaethyddiaeth, wedi cael cyfle i ddwyn ei syniadau a'i ddefodau crefyddol i fewn ar yr un pryd.

* Un o enwau Noa ydoedd *Gwair* (adnewyddiad) fab *Gwestyl* (y dymhestl fawr.)

Yn Mhenfro drachefn y dodwes ar heiddyn a phorchellan; tra yn dysgu amaethyddiaeth i drigolion Dyfed, cynnyrchai ei rhyw ei hun o grefydd yn eu plith hwythau.

"Yn Arfon, ar ystlys Rhiw gyferthwch, y dodwes ar genau blaidd, a chyw yr eryr." Yr oedd blaidd y ffug-chwedlau, medd Mr. Bryant, yn perthyn i addoliad yr haul;* a'r eryr hefyd oedd un o'r eilunod Aiphtaidd, cysegredig mewn modd arbenig i'r haul.† Y mae yn anhawdd penderfynu yn bresenol pa le a olygir wrth "ystlys Rhiw gyferthwch;" ond fe debygid mai rhyw le blin iawn i'w dramwy ydoedd; canys ystyr yr enw Rhiw gyferthwch, yn iaith gyffredin y dyddiau hyn, yw *Rhiw dyheuad;* ac y mae lle i feddwl ei fod yn rhyw le yn y ffordd o Leyn i'r rhan honno o Arfon sydd ar gyfer Ynys Fon, a bod dinas Affaraon yn gyfagos iddo. Wedi yr ymchwil manylaf a ellais ei wneyd, y mae yn rhaid i mi addef nas gallaf feddwl am un lle yn cyfateb i'r darluniad yn well na'r esgynfa o Nefin heibio i Lithfaen, i Gwm Coryn, neu y lle a elwir yn awr Bwlch Llanaelhaiarn, gynt Bwlch y ddau fynydd; a cherllaw i'r Rhiw hwnw y mae hen ddinas neu amddiffynfa gref dros ben, yn mynyddau yr Eifl, a elwir yn bresenol "Tre'r Caerau," yr hon oedd yn anhygyrch oddieithr ar un ystlys, ac ar yr ochr honno yr ydoedd yn ddiffynedig gan dri o furiau cedyrn; o ba rai y mae cryn olion yn aros hyd heddyw: ac o'i mewn y mae olion lluaws o adeiladau. Dywedir bod Coll wedi anfon yr eryr yn anrheg i Frynach Wyddel o ddinas Affaraon, a'r ceneu blaidd i Fenwaed, arglwydd Arllechwedd. Yr oedd arglwyddiaeth Arllechwedd yn nghymydogaeth y Penmaen Mawr, ac yno, mewn lle a elwir Braich y Ddinas, y mae adfeilion hen amddiffynfa ac adeiladau tra chyffelyb i'r rhai yn yr Eifl. Barnai y Parch. Edward Davies bod yr adfeilion olaf a grybwyllwyd yn cynnwys olion hen deml i Beli neu Baal—yr haul. Onid ellid casglu oddiwrth y Triad dyfynedig, bod rhyw orsaf arbenig i'r grefydd newydd yma wedi ei sefydlu gan Frynach Wyddel yn ninas Affaraon, a chan Menwaed yn arglwyddiaeth Arllechwedd? a'm barn ostyngedig fy hunan ydyw bod yr hen adfeilion, ar y ddwy uchelfa grybwylledig, yn cynnwys olion temlau i lu y nef, a gyfodwyd gan ein henafiaid yn yspaid ffyniant y gyfundraith grefyddol a ddygwyd yma o Phenicia gan Rhuddlwm Gawr, ac a ledaenwyd wedi hyny trwy offeryniaeth Coll fab Collfrewi; er y dichon eu bod wedi eu defnyddio mewn oesoedd diweddarach fel gorsafau milwraidd, i'r hyn yr oeddynt yn dra manteisiol.‡

* Bryant's Analysis, vol. i., p. 73. † Ib. p. 19.

‡ Yr ydwyf yn meddwl y gall y ddau sylw canlynol yn mhellach gadarnhau fy ngolygiad, mai y lle a elwir Tre'r Ceiri, neu Tre'r Caerau yn bresenol, ydoedd hen ddinas Affaraon;—1. Y mae traddodiad bod hen dref gynt heb fod yn nepell o'r lle hwnw, a elwid *Caer Arianrhod*, yr hon a orlifwyd gan y môr ers llawer oes; ond o'r hon y mae yr olion i'w gweled weithiau ar ddystyll drai eto, meddir. Ond am Arianrod, dywedir mai yr *enfys* a gynnrychiolai, ac fe'i gelwir yn ferch Beli, neu yr haul. Ac os y golygwn yr hen adfeilion yn yr Eifl yn olion teml i Beli, y mae yn naturiol i ni chwilio am dref Arianrhod yn agos: ac wele, er ei gorlifo gan y môr, y mae ar gael eto yn nhraddodiadau yr ardal!

2. Y mae traddodiad arall yn y wlad, ddarfod i fytheiad rhyw foneddwr, yn yr hen amseroedd, gyfodi rhyw filyn rhyfeddol, a alwant "Aur Frychyn," yn agos i Lyn Cader, a chudynau o flew arno yn dysgleirio fel aur, yr hwn wedi ei hela dros amser, a oddiweddwyd ac a laddwyd yn agos i'r lle a elwid Nantlle, ac iddo frefu mor uchel pan y'i daliwyd nes rhwygo y creigiau. Efallai bod yma gyfeiriad tywyll at ddiwedd *Brychan* neu *Brychyn* o ddinas Affaraon; canys gwelwn bod ei gyfeiriad yn gymhwys o gymydogaeth Llyn Cader tua'r lle a nodasom fel dinas Affaraon.

Dywaid Davies mai yr enw Prydeinaidd am y *Cabiri*, prif offeiriaid y Pheniciaid,

"Y Maen du yn Arfon, lle y dodwes ar geneu cath," ydoedd y Maen du yn yr Arddu, efallai, yr hwn sydd yn agos i Lanberis. Am y cynnyrchiad olaf yma o eiddo yr hwch gyfriniol, dywedir mai "cath balwg," neu "gath fraith" ydoedd, a bod Coll wedi ei bwrw o ben y Maen du i'r Menai, a bod meibion Balwg yn Mon wedi ei chymmeryd i'r lan a'i magu, ond iddi wedi hyn ddyfod yn un o dair brif gormes Mon.

Efallai fod hyn yn rhoi ar ddeall i ni fod dygiad y grefydd newydd yma i'r ynys wedi achosi blinder ac amrafaelion yn mysg y trigolion, os nad rhyfel cartrefol. At ryw draddodiad o'r natur yma oedd ar gael yn ei amser ef, ond odid, y cyfeiriai Taliesin yn y geiriau hyny—

"Ys trabluddir y Gath Fraith
A'i hannghyfieithion."

Ac oddiwrth y crybwylliad yna o eiddo Taliesin, gallwn gasglu mai rhyw estroniaid o genedl ac iaith oeddynt brif swyddogion y grefydd hon; canys efe a'u geilw yn "annghyfieithion."

Y trydydd gwrddfeichiad y sonid am dano ydoedd "Trystan ab Tàllwch," neu "gyhoeddwr y dirgeledigaethau," fel y mae ei enw a'i nodwedd yn arwyddo; ac felly rhaid i ni ei olygu yntau hefyd yn athraw cyfundraith newydd o grefydd. Ond rhag blino amynedd rhai nas meddant nemawr flas at chwedlau dammegol dwyfdraith baganaidd, nis gwnaf ond crybwyll yn fyr, bod lle i gasglu mai o Gernyw y cyfodai y gyfundraith newydd hon hefyd—ei bod yn gynnwysedig o ryw fath o gydgorphoriad o'r ddwy gyfundraith flaenorol, sef yr *Archaidd* a'r *Heulaidd;* neu grefydd ddysyml a diaddurn y Cymry, a defodau mwy rhwysgfawr y grefydd a ddygasai y masnachwyr Pheniciaidd yma; yr hyn a arddangosir trwy yr alleg o gytaliaeth annghyfreithlawn Trystan ac Essyllt, neu Fyngwen; a bod ymdrech led egniol wedi cael ei wneyd yn erbyn yr athrawiaeth newydd hon hefyd—canys fe'n hysbysir fod pedwar o wyr "wedi myned ar ymgais a chyrch," ac yn eu mysg yr oedd *Arthur* yn un, yr hwn, yn y ddwyfdraith dderwyddol a ddarlunir yn wastadol fel penaeth crefydd y wlad, ond y mae yn ymddangos mai hollol aflwyddiannus a fu y cais a'r holl ymdrechion; canys ni allai y pedwar gwyr hyn, er eu holl ymroad, gael cymmaint ag un o ddysgyblion Trystan i'w adael: ac o dipyn i beth, cytal y ddwy grefydd a fu i raddau lled helaeth; fel yr oedd yn hawdd canfod, yn y Dderwyddiaeth a ganfu Caisar yma, amryw o olion pob un o'r

neu eu gwroniaid dwyfyddol, a seilwyr eu crefydd, oedd *Pharaon;* a bod eu hoffeiriaid yn cael eu galw *Pheryll*, am eu bod yn dra chyfarwydd mewn delidyddiaeth, ac a wnaent ryw fath o ddelwau neu fathodynau, y rhai a roddent i'r bobl fel gwystlon o gynnorthwy goruwchnaturiol. At y rhai hyn y cyfeiria Taliesin, pan ddywaid—

"Gwneynt eu perion
A ferwynt heb don;
Gwneynt eu delidau
Yn oes oeseu;
Dyduth dyddyccawd
Oddyfnwedydd gwawd."

"Yna y parasant i'w ffyrnau ferwi *heb ddwfr*, ac a barotoisant eu *delidau celyd* i barhau yn oes oesoedd. Y *tuthiwr* (march, un o'r delwau a wnelid ar eu bathodion yn aml) a ddygid allan oddiwrth ddyfn feithrinydd y gân."

Ai i drigias y Pheryllt celfyddgar hyn yma yr ydys yn ddyledus am yr enw *Llithfaen* ar yr ardal *haiarnol* hon, lawer oes cyn bod Ewropiaid yn gyffredin yn gwybod dim am ansoddion y tynfaen?

ddwy grefydd y ceisiasom roddi bras ddarluniad o honynt eisoes, megis yn blith draphlith—Noah yn marchogaeth yn ngherbyd tanllyd yr haul, ac yn cael ei ddilyn gan Arianrod, a Cheridwen yn oeri ei phair yn y lloer!

Dyma ni wedi dyfod yn awr at yr unig gyfundraith o grefydd baganaidd yn mysg ein henafiaid ag y meddwn nemawr o "Gof Llyfr" yn ei chylch, sef yr un a elwir "y Dderwyddol;" a chan iddi fod mewn bri mor arbenig yn mysg ein cenedl, a bod cynnifer o'i holion a'i chofion eto yn yr ynys, ceisiaf roddi crynodeb mor gywir ag y gallaf o'i daliadau a'i defodau.

Llenorion, neu athrawon y genedl, a elwid weithiau dan yr un enw cyffredinol—*Beirdd*, a phryd arall, *Derwyddon;* ac a wahaniaethid yn dri dosparth, yn gyfatebol i'r amryfal swyddau a gyflawnid gânddynt, a gelwid hwy *Beirdd*, *Ofyddion*, *a Derwyddon:* ac islaw y tri dosparth yna yr oedd un arall, a elwid *Awenyddion*, neu ddysgyblion, y rhai oeddynt yn rhwym i fyned drwy gylch o ddysgyblaeth dra manol a llem, cyn y gellid eu derbyn i un o'r dospeirth rheolaidd.

Prydyddion, achwyr, a haneswyr, oedd y Beirdd; a'r sawl a fyddai wedi ei dderbyn i'r radd yma yn rheolaidd, a elwid *Bardd Braint*, a *Bardd Trwyddedawg*, ac weithiau *Trwyddedawg Braint*; ac wedi ei fod yn llywyddu mewn tair gorsedd, efe a elwid *Bardd Gorseddawg*, neu *Fardd Ynys Prydain.* I'r cyfryw y perthynai yr hawlfraint i gyhoeddi a chynnal gorseddau; rhoddi derbyniad i Ddysgyblion ac Ofyddion; myned ar genadwriaeth rhwng penaduriad, neu fyddinoedd gelynol; gweinyddu addysg i ieuenctid yn egwyddorion moesoldeb a chrefydd, &c. Ond pan oedd y grefydd dderwyddol yn ei bri, nid ystyrid yn briodol i Fardd ddwyn arfau, gan mai *Cenad Heddwch* y'i cyfrifid ef. Yr oedd yn rhwym hefyd i gadw cyfrinach i'r manylrwydd eithaf rhwng y pleidiau y'i gelwid i weinyddu negeseuon o ymddiried rhyngddynt; ac ystyrid yn annghyson â'i nodweddiad ef i gefnogi unrhyw ymblaid neillduol mewn crefydd na gwlad-ddysg. Pan fyddai Bardd Trwyddedawg yn gweini ei swydd, efe a wisgai ei wisg awyrlas unlliw yn wastadol, wrth yr hon yr adnabyddid yr urdd hon; ac amcenid y lliw yma ar ei wisg yn arwyddlun o heddwch a gwirionedd.

Cyfrifir bod yr urdd farddawl wedi ei seilio ar yr athrawiaeth o heddwch cyffredinol, ac ewyllys da; gan nad oedd Bardd yn ol gosodiadau y grefydd dderwyddol i ddwyn arf, na bod yn ymbleidiwr, fel y crybwyllwyd uchod, ac nid oedd arf noeth i gael ei ddwyn yn ei wyddfod; canys efe a olygid yn gysegredig fel cenad hedd, dan yr enw *Bardd Ynys Prydain;*" a'r canlyniad oedd, y gallai un o'r gradd yma, yn ei wisg swyddol, fyned o'r naill ran o'r wlad i ran arall a fyddai yn elynol iddi, heb fod mewn perygl i neb ei lesteirio; ïe, od elai efe allan rhwng dwy fyddin arfog ar ganol brwydr, hwy a ymatalient yn y fan, ac a roddent glust i'w genadwri, fel cenad hedd; a rhoddid y blaen i'r hyn a ddywedai ar yr eiddo pawb arall; canys "gair ei air ef ar bawb."

*Yr Ofyddion* oeddynt radd arall yn mysg eu dysgedigion, y rhai oeddynt physygwyr, sywedyddion, a cherddorion; a'r prif gymhwysderau gofynol i ymgeiswyr am yr urdd hon, ydoedd hyddysgrwydd yn y celfion a'r gwyddion a ystyrid yn fwyaf gwerthfawr. Yr oedd yn ofynol i'r gradd yma hefyd ymgydnabod âg egwyddorion barddoniaeth, a'u bod yn gyfarwydd yn nhraddodiadau y genedl. Yr oedd gwisg yr Ofyddion i fod o liw gwyrdd, er bod yn arwyddlun o ddysgeidiaeth a gwirionedd.

Gradd arall ydoedd y *Derwyddon*, y rhai hefyd a elwid weithiau *Derwydd-feirdd* a *Gwyn-feirdd;* a hwy a neillduid o un o'r ddau ddosbarth

arall, i weini yn mhethau mwyaf cysegredig crefydd; ac o ganlyniad, y prif gymhwysderau yr edrychid am danynt mewn un, cyn y'i gelwid i weini swydd Derwydd, oedd crefyddolrwydd buchedd, ac enwogrwydd am ddoethineb. Efe hefyd oedd i fod a'r gofal mwyaf arno am addysgiaeth yr ieuenctyd, ac o ganlyniad yr oedd yn ofynol fod pob Derwydd yn Fardd Braint. Gwisg swyddol Derwydd oedd i fod yn glaerwen, lliw y goleuni, neu yr haul; ac felly yn arwyddlun o burdeb a gwirionedd.

Yr *Awenyddion*, neu y dysgyblion, a wisgent wisgoedd amryliw o lâs, gwyrdd, a gwyn; a chyn y derbynid neb yn aelod rheolaidd i'r dosparth yma, yr oedd yn ofynol ei fod o foesau dichlynaidd; canys yn gyntaf oll, yr oedd yn rhaid ei fod yn *ddyn da*; ac anfynych y dechreuid ei ddysgu mewn unrhyw gyfrinach o bwys, hyd oni byddai y prawfion llymaf wedi eu gwneyd ar ei ddeall, ei serchiadau, ei foesau, a'i egwyddorion yn gyffredinol. Sylwid yn fanol ar weithrediad ei nwydau a'i alluoedd, pan fyddai efe yn dysgwyl leiaf am hyny; ac felly, yn ddiarwybod iddo, yr oedd ei galon yn cael ei phrofi, ei egwyddorion yn cael eu pwyso, a galluoedd ei feddwl yn cael eu mesur: ac yn ganlynol i'r boddlonrwydd a geffid ynddo, trwy y cyfryw brawf ac ymchwil, yr agorid dorau eu dirgeledigaethau iddo.

Dros yspaid ei arosiad yn y cyfryw gyflwr o brawf, gorfyddai ddysgu penillion, doetheiriau diarhebol, a thraddodiadau hanesyddol; a chyfansoddi ereill eu hunain ar unrhyw destyn hanesyddol, athrawiaethol, neu foesol.

Fe'n hysbysir gan yr hen hanesydd Rhufeinaidd *Ammianus Marcellinus*, bod llawer o gyffelybrwydd rhwng y gyfundraith dderwyddol a'r gyfundraith a ddysgai Pythagoras i'w ddysgyblion; ac yn wir y mae amryw awdwyr yn dal allan yn gryf bod Pythagoras ei hunan wedi bod yn mysg y Derwyddon yn Ngâl, yn cael ei hyfforddi yn eu hathroniaeth; ac os felly, gellir casglu ei fod wedi cael rhan fawr o'i wybodaeth a'i ddoethineb oddiwrthynt hwy.

Dywaid Dïodorus Siculus, Strabo, Mela, ac ereill, eu bod yn arfer trafod llawer cangen ddyeithr o wybodaeth yn eu hysgolion, megis yn nghylch ffurf a maint y cyfanfyd yn gyffredinol, a'r ddaiar yn neillduol, yn gystal ag amryw o ddirgelion arddunawl anian. Tystir hefyd eu bod yn hyddysg mewn seryddiaeth, serddewiniaeth, rhifyddiaeth, mesuregaeth, a daiaryddiaeth, cystal ag yn y gobeirion. Gellir cael prawf o'r olaf yn yr amryfal weddillion o'u gorchestion a ganfyddir eto mewn amryfal fanau, lle y mae rhai cerig o ddim llai na deugain tunell o bwysau wedi eu cyfleu i ryw berwyl ganddynt drwy rym celfyddyd. Yr oeddynt hefyd yn efrydu llawer ar athroniaeth naturiol, llysieuaeth, meddyginiaeth. Mae Cicero yn gystal a Caisar yn rhoi gair uchel iddynt am ehangder, dwfn, a gwerthfawrogrwydd eu gwybodaeth. Y blaenaf a ddywedai ei fod ef yn adnabyddus bersonol âg un o Dderwyddon Gâl, sef *Divitiacus*, gwr o fonedd yn ei wlad, a broffesai ei hyddysgrwydd trwyadl yn neddfau anian. Mae *Strabo* wedi cadw un o'u daliadau anianyddol o barth y cyfanfyd;—sef, nad oedd byth i gael ei ddystrywio neu ei ddifodi; ond ei fod i fyned trwy olyniad o gyfnewidiau a chwyldroadau mawrion, y rhai a gynnyrchid weithiau gan rym gorfodol dwfr, ac weithiau yr eiddo tân. *Pomponius Mela* a ddywaid ei fod wedi cael allan y ban canlynol o athrawiaeth Derwyddon y cyfandir:—

"Rhagori mewn rhyfel,
Bod yr eneidiau yn anfarwol,
A bod buchedd arall iddynt."

Triad athrawiaethol arall o'r eiddynt a grybwyllir gan Diogenes Saertius, yn y geiriau canlynol:—

——"Addoli y duwiau,
Peidio gwneuthur drwg,
Ac arferyd gwrolder."

Un amcan mawr o gysylltu y dosparth barddonawl mor agos â swyddogaeth y grefydd dderwyddol, debygid, ydoedd er mwyn rhydd ymholiad i bob rhyw beth a dueddai i gael allan wirionedd a doethineb, fel y gallwn gasglu oddiwrth yr arwyddair hwnw o'r eiddynt—"Coeliaw dim, a choeliaw pob peth:" hyny yw, coeliaw pob peth a geir yn seiliedig ar reswm a phrawf, a gwrthod coeliaw dim heb hyny. Yr oedd y Bardd i fod yn eofn hefyd yn achos y gwirionedd; canys arwyddair arall o'i eiddo ydoedd—"Y gwir yn erbyn y byd." Heblaw hyny, yr oedd cyhoeddusrwydd mawr i fod yn perthyn i weithrediadau swyddol y Beirdd; canys eu holl gyfarfodydd mawrion, a elwid *Gorseddau*, a gynnelid yn yr awyr agored, ar le eglur, rhwng cyfodiad a machludiad haul, fel yr oeddynt i wneyd pob peth "*Yn wyneb Haul, a llygad goleuni.*" Y lle a neullduid trwy ffurfio cylch o feini, a chareg fawr yn y canol, gerllaw yr hon y safai y Bardd a lywyddai; a'r cyfryw gylch a elwid "cylch cyngrhair;" a'r meini o'r rhai y'i ffurfid, a elwid "meini cyngrhair," "meini crair," neu "meini gwynion;" a'r gareg ganol a elwid "maen gorsedd," "maen llog," neu "crair gorsedd."

Mae rhai o'r henafiaethwyr enwocaf yn dal bod y Derwyddon yn proffesu crediniaeth o'r athrawiaeth fawr o fodolaeth un Duw Goruchaf, Crëydd a Llywydd y cyfanfyd, yr hwn a lanwai bob lle; o'r hyn y dygant amryw o'u doetheiriau fel prawfion: ac yn mysg ereill y canlynol:—"Nid dim ond Duw, nid Duw ond dim;" yr hyn a gyfieithai yr Athraw W. O. Pughe fel y canlyn:—"*God cannot be matter; and what is not matter must be God.*" Eu hathrawiaeth mewn perthynas i'r enaid oedd ei fod yn rhagfodoli mewn cyflwr o gynnydd graddol, trwy drawsfudiad o'r naill gorph i'r llall, a'i fod yn anfarwol.

Yr oedd ebyrth dyhuddiadol hefyd yn gwneyd i fynu ran o grefydd y Derwyddon, fel y rhan fwyaf o grefyddau y cynoesoedd; ac weithiau offryment aberthau dynol, y rhai gan mwyaf a wnelid i fynu o'r drwgweithredwyr a gymerid yn garcharorion, am eu bod yn barnu bod yn angenrheidiol eu rhoddi i farwolaeth er dyhuddo digofaint dwyfol; ac ereill, debygid, a'u cyflwynent eu hunain yn wirfoddol i gael eu hoffrymu, gan feddwl mai dyna y ffordd rwyddaf, os nid yr unig ffordd, i ymryddhau oddiwrth euogrwydd, a chyrhaedd dedwyddwch.

Ond gan fod y rhan fwyaf o'r hyn a ddywedai Caisar, am greulonderau defodau crefyddol y Derwyddon, yn ffrwyth ei sylwadau ar y cyfryw ddefodau fel y'u harferid yn Nhir Gâl, neu Ffrainc, a'i fod yn wirionedd profadwy, fel y dengys Carnhuanawc ac ereill, fod Derwyddiaeth Tir Gâl wedi ei llygru yn fawr trwy ymgymmysgiad y trigolion â llwyth o Roegiaid, y rhai a ymsefydlasant tua'r Marseilles er's hir amser cyn Iwl Caisar, nid oes genym nemawr o seiliau teg i wneyd ein casgliadau am ddefodau crefyddol yr hen Brydeinwyr oddiwrth yr eiddynt hwy. Er hyny, rhaid addef am Frydain fel gwledydd ereill, yn nhywyllwch paganiaeth, mai trigfan trawsder ydoedd i fesur helaeth: ac ni wnaeth dyfodiad y Rhufeiniaid i'w mysg, tra y cymmerynt arnynt arswydo rhag amryw o'u defodau crefyddol, namyn llygru eu pethau mwyaf canmoladwy, heb ddiwreiddio o'u plith eu harferion mwyaf anwar ac annynol.

Mae y Ddarlith hon eisoes wedi ei chwyddo yn fwy nag y bwriadwn ar

y dechreu, am hyny terfynaf yn ebrwydd, gydag ychydig o gasgliadau byrion yn unig.—

1. Gwelwn mor fuan ac mor drylwyr yr ymlygra dynolryw oddiwrth wir wrthddrych addoliad, yn gystal a'r iawn ffurf o'i gyflwyno iddo, oddieithr bod rhyw fagwyr uwch na thraddodiadau rhyngddynt a chyfeiliorni. Yr oedd yr hen Omeriaid wedi derbyn gwybodaeth draddodiadol am y gwir Dduw, a'r ffordd briodol i'w wasanaethu, eto buan yr aethant hwy fel ereill i chwilio allan lawer o ddychymygion.

2. Oddiwrth y crybwyllion blaenorol, gallwn yn rhesymol gasglu, er pelled yr oeddynt wedi myned ar ŵyr oddiwrth y gwirionedd, mewn pethau crefyddol, nad oeddynt wedi suddo yn îs na'r cenedloedd ereill o'u deutu i anwareidd-dra ac annynoliaeth; ac nad oeddynt mor amddifad o athrylith gynhwynol a dysgeidiaeth gelfyddydol ag y mynai rhai eu darlunio: y mae yr hyn a ddywedwyd eisoes am ddysgyblaeth y gyfundraith dderwyddol yn profi i'r gwrthwyneb; ac fe dystiai Caisar ei hunan y byddai eu dysgyblion dros ugain mlynedd dan addysg, ac addefai y byddai meibion penaduriaid a phendefigion o wledydd y cyfandir yn cael eu hanfon i dderbyn addysg yn yr ynys hon; yr hyn sydd brawf diwad bod clod y Derwyddon, fel athrawon, yn gyhoeddus trwy wledydd Ewrop.

3. Gwelwn fod egwyddorion y grefydd dderwyddol yn gyfryw ag oeddynt yn dra manteisiol i ledaeniad Cristionogaeth yn mysg ein henafiaid, yn gymmaint a'u bod yn rhwym i ymofyn am y gwirionedd; ac wedi ei gael allan, i roddi derbyniad diragfarn iddo; yr hyn sydd un rheswm, efallai, am dderbyniad croesawus Cristionogaeth mor foreu yn yr ynys hon, a'i choleddiad yn mysg teuluoedd mwyaf urddasol y genedl ar y dechreu, fel yr amcenir dangos yn y bedwaredd Ddarlith.

Mae y sylwadau canlynol o eiddo Whittaker, awdwr Hanes Manceinion, mor hynod o gyfaddas i'm pwrpas, fel nas gallaf lai na'u defnyddio yn y fan hon:—"Yn nghanol y crwydriadau hyn o eiddo crefydd gyfeiliornus, cedwid y ddwy brif ordinhad ddwyfol o offeiriad ac aberth, a'r tair cangen bwysig o athrawiaeth—goruwchreolaeth rhagluniaeth, dinystr cyffredinol y byd yn y diwedd, a pharhad yr enaid mewn bodoliaeth ddyfodol—yn dra gofalus gan y Prydeiniaid. A'r tair cangen athrawiaethol uchod oeddynt gyfyngedig i'n cenedl ni yn unig, o'r bron, o'r holl genedloedd paganaidd; ac yr oeddynt yn gymhelliadau cryfion iddynt i ymarweddiad moesol. Ond yn ansawdd lygredig y meddwl dynol nid oedd nerth y cyfryw gymhelliadau ond llesg; ac felly ar yr athrawiaeth o anfarwolder yr enaid, impid y syniad cyfeiliornus o drawsymfudiad; yr offeiriaid a halogid âg ebyrth dynol; a'r bobl oeddynt euog o'r ymgymmysgiad rhywiau a'r llosgach ffieiddiaf."*

4. Ni a welwn ein dyled fawr i gydnabod daioni Duw yn ei waith yn gofalu am ein cenedl mor foreu, gan ddefnyddio yr hyn a gyfrifai ein tadau yn aflwydd blin, sef goresgyniad eu gwlad, a'u gorthrechiad hwythau gan y Rhufeiniaid, yn achlysur i ddwyn newyddion gwerthfawr yr efengyl i seinio yn ein bröydd, a goleuni y gwirionedd i dywynu ar ein hynys; trwy yr hyn y datguddid i'n hynafiaid synedig, a ymbalfalent yn nhywyllwch coelgrefydd, Iachawdwr Hollddigonol; un cymhwys i gyfryngu trwy burdeb ei ewyllys, a galluog i wneyd iawn trwy urddas ei natur—yn ddyn i eiriol dros ddynolryw colledig, a Duw i ddyhuddo y Duwdod a ddigiasid—cyfaill wedi disgyn o orsedd y nef, a Gwaredwr i'n tywys i ddedwyddwch y wlad dda hono.†

* Whittaker's Manchester, book. i., ch. 11., s. 3., p. 395, quarto edition.

† Ibid, p. 398.

# DARLITH III.

## GORESGYNIAD YNYS PRYDAIN GAN Y RHUFEINIAID.

---

Cyn dechreu adrodd hanes goresgyniad Ynys Prydain gan y Rhufeiniaid, efallai na byddai yn anmhriodol i ni geisio cael allan ryw fras olwg ar gyflwr y brodorion ar y pryd hyny.

Y mae amryw o'r haneswyr Seisnig yn cymmeryd yn ganiataol nad oedd nemawr o drafnidiaeth rhwng y Prydeiniaid a chenedloedd ereill, ac nad oeddynt prin yn adnabyddus ar wledydd y Cyfandir cyn dyfodiad Caisar i'r ynys: ond yr ydwyf yn meddwl nad yw yn anhawdd profi mai cyfeiliornus hollawl yw y cyfryw olygiad. Mae yn ddiau bod yr ynys hon yn dra adnabyddus i amryw o genedloedd y Cyfandir yn mhell cyn hyn; yn enwedig y Galiaid a'r Belgwys, y rhai a arferent anfon eu gwyr ieuainc yma, i dderbyn addysg yn athrofäau y Derwyddon, y rhai oeddynt yn glodfawr iawn am eu doethineb a'u dysgeidiaeth. Addefai Caisar ei hunan gymmaint a hynyna; ac y mae gwaith Caswallon yn arwain byddin o driugain mil ac un o arfogion, i gynnorthwyo y Galiaid yn eu rhyfeloedd â'r Rhufeiniaid, yn brawf o fod cydnabyddiaeth a chyfathrach rhwng preswylwyr yr ynysoedd hyn a'r cenhedloedd agosaf iddynt ar y Cyfandir.*

Heblaw hyny, y mae Carte,† Sammes,‡ ac yn enwedig Whittaker,§ ar seiliau da, yn profi bod yr hen genhedloedd masnachol enwog, y Pheniciaid a'r Carthaginiaid, yn masnachu â'r ynys hon, lawer o oesoedd cyn i'r Rhufeiniaid gyrhaedd y rhanau gorllewinol hyn o Ewrop, na gwybod fod y fath le ag Ynys Brydain mewn bod—Fel hyn y dywaid Whittaker ar hyn:—Dechreuad trafnidiaeth y Prydeiniaid a achlysurid drwy gyrchiad y Pheniciaid i'w glenydd. Yr anturiaethwyr eofn hyny mewn mordwyaeth a thrafnidiaeth, a sefydlasant drefedigaethau yn Carthage, a Cadiz, ac ar hyd glenydd cefnfor mawr anhygyrch y Gorllewin, hyd at benrhynau de-orllewinol Prydain. Hynodrwydd arbenig, a phwysigrwydd masnachol y fordaith, a barai glod mawr i'r swyddog a'i harolygai; ac a achlysurai i enw Midacritus‖ gael ei gadw mewn cof anrhydeddus trwy yr oesau dylynol. Efe a ddygai y llestr Phenicaidd gyntaf i'r glenydd hyn, ac a agorai drafnidiaeth gyntaf rhwng y Pheniciaid a'n tadau. Efe a gafodd allan fod y wlad yn cynnwys helaethrwydd o alcan, yn enwedig Penrhyn Cernyw a'i ynysoedd. Yr oedd y Pheniciaid wedi deall yn foreu fod y delid yma yn dra defnyddiol i amryw berwylion; ond yn brin iawn; am hyny efe a bwrcasai ryw gymmaint o hono gan y Prydeiniaid, ac a ddychwelai adref â llwyth gwerthfawr o hono.¶ Yn y canlyniad i ddychweliad Midacritus at ei bobl gyda'i longlwyth gwerthfawr, yn nghyd a'r adroddiad a roddes efe am y delid i'w gydwladwyr, ymroddodd y Pheniciaid i anfon eu llongau yn rheolaidd i ororau Cernyw, neu yn hy-

* Rev. Eliezer Williams's Works, p. 269, 270 † Carte's Gen. Hist of England, vol. i., pp. 38. ‡ Aylett Sammes's Britania Antiqua Illustrata, pp. 40—98. § Whittakers' Hist. of Manchester, b. i., chap. 11.

‖ Pwy a allai y "*Midacritus*" yma fod? Enw Groegaidd ydyw; ond nid all mai Groegwr oedd y cyntaf a ddug alcan oddiyma; am hyny y barnai *Bochartus* mai *Milicartus* y dylasai fod, yr hwn oedd un o enwau adnabyddus *Hercules*. ¶ Pliny, lib. vii., c. 56.

trach, yr ynysoedd gerllaw pen tir Cernyw, y rhai a elwid y Scilly, neu Ynysoedd y *Tin.* Yr oedd hyn cyn amser *Herodotus*, o leiaf bum' can' mlynedd cyn y cyfnod Cristionogol: a chan fod y fasnach yma yn dwyn elw mawr i'r Pheniciaid, hwy a gadwent eu llwybr mor guddiedig ag y gallent rhag y cyffredin; ac ar yr un cyfrif yr oedd yr holl alluoedd masnachol a gyfaneddent ar lenydd Môr y Canoldir, yn ddyfal yn eu hymdrechion i gael allan ffynhonell eu helw. Y Groegiaid o Marseilles oeddynt y cyntaf efallai i ddilyn hynt y mordwywyr Phenicaidd, ac o ddeutu dau gant a haner o flyneddoedd cyn y cyfnod Cristionogol, hwy a ddechreuasant gyfranogi â'r Pheniciaid yn y drafnidiaeth enillgar mewn alcan.* Y nwyddau a dderbyniai y Prydeiniaid yn gyfnewid am eu halcan, oedd llestri pridd, halen, a nwyddau pres.

Tua'r pryd hyn, yr hyn oedd yn mhell cyn i'r Rhufeiniaid ddyfod yma, yr ydys yn cael lle i gasglu fod trafnidiaeth yr ynys yn dra ehang: canys yr oedd dwy brif ffordd wedi eu gwneyd ar draws yr ynys; y naill o Sandwich i Gaerynarfon ar un ochr, yr hon a elwid "Sarn Gwythelin," neu *Wattling Street,* am ei bod yn fanteisiol i'r drefedigaeth Wyddelig, a ymsefydlasai yn y Werddon, i ddwyn eu hanifeiliaid ar hyd-ddi, i gyfarfod masnachwyr y Cyfandir, y rhai a fynychent swydd Caint; a'r llall o swydd Dorset i Suffolk, ar yr ochr arall, yr hon a elwid "Sarn yr Uch-Cyniaid," neu *the Icening Street,* am ei bod yn wasanaethgar i drafnidiaeth rhwng y llwyth a elwid yr Uch-cyniaid âg Ynys Gwyth, lle yr oedd eisteddle marchnadyddiaeth yr holl ynysoedd hyn unwaith.

Erbyn hyn yr oedd y masnachwyr tramor yn cludo o'r ynys hon, nid yn unig yr alcan, ond aur, arian, haiarn, a phlwm; crwyn ac anifeiliaid, ŷd a chaethion;† cŵn, gemau, cregyn, a pherlau: o leiaf, dyna dystiolaeth Whittaker ar y matter, ac y mae yn ei chadarnhau drwy dystiolaethau lluaws o awduron Groegaidd, Lladinaidd, a Seisnig.‡ Dywaid *Strabo* am danynt, gan ddarlunio y rhai a breswylient ranau gorllewinol yr ynys yn neillduol, eu bod yn ddynion corphol, eu gwallt yn ddu ac yn grychlyd, eu lliw yn lled dywyll, ac yn arfer gwisgo math o wisg rydd, laes, hyd haner eu coesau; a chan bob un ffon fawr yn ei law, yn nghanol yr hon y cydiai wrth gerdded; ond er fod yr olwg arnynt yn lled gethin fel hyn, efe a ddywaid eu bod o dueddfryd addfwyn a charedig, ac yn hynod o deg a gonest yn eu hymddygiadau. A *Diodorus Siculus* a ddywaid am danynt nad oeddynt yn ddichellgar a thwyllodrus, fel rhai cenedloedd eraill; ond yn bobl ddysyml, cywir a theg eu trafodaeth.

Tua chan' mlynedd cyn y cyfnod Cristionogol, y genid un *Julius Caius Cæsar,* a elwir yn yr hen ysgrifau Cymreig yn gyffredin "Iwl Caisar;" yr hwn oedd yn hanu o hen deulu anrhydeddus yn Rhufain; ac yn ei ieuenctyd efe a gafodd bob manteision dysgeidiaeth a ellid yn yr oes hono, er ei gymhwyso i lenwi y swyddau uchelaf yn y wladwriaeth. Yr oedd efe yn un o'r tywysogion milwraidd enwocaf; ond ei falchder a'i uchelfrydigrwydd oedd yn ddiarhebol, yr hyn o'r diwedd a barodd i Brutus, a chydfradwyr eraill, ei ladd yn y Senedd, yn yr unfed flwydd ar bymtheg a deugain o'i oedran.

Tra yr oedd efe yn llywodraethu fel rhaglaw ar y taleithiau Rhufeinig a

* Carte's Gen. Hist. of England, vol i., p. 38.

† Parheid i ddwyn caethion o'r ynys hon fel nwyddau masnachol, nid yn unig tra fu Paganiaeth yn arglwyddiaethu yma, ond wedi dygiad Cristionogaeth i fysg y brodorion.

‡ Whittaker's Hist. of Manchester, book i, ch. 11.

ffurfiasid oddeutu yr Alpau, ac yn ymdrechgar i ddarostwng y gweddill o'r llwythau Almaenaidd a Galaidd o dan iau Rhufain, efe a ddaeth i wybodaeth am Ynys Prydain, a chan fod yn awyddus i ychwanegu at ei enwogrwydd fel cadlywydd anturiaethus, efe a ddisgwyliai yn ddyfal am ryw esgus teg dros arwain ei lengau drosodd i oresgyn yr ynys hon; yr hyn a gafodd efe yn fuan trwy waith y Cymry yn anfon cynnorthwyon drosodd i'w caredigion yn Llydaw, i'w wrthladd, o'r hyn y gwnaed crybwyll-iad yn y Ddarlith gyntaf, t.d. 8.

Dechreuai Caisar wneyd pob ymholion ar a allai â'r masnachwyr a arferent drafnidio rhwng gwledydd y Cyfandir a phorthladdoedd Prydain, yn nghylch sefyllfa yr ynys a'i thrigolion, &c.: ond nid ymddengys ddarfod i'r rhai hyny gymmeryd arnynt wrtho eu bod yn gwybod nemawr am y wlad na'r trigolion, eu defodau na'u hanianawd; felly efe a anfonodd long i chwilio ar hyd gororau Prydain am y man hwylusaf i dirio; ac ar yr un pryd a barotodd yn mhorthladdoedd Gâl, lynges gref er cludo ei lengau milwraidd drosodd. Yn y cyfamser, masnachwyr y Cyfandir a anfonent hysbysiad o'i fwriadau i'r Prydeiniaid, y rhai gan arswydo y galanastra a wnelai rhyfel yn eu gwlad, a anfonasant genhadau ato, i ddeisyf amodau heddwch ganddo, a dadgan eu parodrwydd i ymostwng yn dangnefeddus i lywodraeth Rhufain. Efe a roddes dderbyniad tra hynaws i'r cenhadon hyn, ac wedi rhoddi iddynt addewidion teg, a'u cynghori i barhau yn yr un meddwl, efe a'u gollyngodd adref, a chyda hwynt un o'r enw *Comius*, gŵr adnabyddus yn Mrydain, medd rhai, i'r hwn y gorchymynasai Caisar, ar ymweled o hono â chynnifer o'r taleithiau ag a allai, gan eu hanog i ymgynghreirio â'r Rhufeiniaid, a bod yn barod i roesawu Caisar, yr hwn a diriai yn eu gwlad ar fyrder, a'i gynnorthwyo i ddarostwng yr holl ynys dano ef.*

Nid oedd y newyddion hyn mewn un modd yn foddhaol gan y Cymry, y rhai a obeithient eu bod wedi gwneyd digon er atal y maeslywydd Rhufeinig i feddwl am lanio ar eu tir; a dywed rhai ddarfod iddynt gadwyno Comius, a'i gadw yn garcharor, er dangos, efallai, nad oeddynt hwy yn arswydo rhag y Rhufeiniaid, yn gymmaint ag y gallasai Caisar gasglu oddiwrth eu cenadwriaeth atto.

Ond Volusenus, y swyddog a anfonasai Caisar mewn llong i wneyd arsylwadau ar lenydd Prydain, a ddychwelodd yn ol yn mhen ychydig ddyddiau, ac a roddes yr adroddiad goreu a allai i Caisar, yr hwn a brysurai i hwylio drosodd cyn i'r gauaf ei oddiweddyd: ac felly efe a hwyliodd mewn pedwar ugain o longau o borthladd ar oror tir Gâl, a elwid *Wissan*, rhwng *Calais* a *Boulogne*, wyth milldir o Calais, yr hon a alwai y Rhufeiniaid yn *Portus Itius*, gan adael gorchymyn i ddeunaw o longau ereill oedd ganddo yn mhorthladd Calais, i droi allan gyda'i feirchfilwyr, fel y gallai y ddwy ran o'i lynges gyfarfod, ac felly gydlanio ar yr ynys y bwriedid ei oresgyn. Y cyfan o'i fyddin ar yr anturiaeth hon a gyfrifir tua deuddeng mil o wŷr cynnefin â rhyfel, a medrus ar drin arfau.† Ereill a farnant fod dwy leng yn cynnwys o Rufeiniaid a'u cynghreirwyr bum' mil ar hugain o wŷr traed, a phedair mil o phum' cant o wŷr meirch.‡

Ar ol gwneyd pob peth yn barod, hwyliai Caisar a'i lynges, fel y crybwyllwyd, o borthladd Wissan, tuag un o'r gloch yn y boreu, ar y 26ain o Awst, c.c. 55 mlynedd, ac a gyrhaeddodd oror Prydain, yn agos i'r lle a elwir *Dover*, tua deg o'r gloch y boreu, heb ddysgwyl yn amgenach, mae

* Owen's Hist. of the Ancient Britons, b. ii., pp. 2, 3.

† Hanes Cymru, t d. 57.

‡ Aylett Sammes's Britania Antiqua Illustrata, p. 157.

yn debyg, nag y gallasai ddywedyd yn briodol am Frydain fel y dywedasai am wledydd ereill—"Deuais, gwelais, gorchfygais;" ond yr oedd yr ynys hon y pryd hyny, fel y dywedai Napoleon am dani yn ddiweddarach, yn cynnwys "*caletach cawn*" nag a dybiasai y Rhufeiniaid; felly, erbyn eu dyfod yn agos i'r lan, hwy a welent y llechweddau yn orchuddiedig gan fyddinoedd o arfogion, penderfynol i roddi derbyniad mwy twym i lengau y goresgynwr nag a fynasai efe. Felly, efe a angorodd ei lestri encyd oddiwrth y lan, hyd dri o'r gloch brydnawn, fel y gallai y llestri a gludent ei feirchfilwyr ddyfod i fynu; ac yna efe a hwyliodd tuag wyth milldir oddiyno, i fan lle yr oedd y traeth yn wastad a'r lan yn agored, gerllaw i'r man a elwir yn bresenol *Deal*, yn swydd Caint; lle ni byddai cystal mantais i'r ynyswyr wrthsefyll glaniad ei filwyr: ac yno y bu yr hen Frython yn tynu y dorch gyntaf âg arglwyddi y byd; ac yn ol addefiad Caisar ei hunan, un o'r brwydrau caletaf a brofodd y dewrion Rhufeinaidd erioed a fu hono; canys yr ynyswyr, wrth weled cyfeiriad ei lynges, a anfonasant eu meirch a'u cerbydau, neu *car rhodau*, fel y'u galwent, o'r blaen, a'r troedwyr a'u canlynent, a chyda dewrder dihafal gyrent i'r môr, ac ymosodent arnynt yn eu llongau, gan eu lladd yn ddiarbed can gynted ag y cynnygient ddisgyn o honynt i lanio.

O'r diwedd, Caisar yn gweled bod y Rhufeiniaid ar fin rhoddi ffordd i'r gelynion dewrion a ymosodent arnynt mor bybyr, a archodd ryddhau ei rwyflongau ysgeifn a hirion oddiwrth y llestri trymion, a chan gyfleu peiriannau tafl a saethyddion ynddynt, a'u gweithio â nerth mawr gan luaws o rwyfwyr ar draws y milwyr Brythonaidd, fe'u taflwyd i radd o ddyryswch, ac yn y cyfnod hwnw, llumanwr y ddegfed leng, wedi galw yn gyntaf ar ei dduwiau am lwyddiant ar ei anturiaeth, a lefai â llef uchel—"Gydfilwyr, gadewch eich lluman os mynwch, a bradychwch ef i'r gelyn; o'm rhan i, myfi a gwblhaf fy nyledswydd i'r wladwriaeth ac i'm maeslywydd;" ac ar hyny efe a neidiodd i'r môr, a'r eryr yn ei law, gan wynebu y gelynion; yna y milwyr yn unfryd, pan welsant hyn, a ddilynasant eu blaenor gwrol; ac wedi i'r corph yma gychwyn, minteioedd o'r llestri ereill a ddilynasant eu hesiampl, gan ruthro ar y gelyn. Ar hyn dechreuai ymladd llymdaer o bobtu dros hir amser; ond y fyddin Rufeinaidd a laniodd o'r diwedd, eto nid heb gael ei cholledu yn ddirfawr: a'r Prydeiniaid a enciliasant yn rheolaidd, nid fel rhai wedi eu gorchfygu, i gael galw cynghor yn nghyd, er ystyried pa beth a fyddai yn oreu iddynt ei wneyd rhagllaw.

Nid yw yn annhebyg bod gradd o ymraniadau yn mysg y Prydeiniaid, a bod plaid o rai ffafriol i'r Rhufeiniaid ar gynnydd yn eu mysg; yr hyn, efallai, a barai iddynt benderfynu i anfon cenhadon at Caisar i'r gwersyll, i ddeisyf amodau heddwch, gan addaw rhoddi y gwystlon a ofynai iddo; a chyda'r cenhadon hyn yr anfonent *Comius* o *Arras*, yr hwn, fel y crybwyllwyd, a anfonasai Caisar o'i flaen i Frydain, ond a garcharesid gan y trigolion fel yspïwr: a'r hwn yn awr, er mwyn enill ewyllys da Caisar, y maent yn ei ddychwelyd yn ei ol, gan ddywedyd eu bod hwy wedi ei garcharu ef mewn ufudd-dod i lais y lluaws, ac atolygu, os gwnaethant yn annoeth yn hyny, ar fod yn wiw ganddo faddeu eu cyfeiliornad. Yntau oedd yn llawer mwy ewyllysgar i'w hesgusodi a maddeu iddynt, nag anturio i frwydro â hwy eilwaith dan ei anfanteision presenol; am hyny, wedi beio arnynt am roddi yr achlysur cyntaf o ryfel trwy garcharu ei genhadwr, a hwythau cyn hyny wedi anfon cenhadon heddwch ato i'r Cyfandir, efe a addawai ymheddychu â hwy, ond dodi o honynt wystlon priodol iddo. Deuai rhai o'r gwystlon a ofynai efe i'r gwersyll yn ddioed, tra yr anfonid yn mhellach i'r wlad am y lleill, y rhai yr addewid eu cael

yn barod yn mhen ychydig ddyddiau: ac fel hyn ystyrid yr heddwch wedi ei benderfynu, a'r tywysogion Prydeinaidd a ollyngent eu milwyr i ddychwelyd bawb i'w man, ac a ddychwelent eu hunain, amryw o honynt, i wneyd eu hymostyngiad yn bersonol i Caisar, yn ei wersyll; yr hwn tebygir, ydoedd tua'r lle a elwir *Barham Down.* Ond tra yr oedd pethau yn y sefyllfa yma, cyfododd ystorm fawr, yr hon a barodd lawer o niwaid i'r llongau Rhufeinig, gan ddryllio amryw o honynt, yn enwedig o'r deunaw hyny a gludent y gwŷr meirch drwodd, y rhai ni laniasent eto, er eu bod yn ngolwg y gwersyll er ys meityn; ond rhai o honynt a gurwyd yn ol i'r Cyfandir, a'r lleill a wnaed yn ddrylliau ar lenydd creigiog yr ynys. Pan welodd y Prydeiniaid gyfyngder Caisar, a bod y Goruchaf ei hun megys yn ymladd yn ei erbyn, yna y rhai o honynt a ddaethant i'r gwersyll Rhufeinaidd fel gwystlon, neu o ran chwilfrydedd, a ddechreuent encilio oddiyno yn lladradaidd bob yn un ac un, gan gymmeryd eu gwragedd a'u plant, a'u hanifeiliaid, yn uwch i'r berfeddwlad, ac anog y naill y llall i wneyd un ymdrech eto at enill rhyddid eu gwlad, gan fod yn ddiamheuol os gallent atal dychweliad y Rhufeiniaid, a'u distrywio, na feiddiai neb drachefn gynnyg goresgyn eu gwlad.

Caisar yntau, wrth weled fod y gwystlon wedi encilio yn lladradaidd o'r gwersyll, a welai fod drwg yn cael ei ddarpar iddo, felly efe a brysurodd i gynnull yn nghyd gymmaint a allai o arlwy o ŷd, ac adgyweirio ei lynges oreu y gallai, fel y gallai gludo ei fyddin yn ol i'r Cyfandir. Tra yr oeddid ar y gwaith yma, a nifer o filwyr y seithfed leng wedi myned i gynniwair ar hyd y wlad am ŷd, mynegwyd i Caisar fod ychwaneg o lwch nag arferol yn cyfodi o'r cyfeiryd tuag at yr hwn yr aethai y lleng: am hyny, Caisar a gymmerth ddosparth o filwyr, ac a gyflymodd tua'r lle, ac yno efe a welai y Rhufeiniaid mewn cyfyngder mawr gan ymosodiad eu gelynion, wedi eu crynhoi yn nghyd yn dorf, ac arfau yn cael eu hergydio atynt o bob tu. "Oblegyd," medd Caisar, "gan fod y cwbl o'r ŷd wedi ei fedi yn y manau ereill, ac un rhan yn unig wedi ei adael, y gelynion yn rhagdybied y byddai i'n gwŷr ni ddyfod yno, a ymguddiasant yn y coed. Yna, pan oeddynt wedi eu gwasgaru oddiwrth eu gilydd, ac wedi dodi eu harfau i lawr, ac wrth eu gorchwyl o fedi, yn ddisymwth y cyfododd y gelynion, ac a laddasant rai, ac a derfysgasant y lleill, gan eu hamgylchynu ar unwaith â gwŷr meirch ac â cherbydau." Yna y mae efe yn myned rhagddo i ddarlunio dull y Brythoniaid o ymladd ar yr achlysur yma a'r cyffelyb:—"Dyma eu dull o ymladd o'u cerbydau: yn gyntaf, gyrant ar hyd pob tu, ac ergydiant eu harfau, a thrwy ddychryn o'r meirch â chrochdrwst yr olwynion yn unig, ydynt yn fynych yn llwyddo i derfysgu y cadresau. Ar ol ymwthio i blith tyrfaoedd y marchwyr, neidiant allan o'r cerbydau, ac ymladdant ar eu traed; gyrwyr y cerbydau yn y cyfamser a giliant ychydig o'r frwydr, ac a ymsefydlant eu hunain yn y fath fodd ag y gall eu cyfeillion, os y'u trechir gan eu gelynion, gael eu derbyn yn ol yn ddioed. Felly, meddiannant mewn brwydr, fudiadrwydd marchogion yn nghyda safedigrwydd gwŷr traed; a thrwy gynnefindra a thrafodiaeth feunyddiol, y maent mor fedrus ag yr arferant, mewn lle goleddol a serth, atal y meirch gyredig, eu rheoli, a'u troi mewn byr amser; hefyd, rhedeg ar hyd y trostan, a sefyll ar yr iau, ac oddiyno ddychwelyd i'r cerbyd gyda'r cyflymder mwyaf."

Ar ymddangosiad Caisar a'i wŷr yn gynnorthwy i'r seithfed leng, y Prydeiniaid a enciliasant, gan gyfrif eu bod wedi gwneyd digon am y dydd hwnw; a Caisar yntau a farnai mai doethach oedd iddo ef ddychwelyd i'r gwersyll, tra yr oedd ei wŷr mor frawychus, na chynnyg ymddial ar y gelyn, ac felly y gwnaeth.

Ar ol hyn bu amryw o ddyddiau tra thymhestlog, yr hyn a barai i'r Rhufeiniaid ymgadw o fewn eu hamddiffynfeydd, ac yn y cyfamser ni chynnygiodd y Prydeiniaid ymosod arnynt; ond defnyddient yr adeg i anfon cenhadon i bob cwr o'r ynys, gyda'r hysbysiad o'r fath leihad a wnelsid ar fyddin y gelyn, a'r seiliau da oedd iddynt ddysgwyl am yspail werthfawr, ac am allu llwyr waredu eu gwlad dros byth oddiwrth y cyfryw oresgynwyr blin, os byddai iddynt guro y Rhufeiniaid o'u gwersyll, a'u llwyr ddistrywio, gan wneyd siampl ofnadwy o honynt i holl genedloedd y byd; yn y canlyniad, ymgynnullodd nifer mawr o wŷr traed a gwŷr meirch yn nghyd, i ymosod ar y gwersyll Rhufeinaidd; a'r Rhufeiniaid gan eu hymgyfarfod mewn brwydr, a'u gorthrechasant, ac wedi eu hymlid mor belled ag y gallent, a lladd amryw, a thanio eu tai, a ddychwelasant i'r gwersyll. Gwedi y dygwyddiad hwn, y Brytaniaid a anfonasant genhadau eto at Caisar; ac yntau, gan farnu na buasai yn ddoeth iddo aros yn yr ynys hyd y gauaf, a archodd iddynt roddi gwystlon iddo, ac yn yr ychydig longau a adawsid iddo gan y tymhestloedd, efe a ddychwelodd i'r Cyfandir, tua'r 20fed o Fedi, wedi bod yn yr ynys tua thair wythnos eithr heb fyned nemawr oddiwrth lan y môr.

Dywaid yr haneswyr Prydeinaidd mai Caswallawn ydoedd yn teyrnasu yn yr ynys hon, fel rhaglaw dros ei neiaint Afarwy, Tenefan, a Chasnach Wledig, meibion ei frawd Lludd: ac yn y nawfed flwyddyn o'i deyrnasiad ef y dywedir ddarfod i Iwl Caisar wneyd yr ymgais cyntaf i oresgyn ynys Prydain. Dywedir ddarfod i Caswallon ladd ei frawd Lludd, yn ei drachwant i arbenigter yr ynys, a rhoddi i'w feibion fân dywysogaethau, tra y gweithredai efe ei hunan fel penteyrn; a'i draha parhaus tuag at Afarwy, etifedd cyfiawn y goron, a barodd i hwnw o'r diwedd ffoi at Caisar i'r Cyfandir am nodded, ac am ymddial ar y gormesdeyrn; am yr hyn y crybwyllir yn yr adroddiad o ail gadgyrchiad Caisar. Er hyny rhaid i mi addef fod Caswallon wedi amddiffyn ei deyrnas gyda gwroldeb canmoladwy yn erbyn yr estroniaid; ac oni buasai bod ei ymddygiadau blaenorol wedi peri cryn ymraniadau yn yr ynys, ac achlysuro i blaid ymffurfio o olygiadau cyffelyb i Afarwy, y rhai a fuasent yn chwennych yn hytrach fod dan nawdd y Rhufeiniaid, buasai gorthrechu Caswallawn yn ormod gorchest i Caisar.

Pan gyflwynai *Comius* o *Arras* gennadwri Caisar i Caswallawn, yn yr hon y gofynai am warogaeth ac ymddarostyngiad i'r amherodraeth Rufeinig, yn nghyda rhyw gymmaint o doyrnged, Caswallawn a atebai fel y canlyn:—"Y mae uchelgais y Rhufeiniaid yn anniwalladwy, gan nas goddefant i Frydain (yr hon sydd fath o *fyd newydd*, wedi ei chyfleu gan natur yn y cefnfor, a thu hwnt i ffiniau eu hamerodraeth) i orwedd yn llonydd. Y mae teyrnged yn nod o wasïaeth; ond y mae uchel fonedd y Prydeiniaid, a'u cyfathrach mewn gwaed â'r Rhufeiniaid, yn peri ffieiddio ymddarostyngiad iddynt. Os derbyniwch ein *cyfeillgarwch*, yr ydym yn barod i'w roddi; ond os y mynech ein hamddifadu o'n rhyddid, gwybyddwch hyn, ped ymdrechai y duwiau eu hunain wneuthur hyny, nis gallem lai na'u gwrthsefyll."

Ond *Comius* ni fynai yr ateb yma i'w ddwyn at Caisar, ac am ei drahausder efe a gymmerwyd yn garcharor trwy orchymyn Caswallawn; yr hwn a ymbarotodd i wrthsefyll Caisar yn wrol, yr hyn a wnaeth hefyd, fel y clywsoch eisoes; canys er fod yr haneswyr Prydeinaidd yn gwahaniaethu ychydig yn eu hadroddiad am yr ymgyrch oddiwrth yr haneswyr Rhufeinaidd, y mae y naill a'r lleill yn addef mai colledwr, yn hytrach nag ennillwr, a fu Caisar yn mhob ystyr ar ei gadgyrchiad cyntaf hwn.

Ond ni chydweddai â balchder y Rhufeiniaid, gymmeryd eu baeddu

gan drigolion rhyw ynysig fel hyn, y rhai a gyfrifid ganddynt hwy yn farbariaid; a'r rhai yn wir nid oeddynt ond anhyddysg yn y celfion milwraidd mewn cydmariaeth i'r Rhufeiniaid; gan hyny Caisar a barodd wneyd parotoadau dirfawr yn ystod y gauaf, at wneyd ail gais i oresgyn Prydain yn yr haf dyfodol. Felly yn y mis Mai C.C. 54, efe a hwyliodd drachefn tua Phrydain, gyda phum' lleng o wŷr traed, a dwy fil o wŷr meirch, heblaw lluaws mawr o gynghreirwyr, mewn o wyth cant i fil o longau: ac efe a laniodd ei lynges fawr tua'r un fan ag o'r blaen, sef yn *Deal;* a'r Cymry y tro hwn, wedi eu brawychu yn yr olwg ar y fath lynges gref, yn gorchuddio wyneb y môr, a enciliasant i'r berfeddwlad, heb farnu yn ddoeth cynnyg gwrthsefyll eu glaniad.

Bernir bod nifer byddin Caisar y tro yma, rhwng milwyr Rhufeinig a milwyr cynghreiriol, yn ddeugain mil o wŷr traed, a phedair mil a haner o farchogion; ac wedi glanio, efe a sefydlodd ei wersyll yn agos i'r lle a elwir Richborough; a chan adael y llynges dan ofal Atrius, yr hwn a gyfodai y lluman coch, ac a gyfleai bedair mil o wŷr traed, a thri chant o wŷr meirch, i amddiffyn y llynges a'r gwersyll, Caisar a arweiniodd ei fyddin i fynu i'r wlad, i chwilio am y gelyn, ac wedi teithio tua deuddeng milldir, daeth o hyd i'w gwersyll mewn coedwig, lle yr oedd ganddynt amddiffynfa gref, ar lan yr afon Stour fel y tybir, yn swydd Caint; ac yno y bu brwydr galed rhwng y lluoedd; ond wedi hir ymladd, milwyr y seithfed leng wedi ymffurfio megis un corph, a'u tarianau fel to yn eu gorchuddio, a ennillasant yr afon heb golli nemawr o waed, ac yna llwyddodd y Rhufeiniaid i ddystrywio Coedgaer y Cymry, fel y bu raid i'r hen frodorion dewrion encilio o flaen undeb, dysgyblaeth, ac arfogaeth ragorach y Rhufeiniaid. Ond ni feiddiai Caisar eu herlyn, gan ei fod hyd yma yn ddyeithr i'r wlad, a bod ei wŷr yn flinedig, a lled ddigalon wedi yr ymdrech galed y daethent drwyddi eisoes; am hyny efe a farnodd yn ddoethach iddo dreulio gweddill y diwrnod i amddiffyn gwersyll arall i'w fyddin, ac i roddi gorphwysdra ac ymgeledd i'w filwyr lluddedig. Ychydig a feddyliodd Caisar, nad oedd holl rym byddin y Cymry yn ymladd âg ef y diwrnod hwnw; ond erbyn tranoeth gwelid nad oedd y gwrthsafiad a wnelid iddo yno yn ddim amgen na dichell o'u heiddo, i gadw ei sylw yn ddigon llwyr, tra fyddai mintai ddetholedig o honynt yn ymosod ar y llynges a'r gwersyll dan warchodaeth Atrius. Boreu dranoeth, pan oedd Caisar yn dechreu cychwyn ei lengau i ymlid ar ol y brodorion, dygid y newydd iddo oddiwrth Atrius o ddystrywiad y llynges, yr hyn a briodola yr haneswyr Rhufeinig i'r tymhestloedd: ond pan gafodd Caisar y newydd crybwylledig, efe a archodd i'w holl filwyr ddychwelyd at y llongau ar frys; yr hyn ni buasai yn angenrheidiol, pe na buasai ond eisiau gwneyd a ellid i achub gweddill y llynges, rhag ei dystrywio gan y dymhestl, gan fod Atrius yn meddu tua phedair mil a haner o wŷr dan ei ofal i'r perwyl hyny, a'r rhai hyny yn cynnwys yn eu mysg yr holl rai cyfarwydd ar drin llongau, &c.

Dywedir fod deugain o'i longau wedi eu llwyr ddinystrio ar yr achlysur yma, ac ereill wedi eu niweidio yn ddirfawr; ond yn y cyfryw gyflwr ag y gellid eu hadgywefrio; at y gorchwyl hwn gan hyny y trodd Caisar yr holl ddwylaw galluog ar saernïaeth, ac anfonodd genadwri i'r Cyfandir at ei raglaw Labienus, i erchi iddo yntau ymroi i adeiladu cynnifer o longau ar a allai, gyda phob brys, a'u hanfon drosodd at ei wasanaeth ef. Ac er anhawsed oedd y gorchwyl, rhoddodd ei lengau ar waith i lusgo yr holl longau a adawsid iddo, a'u cyfleu o fewn y ffosydd, yn y gwersyll. Felly treuliodd ddeg neu ddeuddeg diwrnod yn y gorchwylion hyn, gan gadw ei filwyr ar waith ddydd a nos yn ddidor, hyd oni chafodd ei holl lynges i ddiogelwch,

a'i wersyll wedi ei gadarnhau yn y modd diogelaf.* Yna, wedi gadael yr unrhyw warchawdlu yno ag a adawsai o'r blaen, efe a ddychwelodd gyda'i fyddin i erlyn y Prydeiniaid; ac yn agos i'r fan lle y'u cyfarfuasai o'r blaen, efe a'u cafodd eilwaith, wedi ail ymgynnull yn llawer lluosocach na chynt. Yr oedd y Prydeiniaid, mewn cynghorfa gyffredinol o daleithiau y parth deheuol o'r ynys, wedi ethol *Caswallon*, neu, fel y'i gelwir gan rai haneswyr, *Cassfelyn* (am ei fod yn gwisgo helm o brês, meddir) yn benlluyddwr i'w byddinoedd. Yr oedd ei diriogaethau ef yn cael eu ffinio ar y dehau gan yr afon Tafwys, yr hon a'u gwahanai oddiwrth daleithiau Caint a Surrey: yr oedd y gŵr hwn yn rhyfelwr dewr a medrus, fel y cafodd Caisar a'i wŷr brofi lawer gwaith. Tra yr oedd y fyddin Rufeinaidd yn myned i fynu i'r wlad gyda glenydd y Tafwys, Caswallon a ruthrai yn awr ac eilwaith, â'i farchogion ac â'i gerbydau, ar eu marchogion, gan wneyd cymmaint o anrhaith arnynt ag a allai trwy y cyfryw ruthr; yna enciliai yn ol i'w lochesau yn y coedwigoedd a'r bryniau, ac yna pan fyddai y Rhufeiniaid yn eu herlyniad o honynt wedi tori eu rhengau rheolaidd, dychwelent yn ddisymwth arnynt weithiau, gan ladd amryw o honynt, a chymmeryd nifer fawr o garcharorion; a thros yspaid cedwid y Rhufeiniaid mewn braw mor ddiball gan gynllwynion Caswallon iddynt: ond o'r diwedd, cawsant beth seibiant, a chan gasglu fod y brodorion wedi rhoi i fynu eu gwylio a'u blino, dechreuasant ffurfio eu gwersyll; ond pan oeddynt ar ganol y gwaith, ac yn eu tybied eu hunain yn fwyaf diogel, disgynai y Prydeiniaid fel llifeiriant dinystriol ar eu traws, gan wneyd anrhaith fawr arnynt, a llenwi calonau y glewaf o'r hen filwyr Rhufeinaidd â braw a synedigaeth, gan eofndra a sydynrwydd eu rhuthriadau; ac yn y rhuthr hwnw lladdwyd *Quintius Laberius Durus*, yr hwn oedd swyddog milwraidd urddasol.

Gyda golwg ar hyn, y mae Caisar yn gwneyd y cydnabyddiaeth a ganlyn:—"Yn y cyfan o'r dull hwn o ymladd," medd Caisar, "yr hyn a ddygwyddodd o flaen ein llygaid, a cherbron y gwersyll, deallwyd am ein gwŷr ni, eu bod o herwydd pwysau eu harfau, canys ni allent ganlyn y rhai a gilient, ac ni feiddient ymadael â'u banieri, yn annghymwys i gyfarfod â'r cyfryw elynion. A'r gwŷr meirch a ymladdent gyda mawr berygl, o herwydd y Brytaniaid, trwy gyduniad, a gilient yn eu hol, a phan y canlynai rai o'n gwŷr ni hwy ychydig oddiwrth y fyddin, neidient allan o'u cerbydau, ac ymdrechent â hwy ar eu traed, mewn ymladdfa annghyfartal. Felly, o achos y dull hyn o ymladd, yr un berygl a ddygwyddai i'r marchwyr, pa un ai canlyn ai cilio a wnaent; ac heblaw hyn oll, ni ymladdent fyth mewn byddin grynoedig, eithr yn wasgaredig, ac agoriadau llydain rhyngddynt; yr oedd ganddynt hefyd finteioedd gwedi eu dulliaw yn y fath fodd ag y gallent gynnorthwyo eu gilydd yn rheolaidd, a'r gwŷr newyddion gymmeryd lle y rhai blin a lluddedig."†

Mae y defnydd doeth a wnelai Caswallon o'r manteision hyn, yn brawf diddadl o'i fod ef yn rhyfelwr profiadol a medrus; a thros yspaid o amser, nid oedd Caisar nemawr amgen na charcharor yn nghanol ei lengoedd, a gyfrifid ar y cyfandir yn anorchfygol; canys y cadlywydd Prydeinaidd nis goddefai iddo encilio yn ol i'w wersyll, yn *Rutupæ*, neu Richborough, na myned rhagddo at ei gyfaill Mandebrog, penaeth y llwyth estronol a gyfaneddent Lundain a'i hamgylchoedd, a'r rhai oeddynt mewn cynghrair â'r Rhufeiniaid. Gyda'r gwyliadwriaeth manylaf, trwy anhawsderau

* History of Wales, by John Jones, LL.D., p. 7. Hist. of Ancient Britons, by the Rev. J. Owen, vol. i., pp. 8, 9. Aylett Sammes, p. 196.

† Hanes Cymru, gan y Parch. T. Price, t.d. 61.

dirfawr, a bron trwy ryw led oddefiad achlysurol gan Caswallon, yr esgynodd y fyddin Rufeinaidd ar hyd y Tafwys cyfuwch a'r ddwy Gored, a elwid gan yr ymsefydlwyr Sacsonidd *Tweywicken*, ac a elwir gan y Saeson presenol, *Twickenham;* ac o'r tu isaf i'r coredau, neu yr argaeau yma, ceisiai y Rhufeiniaid groesi yr afon ar drai; ond trwy hynny fe'u colledwyd yn ddirfawr; canys ar ddychweliad y llanw, dechreuai Caswallon flino yr ol-fyddin, yr hon oedd eto heb fyned trwodd; ac felly bu raid iddynt drwy berygl dirfawr, ymdrechu i groesi ar hyd polion yr argae, yr hyn a roddes achlysur i Caisar i ddyfeisio y chwedl fod y Prydeiniaid yn eu henciliad wedi gyru polion i'r Tafwys i rwystro ei fynediad trwodd; a gallasai y cyfryw adroddiad gael ei dderbyn yn rhwydd yn Rhufain, gan nad oedd gan y Rhufeiniaid y fath beth a choredydd, nac enw cyfatebol yn yr iaith Lladin.*

Wedi llafur mawr, a chyfyngderau di eilfydd, cafodd Caisar arlyw i'w fyddin newynog oddiwrth Mandebrog, a'r trefedigion estronaidd a gyfaneddent Lundain a'i chyffiniau, y rhai a ymgystlynent â'r Rhufeiniaid yn erbyn cynfrodorion yr ynys. Ond er y cymhorth prydlawn yma, teimlai yn rhy analluog, neu ei filwyr yn rhy lesg a gwangalon i ymgymeryd âg unrhyw orchwyl o bwys, ac am hyny yn yspaid ei arosiad o ddau neu dri mis yn Llundain, y gorchwyl penaf a wnaeth ydoedd cymmeryd Verulam, neu Gwernlan, neu fel y mae yn fwyaf tebyg, Wallingford, neu Caerleua, math o amddiffynfa gynnwysedig o wrthglawdd a ffos, wedi eu gwneyd o amgylch llwyn o goed, a elwid gan y Prydeiniaid Llan, a chan y Rhufeiniaid *Appidum.* Dywaid rhai haneswyr mai prif ddinas Caswallon ydoedd hon; ereill a farnant nad ydoedd yn ddim amgen nag amddiffynfa led gref, yn yr hon y cadwai ei arlwy rhyfel. A llwyddodd i gymmeryd hon trwy frad y Tranofanwys ac ychydig lwythau ereill, y rhai a ymgynghreiriasent â'r gelynion; a chan belled ag y gallaf gasglu oddiwrth yr haneswyr mwyaf credadwy, yr oedd y llwythi bradwrus hyn yn cael eu gwneyd i fynu, nid o "Gymry o waed coch cyfan," ond o ryw ddyfodiaid diweddarach i'r ynys, y rhai o'r herwydd, efallai, nid oeddynt mewn cydfod da o'r blaen â'r cynfrodorion; am y cyfryw y dywedir yn y Trioedd:—

"Tair Ciwdawd Ormes a ddaethynt i Ynys Prydain, ac nid aethant fyth o honi. Cyntaf oedd y Coraniaid, a ddaethant o wlad y Pwyl. Ac ymgystlynu a wnaethant â'r Caisariaid, onid aethant yn un." A thrachefn y dywedir am eu hymddygiad bradwrus mewn oes ddiweddarach:—"A myned yn un a wnaeth y Coraniaid â'r Saeson." Oni buasai y brad yma, y mae yn dra thebyg y buasai Caswallon o dipyn i beth wedi gwasgu cymmaint ar Caisar a'i lengoedd, fel y buasai yn rhaid iddynt roddi eu harfau i lawr, a'u rhoddi eu hunain yn garcharorion rhyfel i'r Brython dewrwych Caswallon; ond y bradwriaeth yma yn nghanol y wlad, a wanhai freichiau Caswallon, ac a gryfhai yr eiddo Caisar yn fawr.

Pan welodd Caswallon y pethau hyn, efe a anfonodd genhadau at benaethiaid Caint, sef *Cingetorix*, *Carnilius*, *Toximagulus*, a *Sergonax*, i ddeisyf arnynt gynnull eu gwŷr yn nghyd i ymosod ar y gwersyll arforol; ond os gwir a ddywaid Caisar ei hunan, bu yr ymosodiad hwnw yn hollol aflwyddiannus, a chymmerwyd un o'r penaethiaid Cymreig, sef *Cingetorix*, yn garcharor yn y tro. Pan gyrhaeddai y newydd o'r aflwydd yma i glustiau Caswallawn, efe yn gweled wneyd o hono gymmaint ag a allasai dyn ei wneyd er gwaredigaeth ei wlad, ac yn cael ei ddigaloni wrth weled cynnifer o ddinasoedd a thaleithiau yn troi yn fradwrus, ac yn cefnogi y gelyn, a anfonodd at Caisar i gynnyg dyfod i amodau heddwch, ac ni ddygwyd

* Jones's History of Wales, p. 8.

gwell newydd na hyny erioed i glustiau Caisar, yr hwn oedd yn fawr ei awydd am ryw esgus i ddychwelyd i'r cyfandir; canys er ei fod ef yn ei adroddion am ei gadgyrchion i Brydain, yn rhoddi y lliw goreu ar a allai ar bethau, er mwyn ei glod ei hun, o'r hwn yr oedd efe yn dra chwannog; yr ydym yn meddu seiliau digonol i gredu na chafodd efe y fath driniaeth yn un man arall trwy ei holl oes ryfelgar, ag a gafodd efe yn yr ynys hon; canys y mae *Lucan*, bardd Rhufeinig, a ysgrifenai yn mhen tua chan' mlynedd ar ol hyn, yn dywedyd iddo ddangos ei gefn dychrynedig i'r Bryttaniaid ymlidiawl. Fel hyn y geiriai—"*Territa quæsitis ostendit terga Britannis.*" Ac y mae *Tacitus*, pan yn traethu hanes Caradawg, yn dywedyd i'r gwron hwnw, pan yn cyfarch ei filwyr, cyn ei frwydr ddiweddaf, "alw enwau eu hynafiaid, y rhai a yrasent y Penllywiawdwr Caisar ar ffo."—"*Vocabatque nomina majorum, qui Dictatorem Cæarem pepulissent.*" Heblaw hyny, meddwn hanes Gymreig yn y Brut, o'r ymosodiad yma o'r eidde Caisar, neu fel y'i geilw yr hen haneswyr Cymreig ef, "Iolo Foel," yn yr hwn y'n hysbysir, y bu yn un o'r brwydrau rhwng y Cymry a'r Rhufeiniaid, ymdrech law-law rhwng Nyniaw, brawd Caswallon, a Caisar, yn yr hwn y collai y Rhufeiniwr balch ei gleddyf, wedi rhoddi o hono archoll i'r Cymro, o'r hwn y bu farw yn mhen y pymtheng niwrnod—i'r rhan fwyaf o'r Rhufeiniaid oeddynt yn y frwydr hono golli eu bywydau, ac i Gaisar gilio o'r maes, ac wedi ei dyfod yn nos, fyned o hono gyda y gweddill o'i fyddin i'w longau, gan fod yn llawen ganddo gael y môr yn lle castell. Ac am ei ail gadgyrch y dywaid y Brut fel hyn:—"Ac wedi darfod i Wlkesar barotoi pob peth ar oedd raid iddo, efe a gychwynws ar y môr yn nghyd ag aneirif amlder marchogion, gan ddarmerth ac awyddaw gwneyd damwnedig aerfa o'r Brytaniaid; ac hyny heb amheu a wnaethai pe elsai y llynges yn iach i'r tir. Ac wrth hyny ni allws ef ddwyn ei ddyhewyd ar weithred; canys hyd tra yr oeddynt yn hwyliaw ar hyd canol Themys, yn cyrchu parth a Llundeyn, hyd aeth eu llongau ar y polion heieirn, ar y dywedasom ni uchod, a chan y rhai hyny y dyoddefasant ddigyfyd berygl angeuawl, hyd pan foddasant hyd ar filoedd o farchogion. Canys wedi tyllu y llongau ar y polion heieirn hyny, y daeth dwfr i mewn, a suddaw y llongau dan y weilgi." Yna y mae y Brut yn chwanegu, i Caisar ar ol brwydr waedlyd, hwylio yn y llongau a adawyd gyda gweddill ei fyddin eilwaith i Gâl. A Chaswollon er llawenydd am y fuddugoliaeth, a diolchgarwch i'r duwiau am waredu ei wlad oddiwrth y Rhufeiniaid, a wnaeth wledd fawr, ar ba un y cynnelid amryw gampau, yn ol arfer ein hynafiaid; yn y rhai y dygwyddodd i ddau bendefig ieuanc fynnd i ymdrechu â'u gilydd; un o honynt oedd Hirlas, nai Caswallon, a'r llall oedd Cuhelyn, nai Afarwy. Mewn canlyniad i'r ymdrech chwareuol, hwy a ymgynhenasant, a Chuhelyn a laddodd Hirlas yn fwriadol â'r cleddyf; ac am na roddai Afarwy ei nai i fynu i'w gosbi yn gyfreithlawn, Caswallon a ddechreuodd aurheithio ei diriogaethau ef; yntau wedi cythruddo, a anfonodd genhadon at Gaisar, i'w wahodd drosodd drachefn, gan addaw cynnorthwy iddo; yntau yn falch o'r fath gyfleusdra, a ddaeth yma y drydedd waith; ac ar ol dechreu ymladd â gwŷr Caswallon, a lladd llawer o bob ochr, Afarwy a ddaeth â phum' mil o wyr, ac a ruthrodd ar fyddin Caswallon o'r tu cefn; yr hyn a barodd iddo gilio i ben bryn, lle gwarchaeid arno gan y Rhufeiniaid a gwŷr Afarwy. Fel hyn, trwy frad yn unig y gorchfygwyd y dewr frython Caswallon, ac y'i gorfodwyd i roddi addewid a gwystlon y talai deyrnged flydeddol i'r Rhufeiniaid. Afarwy o herwydd hyn, a elwir yn y Trioedd, yn un o'r "Tri charnfradwr Ynys Prydain." Y ddau ereill oeddynt—"Gwrtheyrn Gwrtheneu, a wahoddes y Saeson yma; a Medrawd ap Llew, a drodd yn fradwr yn erbyn y brenin Arthur."

Gellid meddwl mai yr un ydoedd yr *Afarwy* uchod o eiddo y Brut, a *Mandebrog* yr haneswyr Rhufeinig; er nas gwyddom yn iawn pa fodd i gysoni y ddau adroddiad am yr achlysur, o dramgwydd at Caswallon; canys yn y naill dywedir fod Caswallon wedi gosod brenin y Tranofanwys, *Imanuentius*, tad *Mandebrog*, i farwolaeth, ar yr hyn y ffoai y mab at Caisar, am nawdd, ac y'i perswadiai i ddyfod drosodd yma yr ail waith, gan addaw cymhorth iddo. Ond y Brut, fel y gwelir uchod, a edrydd hanes yr amgylchiad yn wahanol, ac heblaw hyny a ddarlunia y cadgyrch yma y trydydd i Caisar, ac nid yr ail. Pa fodd bynag, y mae ymadawiad disymwth Caisar gyda'i wŷr yn y nos, yn fuan, os nad yn y fan wedi brwydr waedlyd a ymladdasai â'r Cymry, ac nas gadawsai ryw gynnifer o filwyr i gadw meddiant o ryw amddiffynfa yn yr ynys, yn arwyddo yn lled debyg ei fod hyd yn nod wedi cael ei guro o'r ynys y waith olaf hon hefyd; er ei fod wedi cael gan Caswallon addaw talu rhyw gymmaint o deyrnged flyneddol i'r Rhufeiniaid: pa fodd bynag ni soniodd Iwl Caisar byth mwyach am ddyfod drosodd i Frydain; ac nis meddwn nemawr iawn o hanes y Prydeiniaid am yn agos i gan' mlynedd ar ol hyn. Dywed y Brut i Gaswallon farw yn mhen y saith mlynedd, a'i gladdu yn Nghaer-efrog, ac i Denefan fab Lludd, duc Cernyw, a brawd Afarwy, deyrnasu yn ei le ef; gan fod Afarwy wedi myned drosodd gyda Chaisar, heb feiddio aros yma, debygid, oblegyd ei frad i Gaswallon. Dywedir am Tenefan ei fod yn filwr da, ac yn gweinyddu cyfiawnder a barn gyda manylrwydd rhagorol. Ar ol Tenefan, daeth ei fab Cynfelyn, brenin y Tranofwysion, i'r penteyrnaeth ar y rhan hono o'r ynys. Yr oedd hwn yn filwr dewr a phrofiadol, ac wedi ei ddwyn i fynu yn Rhufain; felly ceir bathau arian, a'i enw arnynt, wedi ei ffurfio yn ol y dull ac mewn llythyrenau Rhufeinaidd, *Cunobelin.*

Yn nyddiau teyrnasiad y brenin hwn y ganwyd ein Hiachawdwr Iesu Grist.

Bu i Gynfelyn ddau fab, Gwydyr a Gweyryd: a phan ddaeth Gwydyr i'r orsedd, pallodd a thalu teyrnged i'r Rhufeiniaid, am ba achos y penderfynodd yr amherawdwr *Claudius Cæsar* anfon byddin i Brydain; ac y mae *Dion Cassius* yn dywedyd iddo ddyfod i'r cyfryw benderfyniad trwy anogaeth Brython bradwrus, o'r enw Bericus, neu Meurig, yr hwn oedd wedi gadael Ynys Prydain, a ffoi i Rufain. Hwn, er dial am ei alltudiaeth ei hun, a fynych gymhellai yr amherawdwr i anfon byddin drosodd, gan haeru ei bod yn adeg gyfieus, trwy fod y wlad yn llawn ymbleidiaeth, i'w llwyr ddarostwng dan iau Rhufain. Felly Claudius a anfonodd orchymyn i un o'i raglawiaid galluog, *Aulus Plautius*, i barotoi y fyddin oedd dan ei lywyddiad yn nhir Gâl, a gwneuthur pob brys i oresgyn yr ynys: gan hyny, Plautius wedi cynnull ei luoedd yn nghyd, a'u hysbysai o'r gwaith oedd wedi ei dori iddynt, trwy orchymyn yr amherawdwr; ond y milwyr Rhufeinaidd, heb annghofio y driniaeth a gawsai eu tadau dan lywyddiaeth Iwl Caisar, yn Ynys Prydain, a'r anrhydedd bychan a enillasai y byddinoedd Rhufeinaidd trwy eu cadgyrchiadau hyny yma, a ddywedent nad oeddynt hwy yn foddlawn i gymmeryd eu harwain i "*fyd newydd,*" ac i gario y rhyfel yn mlaen o'r tu allan i gylch y ddaear; canys felly y cyfrifent yr ynys hon: ac mor gryf oedd eu gwrthnysigrwydd i ymgymmeryd â'r cadgyrchiad, fel y danfonai yr amherawdwr genad arbenig, o'r enw Narcissus, un o'i wŷr llys urddasol, i'w heddychu, ac i'w darbwyllo i ymgymmeryd â'r anturiaeth, â'r hyn y cytunasant o'r diwedd. Yna y cadlywydd, Plautius, a ranodd ei fyddin yn dair mintai, gan beri iddynt hwylio allan yn gynnifer o lyngesau gwahanol, er sicrhau eu glaniad diogelach, wrth eu bod megys yn cynnyg ymosod ar yr ynys mewn tri o

wahanol fanau, na phe buasent yn ceisio glanio oll yn yr un parth. Ond wedi eu myned allan i'r môr, fe'u curid yn ol gan groeswyntoedd a hin dymhestlog, yr hyn a ddigalonai y milwyr mor fawr, fel y buasent yn sicr o roddi yr anturiaeth i fynu, oni buasai ymddangosiad goruchion tanllyd, yn ergydio o'r dwyrain, yr hyn a esponid fel argoel da wedi ei anfon gan y duwiau i gyfarwyddo eu cyrch tua'r ynys, ac i arwyddocau iddynt y byddai llwydd i'w hantur. Yn y cyfamser, y Prydeiniaid, wedi eu hysbysu o'r gwrthryfel yn y fyddin Rufeinaidd, a feddyliasant nad oedd un perygl arnynt; ac felly a ymddiofalasant, fel nad oedd ganddynt un fyddin yn barod i wrthsefyll glaniad y gelyn; am hyny cafodd Plautius arfod i lanio ei holl wŷr, a threfnu ei fyddin yn fanteisiol, heb neb i'w lesteirio; ac yn fuan efe a arweiniai ei fyddin i'r wlad, i chwilio am y gelyn; a chyn hir, cyfarfu â Charadawg, yn blaenori rhyw fyddin fechan, llawer rhy egwan i roddi unrhyw wrthsafiad effeithiol i gadrwysg y Rhufeiniaid; ac yn fuan wedi hyny, cyfarfyddent â byddin arall gyffelyb, dan dywysiad Togodumnus, mab Cynfelyn, yr hon hefyd a orchfygwyd yn rhwydd gan y goresgynwyr, yr hyn a ddengys y niweid a ddeilliai o ymraniadau gwladwriaethol.

Y buddugoliaethau hyn a barai i'r Rhufeiniaid ymgalonogi yn ddirfawr, a thybied na byddai unrhyw anhawsder yn eu ffordd i ddarostwng yr holl ynys; ac ar y tu arall, effeithiai y buddugoliaethau hyn ar rai o'r llwythi brodorol, er peri iddynt lwfrhau; ac yn mysg ereill, fe'n hysbysir yn bendant bod y Tafeinwyson *(Dobuni,)* y rhai a gyfaneddent swydd Gaerloyw, a glynoedd swydd Rhydychain, ar y tu gogleddol i'r afon Tafwys, wedi ymostwng i'r Rhufeiniaid. Fe'm tueddir yn gryf i gredu, fod y rhai hyn, fel y Trafonwyson a fuant fradwrus yn amser Iwl Caisar, o hiliogaeth y Coraniaid neu y Belgiaid, ac nid yn rhai hanedig o'r cynfrodorion. Ond er fod rhai llwythi fel hyn yn ymostwng yn rhwydd i'r goresgynwyr, yr oedd rhai o'r tywysogion Cymreig dewrwych yn cadw y maes, gan gynnull atynt gynnifer ar a allent o'r ieuengctyd, er amddiffyn eu gwlad a'u hiawnderau; a'r fyddin hon a wersyllai ar lan rhyw afon gref—yr Hafren, medd rhai; ond yn fwyaf tebygol, y Tafwys; a chan nad oedd rŷd i groesi yr afon ar gyfer eu gwersyll, hyderasant na feiddiai neb ymosod arnynt; ac felly, ni chynnaliasant wyliadwriaeth addas. Ond y Germaniaid, y rhai a wasanaethent dan y cadlywydd *Flavius Vespasian*, a'i frawd *Sabinus*, yn y fyddin Rufeinaidd, y rhai a arferent nofio yr afonydd gwylltaf yn eu harfogaeth, a nofiasant ar draws yr afon, ac a laddasant feirch y Prydeiniaid, fel na allai eu cerbydau fod o un gwasanaeth iddynt, gan ladd llawer o'u milwyr gwasgaredig ac anwyliadwrus hefyd; ond ni roddai y Cymry i fynu iddynt ar ychydig chwareu, er eu holl aflwydd; felly, ar doriad y dydd dranoeth, ymgyfarfuant â'r Rhufeiniaid eilwaith, lle y bu ymladd caled a gwaedlyd, a thros amryw oriau yr oedd yn amheus i ba ochr y troai y fuddugoliaeth; ond o'r diwedd, arfogaeth a dysgyblaeth ragorach y Rhufeiniaid a orfuant ar ddewrder y Cymry; y rhai oeddynt dan yr anfantais o orfod ymladd y frwydr hon yn noethion mewn cydmariaeth, a llawer o honynt yn fechgyn ieuainc, heb fod mewn brwydr efallai erioed o'r blaen, ac wedi colli gwasanaeth eu cerbydau rhyfel, ar y rhai y rhoddent eu hyder fwyaf am y fuddugoliaeth, yn erbyn hen wroniaid, wedi eu gorchuddio â'r arfogaeth fwyaf celfydd, a'u dysgyblu i ryfel yn y modd perffeithiaf.

Oddiyno enciliai y fyddin Gymreig tuag aber Tafwys, i forfeydd Essex, lle yr ymladdwyd amryw frwydrau celyd rhwng y ddwy fyddin, yn y rhai y collodd y Rhufeiniaid lawer o'u gwŷr: ond yn un o honynt, cwympodd Togodumnus y brenin, a lladdwyd nifer mawr o'i wŷr.

Ond Plautius, yn gweled bod y Prydeiniaid yn myned yn fwyfwy dewrion, a bod ei gyflwr yntau a'i fyddin yn y canlyniad yn myned yn fwy peryglus, a chan ystyried fod y fyddin Rufeinaidd wedi ei gwanhau yn ddirfawr, tra yr oedd y fyddin Brydeinaidd yn cryfhau beunydd, a farnodd yn ddoeth anfon at yr amherawdwr Claudius i Rufain, gan dacr erfyn arno ddyfod â byddin gref ganddo yn ddioedi, i'w gynnorthwyo i oresgyn yr ynys. Ac yn y cyfamser efe a wnelai ei oreu i gadw meddiant o'r rhanau o'r wlad a oresgynasai, gan gyfleu gwarchawdluoedd yn y bylchau mwyaf angenrheidiol cadw meddiant o honynt; ac â'r gweddill o'i wŷr, efe a ymwersyllodd wrth aber Tafwys, er diogelu glaniad cynhorthwyon newyddion. Claudius Caisar, wedi ei frawychu gan adroddiad y cenhadon am ddewrder dihafal y Cymry, a benderfynodd ddwyn byddin gref i'w ganlyn, cynnwysedig o amryw o'r llengoedd Rhufeinig enwocaf, yn nghyda nifer fawr o gynghreirwyr Germanaidd a Galaidd, ac yn chwanegol at hyny, dywedir iddo ddwyn lluaws o elephantiaid arfog, wedi eu dysgu i ymladd, i'w ganlyn, trwy ddefnyddio pa rai yr oedd y Rhufeiniaid wedi enill rhai buddugoliaethau nodedig mewn gwledydd eraill; ac y mae yn ymddangos i'r ddichell yma lwyddo yn dda; canys wedi iddo lanio, a gosod ei wŷr bob yn ugain neu ddeg ar hugain ar gefn pob elephant, gwasgerid meirch rhyfel y Prydeiniaid yn rhwydd, a pherid annhrefn erchyll trwy eu holl fyddin, fel y cafodd y Rhufeiniaid fuddugoliaeth rwydd arnynt y waith hon. Gallwn feddwl fod yr olwg ar y cawrfilod dyeithrol yma yn dra arswydus i'r hen Gymry dysyml, a phrin y gallent ddyfalu pa un ai duwiau y Rhufeiniaid, ai rhyw ellyllon llog ganddynt, oeddynt yn ymsymud dan y cestyll a'r saethyddion i'w cyfarfod, gan ddychrynu eu meirch, a churo eu gwŷr cryfaf i'r llawr â'u duryn, fel y cwympid cawn dan bladur: at yr amgylchiad yma y cyfeiriai Bardd Nantglyn yn y llinellau canlynol:—

"Galwyd gynt i'r hynt fawr hon
Dawch allu bob dichellion;
Arfogwyd a llogwyd llu,
Dorf fawr oll, dirfawr allu:
A phwyntiaw elephantiaid
Geirw'n lle meirch, groenllwm haid;
Yn ddirgel iawn, chwyrnlawn chwant,
A throsodd y rhuthrasant
Ar y Brython gwirion, gwyl,
Byd esgaeth, heb eu dysgwyl,
Yn haiarnawl, blyngawl blaid,
Ac estylch rif locustiaid."

Claudius Caisar, wedi enill y fuddugoliaeth hon mor rwydd, a ddychwelodd yn fuan i Rufain, gan adael Plautius, a'i raglaw Fespasian, i gario y rhyfel yn mlaen: ond er fod Plautius, a'i olynwr Ostorius, wedi meddiannu y rhan o'r ynys a orweddai o'r tu deheuol i'r afon Hafren, lle y trigianai y dyfodiaid diweddaraf i'r ynys, sef y Lloegrwys a'r Belgwys, gan sefydlu trefedigaethau Rhufeinig yn eu mysg, er eu cadw danodd, yr oedd y Syllyrwys a'r Gordofigwys, y cynfrodorion, y rhai a gyfaneddent Ddeheubarth a Gogledd Cymru, yn benderfynol i sefyll yn wrol dros eu hannibyniaeth, yn erbyn holl gryfder Rhufain, dan y dewrwych Garadawg, fab Bran ab Llyr, yr hwn wedi ymladd deg brwydr ar hugain â'r Rhufeiniaid, gydag amryfal lwyddiant, a fradychwyd i'w dwylaw o'r diwedd, gan Aregwedd Föeddawg, brenines y Brigantwys, at yr hon y ffoisai am nawdd ar ol ei frwydr olaf â'r Rhufeiniaid, yr hon a gymmerodd le fel y tybir yn Nghaer Caradog yn swydd yr Amwythig; ac yn

yr hon y cymmerasid gwraig a merch Caradawg yn garcharorion gan y Rhufeiniaid; ac efallai eraill o'i geraint. Y Brigantwys a gyfaneddent y rhanau o'r ynys a adwaenir yn awr wrth yr enwau swyddi Caerefrog, Caerhirfryn, Durham, Westmoreland, a Chumberland; a dywed rhai hynafiaethwyr bod Aregwedd Föeddawg, eu brenines, yn ferch Afarwy ab Lludd, yr hwn a fradychai Gaswallon i Iwl Caisar; ond nid yw hyny yn debyg, gan fod tua chan' mlynedd rhwng y ddau gyfnod; y mae yn haws meddwl mai ei wyres a allasai hi fod: pa berthynas bynag a allasai hanfodi rhyngddi âg Afarwy yn naturiol, yr oedd hi yn eithaf merch iddo yn ei nodweddiad, ac y mae caffadwriaeth y ddau yn dra ffiaidd gan bob Cymro gwladgarol hyd heddyw.—Dywedir i'r fenyw ysgeler yma ddyfod i flinder nid bychan cyn pen hir ar ol hyn, trwy ei hymddygiadau anniwair: canys hi a ymadawodd â'i gŵr, *Fenusius*, ac a gymmerodd un o'i weision, o'r enw *Fellocatus*, yn ei le; eithr ei gŵr, wedi enill cydymdeimlad y bobl, a'i dug i gyfyngder mawr: hithau a geisiodd gynnorthwy gan y Rhufeiniaid, a'r rhai hyny wedi amrywiol frwydrau a lwyddasant i waredu y frenines ei hun allan o berygl; ond gorfu arnynt adael y deyrnas yn meddiant Fenusius.

Pa beth a dueddai y fenyw ysgeler hon i draddodi y penlluyddwr dewr a ymladdasai gynnifer o frwydrau dros ei wlad, gan sefyll yn erbyn holl gadernid Rhufain am naw mlynedd, yn rhwym mewn cadwynau i ddwylaw ei elynion, sydd yn fwy nag a allwn ni ei ddyfalu yn awr.

Mae yr hanesydd Rhufeinig enwog *Tacitus*, yn sylwi fod clod Caradawg "wedi estyn dros yr holl wledydd cymmydogaethol, ac yr oedd yn enwog hefyd trwy yr Eidal; a dymunent weled y gŵr, yr hwn dros gynnifer o flyneddoedd, a ddirmygodd ein byddinoedd. Ac nid oedd enw Caradawg yn ddianrhydedd hyd yn nod yn Rhufain ei hunan. A'r amherawdwr, tra yr oedd yn derchafu ei anrhydedd ei hun, a ychwanegodd hefyd ogoniant i'r darostyngedig; oblegid y bobl a alwyd yn nghyd, megis at ryw arddrychiad mawrygus. Y byddinoedd amherodrol a safent dan eu harfau yn y maes cyfnesol; yna daeth yn mlaen ddeiliaid Caradawg, a chludwyd yr arfau, a'r seirch, a'r tyrch, a'r pethau a enillasai efe mewn rhyfeloedd. Yn y man, daeth yn mlaen ei frodyr, a'i wraig a'i ferch; ac yn olaf o'r cwbl, ymddangosai Caradawg ei hun. Y lleill mewn modd gwael a roisant le i erfyniadau, trwy ofn; eithr Caradawg ni ofynodd am drugaredd, naill na thrwy ostwng ei ben, na thrwy eiriau; ond safodd ger bron yr orseddfainc, a llafarodd yn y dull canlynol:—'Pe buasai mesur fy llwyddiant yn gyfartal i'm huchel fonedd a'm cyflwr genedigol, gallaswn ddyfod i'r ddinas hon yn gyfaill yn hytrach nag yn garcharor; ac ni fuasit tithau yn cael dy ddianrhydeddu trwy dderbyn i amod heddwch, un wedi deilliaw oddiwrth hynafiaid clodwiw, ac yn rheoli amryw genedloedd. Fy nhynged bresenol, fel y mae yn anffodus i mi, felly y mae yn fawrygus i tithau. Yr oedd genyf feirch, rhyfelwyr, arfau, cyfoeth; pwy ryfeddod os oeddwn yn anfoddlawn i'w colli? Oblegyd os chwychwi a fynwch lywodraethu ar bawb, a yw yn canlyn fod i bawb dderbyn caethrawd? Pe buaswn yn ymddarostwng yn uniongyrch, ni fuasai na fy nghyflwr i, na dy ogoniant dithau yn ymenwogi, ac annghof a ganlynasai fy narostyngiad; eithr yn awr, os arbedi fi yn ddiniweid, byddaf yn anghraifft dragywyddol o diriondeb.'"*

Yr araeth hon, yn cael ei thraddodi gan y glewddyn Cymreig yn ei gadwynau, a effeithiai yn dra grymus ar yr holl fonedd, a'r amherawdwr ei hun hefyd, fel nas gallent ymatal rhag wylo, a dywedyd, "Yn mhob gwlad

* Hanes Cymru, gan y Parch. T. Price, t.d. 73, 74.

y megir glew." A'r amherawdwr a archai ddatod cadwynau y penaeth Prydeinaidd, a'r eiddo ei berthynasau. Ar ol yr hyn y gwnaethant eu moes ymostyngiad i'r amherodres *Agrippina*, yr hon a eisteddai ar yr orsedd rwysgfawr i dderbyn yr unrhyw: gan gyflwyno eu diolchgarwch a'u clodforedd iddi hi, megis y gwnaethant i'r amherawdwr. Ac yr oedd gorfoledd dirfawr drwy Rufain, o achos ymddangosiad Caradawg yno, "nid llai," medd Tacitus, "na phan ddygwyd y brenin *Syphas* yno gan *P. Scipio*, neu y brenin Macedonaidd *Perses*, gan *Lucius Paulus;* neu neb un o'r breninoedd ereill a ymddangosasent yno yn garcharorion."

Deallwn oddiwrth rai o'r Trioedd Cymreig, i Claudius Caisar gymmeryd tad Caradawg, sef Bran ab Llyr Llediaith, yn wystl dros ei fab enwog; ac iddo fod yn Rhufain dros oddeutu saith mlynedd fel carcharor anrhydeddus.—

"Tri Menwedigion Teyrnedd Ynys Prydain: Bran Fendigaid ab Llyr Llediaith, a ddygwys gyntaf ffydd yn Nghrist i Genedl y Cymry o Rufain, lle y bu efe saith mlynedd yn ngwystl ei fab Caradawg, a ddug gwyr Rhufain yn ngharchar, gwedi ei fradychu trwy hud, a thwyll, a chynllwyn Aregwedd Föeddawg."—Tri. 35.

Pa beth a ddaeth o Caradawg ar ol hyn nis gellir ei wybod yn bresenol, ond yr hyn sydd fwyaf tebygol yw, os y cafodd efe ddychwelyd yn ol i'w wlad, ei fod wedi parhau mewn heddwch â'r Rhufeiniaid, yn ol ei addewid: canys nid ydym yn cyfarfod â'i enw mwyach mewn cysylltiad âg ymdrechion y Prydeiniaid yn erbyn y Rhufeiniaid.

Tua'r flwyddyn 51 neu 52 y tybir yn gyffredin y'i cymerwyd yn garcharor; ac oddeutu y flwyddyn 58, yn ol barn amryw, y cymerwyd Paul yn garcharor y waith gyntaf i Rufain, felly nid ydyw yn anhygoel y gallasai Bran, tad Caradawg, gael y cyfleusdra i wrando yr Apostol enwog yn dadlenu egwyddorion gogoneddus y grefydd Gristonogol.*

Er i'r Essyllwyr gael eu trechu a'u baeddu yn dost yn mrwydr olaf eu tywysog dewrwych Caradawg, ac er colli o honynt eu cadflaenor enwog trwy frad, fel y crybwyllwyd yn barod, eto, ni chollasant eu calondid a'u hysbryd annibynol; eto parhausant mewn arfau, gan wneuthur ymosodiadau dibaid ar y byddinoedd Rhufeinig:—"Oddiwrth hyn," medd Tacitus, "y bu aml frwydrau, ac fynychaf ar ddull lladradwaith, trwy goedydd, trwy ffosydd, fel y digwyddai. Weithiau yn ddisymwth, ac weithiau yn rhagddarparus; weithiau o achos digasedd, a phryd arall er mwyn yspail; ambell waith trwy orchymym y blaenoriaid, a phryd arall yn ddiarwybod iddynt."

Yr oedd y penllywydd Rhufeinaidd *Ostorius*, yn cael ei flino gymmaint gan ystyfnigrwydd yr Essyllwyr, dan eu cadlywydd *Arifog*, fel y bygythiai lwyr ddileu eu henw oddiar wyneb y ddaiar, megis y gwnelsid â llwyth o Germaniaid, o'r enw Sugambri, gynt: ond yr oedd yn "haws dweyd mynydd na myned drosto;" felly dewrder diblygu yr Essyllwyr, a'u rhuthriadau parhaus o'u llochesau ar y llengau Rhufeinig, fel nad oeddynt yn ddiogel ddydd na nos, a effeithiodd gymmaint ar Ostorius, fel y bu farw o dorcalon, cyn pen nemawr gyda blwyddyn wedi cludiad Caradawg yn garcharor i Rufain.

Wedi hyn, am oddeutu chwe' mlynedd, o dan lywyddiad *Didius*, a *Feranius* yn Mrydain, nid yw yn ymddangos bod dim ymladd, gwerth ei groniclo, wedi bod rhwng y ddwy genedl: ai tybed nad ellid priodoli hyny i ymddygiad tyner Caisar at Caradawg, a thrigias Bran yn Rhufain fel ei wystl?

* *Horæ Britannicæ*, pp. 19, 23.

Dilynid y ddau wŷr hyn yn y llywyddiaeth gan ŵr call, a milwr galluog, sef *Suetonius Paulinus*. Deallodd y gŵr hwn yn fuan wedi dyfod drosodd yma, fod ynys Fon yn eisteddle llywodraeth grefyddol, a phrif gyngorfa y genedl; mai yno y trigai eu patriarch, neu yr Arch Dderwydd; ac mai yno y meithrinid ac yr addysgid eu tywysogion a'u pendefigion ieuainc, mewn gwybodaeth anianyddol a moesol: ac am hyny, barnai mai y ffordd oreu i ddarostwng y genedl yn gryno, ydoedd taro dyrnod hyd adref ar eisteddle eu bywyd gwladyddol, trwy oresgyn yr "Ynys Sanctaidd," fel y'i cyfrifid: felly efe a arweiniodd ei fyddinoedd ar hyd y brif-ffordd a elwid "Sarn Gwyddelin," efallai, hyd yn agos i Gaerynarfon, neu Gaer Seiont; ac yno, er trosglwyddlo ei fyddinoedd dros gulfor y Menai, efe a barodd wneyd lluaws o fadau a gwaelodau gwastad iddynt, y rhai a alwai y Rhufeiniaid *Scaphœ*, oddiwrth yr hwn enw, efallai, y cawsom ni y gair ysgraffau, ac â'r rhai hyn y parai gludo ei wŷr traed drosodd, o Lanfairisgaer i Lanidan, gan erchi i'w farchogion groesi trwy chwilio am rŷd, neu trwy nofio. Meddyliai yr hynafiaethydd enwog, y diweddar Barch. Henry Rowlands o'r Plasgwyn, mai rhwng y lle a elwir Pwll y fuwch a Llanidan y glaniai y Rhufeiniaid yn yr ynys, y waith gyntaf hon: y mae rhŷd, lle y gallasai eu marchogion groesi, odditan Lanidan; ac nid yw yn annhebyg bod y fan lle y glaniodd eu gwŷr traed yn cael ei nodi hyd heddyw gan yr enw "Pant yr ysgraffau." Heblaw hyny, y mae bryn neu domen gelfyddydol yn un o'r meusydd, o fewn tua thair esgyd saeth o'r môr, ar gyfer y lle hwn, ar yr hwn y tybir fod y Derwyddon yn offrymu eu haberth mawr, er dyhuddo eu duwiau, a chael ganddynt gwblhau eu rhegfeydd ar y Rhufeiniaid, a oresgynent eu hynys gysegredig mor ddiachos, a'u hamddiffyn hwythau rhag trais yr estroniaid. Ond er fod y Rhufeiniaid yn synu yn ddiau yn yr olwg arnynt, y gwragedd mewn llaeswisgoedd duon, a'u gwallt llaes yn hongian dros eu hysgwyddau, a ffaglenau yn eu dwylaw, yn rhedeg oddiamgylch, fel pe y buasent yn orphwyllog, a'r Derwyddon a'u dwylaw yn ddyrchafedig tua'r nefoedd, yn tywallt allan eu rhegfeydd, ac yn galw am ddialedd eu duwiau arnynt; hwy a ruthrasant arnynt yn ddiarbed, ac a'u dinystriasant â lladdfa fawr; gan fwrw llawer o honynt i'r tanau a gynneuasent eu hunain, i'w difa ynghyda'u hebyrth.

Y Derwyddon, pan welsant aneffeithiolrwydd eu holl aberthau, eu defodau crefyddol, a'u rhegfeydd, a enciliasant—rhai o honynt a lechasant yma a thraw yn eu llwyni cauadfrig, a thebygir i amryw o honynt ymsefydlu yn y cwr arall o'r ynys, tua Llaneiliau, lle y mae amryw o olion hen orsaf Dderwyddol, a lle a elwir "Maen Dryw," ac efallai i rai o honynt hwylio ar yr achlysur yma o'r parth dywededig o'r ynys i Fanaw, a rhai fe ddichon i'r Iwerddon.

Mae yn agos i'r lle y tybir i'r alanastr hon gymmeryd lle, olion dwy neu dair o drefydd neu amddiffynfeydd Cymreig; y naill yn agos i'r Bryn Siencyn, a elwid "Hendref," ac un arall ar ben Bryn Gwyddfryn, a elwid "Caer Idris," a'r drydedd ar fryn gerllaw Porthamel, yr hon y mae ei henw wedi myned ar goll.

Nid yw yn annhebyg mai ar ben Bryn Gwyddfryn, yn y gymmydogaeth hon, yr adeiladai y Rhufeiniaid amddiffynfa gref, yn yr hon y cyfleai Suetonius warchawdlu, er cadw arswyd ar y trigolion. Yr oedd y sefyllfa yma yn un dra manteisiol i wneyd amddiffynfa gref arni, ac yn ngolwg rhan fawr o'r ynys hefyd. Y mae enw un o gymmydau yr ynys, "Tal y bolion," ac enwau rhai lleoedd ynddi, megis "Pant y polion," "Pentre polion" &c., yn rhyw gofion, debygid, o'r ymweliad yma o eiddo Paulinus â Mon: ac efallai iddo drefnu amddiffynfa arall ar yr hen Ddin Sulwy, lle y buasai amddiffynfa Gymreig o'r blaen, yn agos i'r lle a elwir Pentre'

polion, yr hon a fuasai yn orsaf arall dra manteisiol i warchawdlu, yn enwedig fel yr oedd yn ngolwg yr agorfa ddwyreiniol i'r afon: o leiaf, y mae y bathau Rhufeinig a geir yno o bryd i bryd, yn brawf diwad i'r lle fod yn orsaf Rufeinaidd ar ryw achlysur.

Ond cyn i Paulinus orphen darostwng yr holl ynys, dygid y newydd cyffrous iddo am wrthryfel yr Uch-cyniaid, dan eu Brenines Buddug, a'r dystryw ofnadwy a wnelid ganddi yn y trefedigaethau Rhufeinaidd; yr hyn a barai iddo wneyd pob brys i gynnull ei filwyr, gan adael nifer fach yn unig i gadw yr amddiffynfeydd crybwylledig, y rhai, yn ol pob tebyg, a syrthiasant yn fuan i ddwylaw yr ynyswyr. Ond cafodd Paulinus lon'd ei ddwylaw o waith i geisio darostwng y gwrthryfel a dorasai allan mor rymus yn mharthau deheuol Prydain, fel nas gallodd ddychwelyd i orphen ei waith yn Mon; ac y mae yn debyg i'r Monwysion o'r herwydd gael seibiant am oddeutu pymtheng mlynedd, sef o ganol teyrnasiad Nero hyd yr wythfed flwyddyn i Fespasian.

Yr achlysur o'r gwrthryfel crybwylledig dan Buddug, ydoedd trais a gormes ysgeler *Catus*, pencasglwr y cyllid dan y Rhufeiniaid, yn y parthau o Frydain a ddarostyngasid dan y Rhufeiniaid; cawn y darluniad canlynol o'r achos gan rai awdwyr:—*Prasutagus*, brenin yr Uch-cyniaid, a fuasai yn ddyfal dros lawer o flynyddoedd yn casglu cyfoeth dirfawr, ac er ei ddiogelu i'w ddwy ferched, efe a wnelai yr amherawdwr yn gydetifedd â hwy yn ei ewyllys diweddaf, gan ddysgwyl y buasai y fath amlygiad o'i ewyllys da i'r amherawdwr yn sicrhau i'w deulu ddiogelwch rhag trais, ac yn peri na feiddiai y swyddogion Rhufeinig ddianrhydeddu ei ferched. Ond i'r gwrthwyneb yn llwyr y bu; canys dan rith cymmeryd meddiant o ran yr amherawdwr, anrheithiwyd ei deyrnas gan y canwriaid, a'r casglyddion a chwilenasant ei holl dŷ, gan ymddwyn yn y modd mwyaf trahaus; gweddw y brenin, Buddug, a ffrewyllasant, a'i ferched a dreisiasant, &c. Prif benaethiaid y deyrnas a ddifeddiannasant o'u hen etifeddiaethau, a throisant y teulu breninol o'r anedd freninol, gan eu trin fel pe y buasent yn gaethion. Y cyfryw drahausder annyoddefol a enynai ysbryd gwrthryfel yn yr Uch-cyniaid, ac ar yr un pryd, yr oedd y Tranofwysion, llwyth cryf arall o'r brodorion, yn gruddfan dan iau galed y Rhufeiniaid, y rhai y sefydlasent drefedigaeth yn eu tiriogaethau, sef yn Nghamlan, a elwir yn awr Malden, yn Essex, ac a fwriasant y brodorion o'u tai, gan drawsfeddiannu eu tiroedd a'u meddiannau; ac ymddwyn tuag atynt yn gymhwys fel pe buasent yn garcharorion rhyfel neu gaethweision.

Y deml a gyfodasid er anrhydedd i Claudius Caisar hefyd, oedd yn ddolur llygaid gwastadol i'r Prydeiniaid, gan ei bod fel arwydd o'u gwarogaeth bythol i'r Rhufeiniaid, a bod yr offeiriaid a weinyddent ynddi, dan y rhith o gynnull offrymau crefyddol, yn gorthrymu y bobl yn dost; a *Seneca* hefyd, yr hwn y gellid tybied oddiwrth ei ysgrifeniadau, y rhai ydynt eto ar gael, ei fod yn un o'r rhai mwyaf haelfrydig o blant dynion, a chwanegodd at yr anfoddlonrwydd, trwy wasgu yn greulon am daledigaeth disymwth swm mawr o arian a fenthyciasai efe ar lôg i rai o'r tywysogion Cymreig, er ei fod wedi addaw iddynt amser rhesymol i'w talu. Dan yr amgylchiadau gofidus hyn, cydymgynghorai y Cymry, gan ddywedyd, "Gwelir nad ydyw ein dyoddefgarwch yn enill dim i ni, namyn peri i'n gormeswyr farnu am danom ein bod yn ffyliaid hawdd ein trin, ac am hyny y mae ein beichiau yn cael eu chwanegu beunydd. Gynt, ni osodai y Rhufeiniaid ond un tywysog i arglwyddiaethu arnom; ond yn awr wele ddau wedi eu dodi ganddynt i sugno ein gwaed, y Rhaglaw a'r Cynnullwr trethi: a pha un bynag ai cytuno â'u gilydd neu annghytuno y byddo y penaethiaid hyn, y maent yr un mor niweidiol i ni: y naill yn ein gormesu

â'i fyddinoedd, a'r llall â'i orfaeliaeth; fel y mae pob peth heb eithriad yn ddarostyngedig i'w cybydd-dod a'u trachwant, a'r hwn a allo yspeilio mwyaf a ystyrir y milwr glewaf. Ië, yr ydym wedi dyfod mor ddiymadferth, fel yr ydym yn goddef i'n tai gael eu tori a'u hyspeilio gan y dyhirod mwyaf diegwyddor; a'n plant eu dwyn oddiarnom, a'u cyfresu yn myddinoedd ein gelynion, fel pe y byddont yn gymhwys i farw unrhyw farwolaeth, ond a fyddo dros eu gwlad eu hunain. Mor deneu a fyddai y fyddin Rufeinaidd, pe byddai i'r holl Frythoniaid ymadael â'u harglwyddi! Mae y Siermaniaid wedi ysgwyd yr iau ymaith, er mai gan afon yn unig y diffynir hwy, ac nid gan y cefnfor, fel nyni: a phaham nas gallwn ninau wneyd yr un peth, y rhai y mae ein hachos yn llawer ardderchocach, sef gwaredigaeth ein gwlad, ein gwragedd, a'n rhiant? ac ar du ein gelynion, nis gellid dadleu unrhyw esgusion ond trachwant ac uchelgais. Pe byddai i ni ond ymdebygu i ddewrder ein hynafiaid, nyni a allem hela y gormeswyr hyn o'r ynys, fel y gwnaeth ein tadau â Chaisar: a phe y gallem oddef llymder onid un neu ddwy o frwydau, nid oes un amheuaeth nas gwelid dewrder y truenus a'r diobaith yn fwy na hyder y beilchion trahaus. Mae y duwiau eu hunain yr awrhon mal ped amlygent dosturi at y Prydeiniaid, gan gadw y Tywysog Rhufeinaidd a'i fyddinoedd ar waith yn ddiogel mewn ynys arall, a rhoddi i ni un arfod eto, yr hyn oedd y ffafr fwyaf, i gydymgynghori o barth ein cyflwr, yr hyn ond ei iawn ddefnyddio, a allai fod o wasanaeth i ni; ond os amgen, cawn weled y bydd yn fwy peryglus i ni ymddiddan am ein hadfyd nag a fyddai i ni ymdrechu i gael ymwared oddiwrthynt."*

A'r cyfryw ymadroddion a'r rhai uchod yr anogent y naill y llall, ac yn gyntaf yr Uch-cyniaid, preswylwyr y rhan o'r ynys a elwir yn awr Norfolk, Suffolk, Caergrawnt, a Huntingdon, a gymerasant arfau i ddial camwri eu brenines, a dianrhydedd ei merched: yn nesaf y Tranofwysion, preswylwyr Essex, a Middlesex, a rhan o Surrey, a ddaethant i'r maes; ac yn fuan ymledai y gwrthryfel i'r gwledydd cylchynol fel tân gwyllt. Buddug hithau, yn gweled arfod manteisiol i ddial y traha a gawsai ar ddwylaw y Rhufeiniaid, a aeth allan i flaenori y lluoedd yn bersonol. Dywedir am y fenyw hon, ei bod o "hiliogaeth freninol, ac o ysbryd tra derchafedig; yr ydoedd o gorpholaeth uchel a hardd, o wynebpryd gerwin, tremiad sarug, a llais gorarw; yr oedd ei gwallt melyn hir yn cyrhaedd hyd ei chluniau, a dygai am ei gwddf dorch aur fawr, a dilladid hi hefyd â gwisg amryliw, a thros hono bilyn trwchus, &c."

Taenid chwedlau ar led, er cryfhau ofergoeledd y trigolion, a'i enill yn mhlaid yr ymgyrch: o'r rhai, gall a ganlyn fod yn rhyw enghraifft. Dywedid fod delw *Buddugoliaeth* yn Nghamlan, wedi cwympo o honi ei hun, ac wedi troi ei chefn, fel pe buasai ar adael y Rhufeiniaid i fyned at eu gelynion; a bod gwragedd mewn math o orphwylldra yn tramwyo y dref gan ddatgan fod dystryw yn dyfod. Dywedid fod ocheneidiau ac udiadau dyeithriol i'w clywed yn y cynghordy a'r chwareudy, a bod rhyw ddrychiolaethau ofnadwy yn ymddangos yn yr afon, a'r môr gerllaw; y cyfryw chwedlau dieithriol, pa mor gelwyddog a disail bynag oeddynt, a lanwent y Rhufeiniaid o fraw, ac ar y llaw arall a galonogent y Prydeiniaid yn ddirfawr, y rhai erbyn hyn oeddynt yn lluoedd mawrion dan dywysiad Buddug, wedi dystrywio rhai gwarchawdluoedd gwasgaredig, yn prysuro i ymosod ar brif orsaf y Rhufeiniaid yn Nghamlan. Pan glybu y drefedigaeth am eu dyneshad, anfonasant genadwri at *Catus Decianus*, i ddeisyf arno anfon i'w cynnorthwyo yn ddioed, gan nad oedd yn ddichonadwy i *Suetonius* gyr-

* Tacitus Vit Agric.—A. Sammes, p. 224.

haedd o'r fath bellder, ac yn ddigon buan i'w gwaredu: ond nis gallai efe hebgor oddiar ddau cant o wŷr iddynt, a'r rhai hyny nid oeddynt wedi eu harfogi yn y modd goreu; canys efe a'i gwnelsai ei hunan yn wrthddrych atgasrwydd neillduol yn y dalaeth trwy ei annghyfiawnder, fel yr oedd rhaid iddo gadw cryfder o wŷr arfog o'i ddeutu er ei ddiogelwch personol. Felly y Prydeiniaid a ymosodasant ar yr orsaf yn Nghamlan, a chan mor ddiofal a fuasai y Rhufeiniaid i gadarnhau eu hamddiffynfeydd, fe'u cymmerwyd ar y rhuthr cyntaf, a'r canlyniad fu fod y ddinas yn eu meddiant yn ebrwydd: a'r milwyr a ffoisant i'r *deml*, yr hon a gymmerwyd yn yspaid dau ddiwrnod, a'r adeilad orwech a wnaed yn domen, a'r oll oedd ynddi a roddwyd i'r cleddyf.

Tra yr oedd y Prydeiniaid yn nghanol y llwyddiant yma, ac yn llawn calondid, cyfarfuant â *Petilius Crealis*, rhaglaw y nawfed lleng, yn prysuro i gynnorthwyo gwarchawdlu Camlan, ymosodasant arno, a lladdasant ei holl wŷr traed, gan ei orfodi yntau a'i farchogion i ymofyn diogelwch yn ei amddiffynfa. Erbyn hyn, *Catius Decianus* yn gwybod yn dda mai efe a fuasai y prif achos o'r holl aflwydd yma, a wnaeth y goreu o'i ffordd i dir Gâl; ond *Suetonius* gyda dianwadalwch a dewrder canmoladwy, a arweiniai ei fyddinoedd o ynys Fon, drwy ganol gwlad y gelyn tua Llundain, yr hon oedd yn llawn o drigolion a masnachwyr Rhufeinaidd, er nad oedd mewn enw yn drefedigaeth Rufeinig: ac yr oedd yn lle enwog hefyd am ei llawnder o bob arlwyon angenrheidiol. Wedi bod yma dros yspaid yn adgyfnerthu ac yn adnewyddu ei filwyr wedi eu taith flinderog, efe a benderfynodd arwain ei fyddin allan o'r ddinas, yn hytrach na gadael i'r gelyn gael y fantais o ymosod arno ynddi: ac yn fuan wedi ei ymadawiad, y Prydeiniaid a ruthrasant ar y ddinas, ac a'i hanrheithiasant yn ddiarbed, gan ladd y gwragedd a'r plant; a'r un ffunud y difrodasant breswylwyr Verulam; canys y Prydeiniaid, heb ofalu am ymosod ar yr amddiffynfeydd, lle yr oedd y gwarchawdluoedd arfog, a anrheithient y lleoedd mwyaf diamddiffyn, gan fod yn fwy awyddus i gymmeryd yspail fawr oddiar eu gelynion, nag i gymmeryd eu hamddiffynfeydd, a gwanychu eu grym milwraidd, yn yr hyn yr oeddynt yn cyfeiliorni.

Yn yr yspaid yma, dywaid *Tacitus* fod tua deng mil a thriugain o'r Rhufeiniaid a'u cyngrheirwyr wedi eu lladd: canys y Prydeiniaid nid arbedant hen nac ieuainc; ond ymddygent tuag atynt fel drwgweithredwyr yn hytrach nag fel gelynion.

O'r diwedd llwyddodd *Suetonius* i gynnull tua deng mil o arfogion yn nghyd, a phenderfynodd roddi brwydr i'r Prydeiniaid mor fuan ag y gallai, tra yr oedd ei filwyr yn enyn gan ysbryd ymddial am waed eu ceraint a'u cyfeillion: ac efe a gyfleodd ei fyddin mewn nant gul, a choedwig fawr o'r tu cefn iddo, fel nas gallasai y gelyn gael cyfle i ymosod arno o'r tu ol, a gwastadedd mawr o'i flaen, lle y gwersyllai y Prydeiniaid, yn llu mawr annysgyblaidd, eto yn dra hyderus y byddai iddynt drwy eu nifer mawr enill buddugoliaeth rwydd ar fyddin fechan Suetonius: a dygasent eu gwragedd a'u plant mewn pedrolfeni i'r maes, i fod yn dystion o'u buddugoliaeth, ac yn gyfranogion o'r yspail a addawent iddynt eu hunain.

Cyn y frwydr, Buddug, gan sefyll ar ei cherbyd, a gwaewffon yn ei llaw, a gyfarchai ei byddin fel y canlyn:—"Y mae yn adnabyddus i chwi, yn awr, pa faint y mae rhyddid yn rhagori ar gaethwasanaeth; canys os bu neb o honoch gynt yn anwybodus pa un sydd oreu, gan gael eu twyllo trwy addewidion gwenieithus y Rhufeiniaid; yr awrhon yn ddiau, gan brofi yr hyn sydd oreu, yr ydych wedi dysgu pa mor belled y cyfeiliornasoch, gan barchu gormesiad estronol uwchlaw defodau eich gwlad; yr ydych yn wybodus faint y mae tlodi y rhyddfreiniol yn rhagori ar olud y caethwas.

Pa beth sydd fwy gwaradwyddus, pa beth yn fwy blin, na'r hyn a ddyoddefasom er y pryd yr edrychasant hwy gyntaf ar Brydain? Oni ddifuddir ni o'n holl feddiannau goreu a helaethaf, ac o'r gweddill oni thalwn y dreth? Onid ydym, heblaw hyn oll, yn aredig ac yn trin y tir iddynt hwy, ac yn talu trethiad corphorol yn flyneddol iddynt?

"Pa faint gwell a fyddai, unwaith ymddarostwng i angeu, na pharhau dan ffugiol enwau rhyddid? Pa faint gwell gael ein llwyr ddyfetha, na dwyn oddiamgylch benau trethedig? Eithr paham y llefaraf yn y modd hyn? Nid oes rhyddhad oddiwrth drethiad i'r trancedig; ond y mae hyd yn nod y meirw yn drethedig. Yn mhlith dynion ereill, y mae angau yn rhydd hau oddiwrth drethiad; eithr gyda y Rhufeiniaid, y mae y meirw yn byw tuag at eu trethu, &c.*

"Eithr nyni ein hunain, os dywedaf wirionedd, oeddym yr achlysur o'r drygau hyn oll; y rhai yn y dechreu a oddefasom iddynt esgyn i'r ynys, ac na yrasom mo honynt ymaith yn ddiatreg o'r ynys, megis y gwnaethpwyd i *Julius Caisar*, ac fel y gwnaethom i *Augustus* ac i *Gaius Galigula*,† gan ddangos iddynt mai peryglus oedd ceisio mordwyo yma."

Ar ol amryw sylwadau i'r un defnydd, y Frenines a frysiodd i fynegi y modd yr oedd ei chydwladwyr yn rhagori ar y Rhufeiniaid:—"Hwynthwy," ebai hi am y Rhufeiniaid, "ni allant gan bwys eu harfau, nag ymlid na ffoi; ac os cyrchant allan ar unrhyw bryd, yn y man, ffoant i ryw le nodedig, ac yno y gyrir hwy genym, ac y'u cauir, megis mewn ffau. Ac yn enwedig yn y pethau hyn y maent o lawer yn waelach na nyni; sef na allant oddef na newyn na syched, nac oerni na gwres, fel nyni; eithr arnynt hwy y mae angen am dai a dillad, ac ŷd maluriedig, a gwin, ac olew; ac oni fwynhant y pethau hyn, trengu a wnant. Eithr i ni, pob llysieuyn a phob gwreiddyn sydd fara, pob gwlybwr sydd olew, pob dwfr sydd win, a phob pren sydd dŷ. Ac hefyd y mae yr holl leoedd yn adnabyddus i ni, ac yn gyfeillion a chydryfelwyr; ond iddynt hwy y maent yn ddyeithr ac yn elyniaethol. Nyni yn noethion a nofiwn yr afonydd; eithr hwynthwy, braidd y croesant mewn llongau. Am hyny ymosodwn arnynt yn hyderus a llwyddiannus: dangoswn iddynt mai ysgyfarnogod a chadnoaid ydynt, yn ceisio llywodraethu ar gwn a bleiddiaid."

A chan ddywedyd y geiriau hyn hi a ollyngodd o'i mynwes ysgyfarnog, er gweinyddiaw argoel: a phan redodd hono mewn modd a ddaroganai lwyddiant iddynt, yr holl dyrfa a floeddiasant gan orfoledd. A Buddug gan gyfodi ei dwylaw tua'r nef, a gyfarchai dduwies rhyfel yn y modd difrifolaf;‡ ac yna a arweiniai ei byddinoedd i gyfarfod y Rhufeiniaid: yr oedd yn dilyn ei lluman erbyn hyn tua chan' mil; ond bod llawer, os nid y rhan fwyaf o honynt yn wragedd a phlant, y rhai oeddynt wedi eu cythruddo trwy sarhad eu rhyw yn mhersonau Buddug a'i merched. Y rhai hyn a allasent wneyd rhywbeth yn eu hymosodiadau ar y Rhufeiniaid gwasgaredig yn yr amryfal drefedigaethau; ond erbyn iddynt gyfarfod â'r fyddin reolaidd, wedi ei chyfleu mor ddoeth a manteisiol ag yr ydoedd gan Suetonius, yr oeddynt yn fwy o rwystr nag o gymhorth. Yn y frwydr hon yr oedd Buddug yn dwyn ei dwy ferch a dreisiasid gyda hi yn ei cherbyd; a phan oedd y lluoedd ar daro, hi a gyf-

* Cyfeiriai yma, debygid, at ymddygiad y Rhufeiniaid tuag at ysgrif ewyllys ei gŵr, Prasutagus.

† Mae lle i feddwl oddiwrth hyn i'r ddau amherawdwr crybwylledig, nid yn unig fwriadu, ond cynnyg ymosod ar Frydain.

‡ Gwel Hanes Cymru, gan y Parch. T. Price.

archai ei milwyr drachefn, gan ddywedyd, ei fod yn beth arferol gan y Brytaniaid gael eu harwain i ryfel gan fenyw, eithr yn awr nad oedd hi ddim yn eu blaenori fel un wedi hanu oddiwrth hynafiaid ardderchog, er enill ei theyrnas a'i chyfoeth; eithr megis un o'r werin, er dialu am ffrewylliadau ei chorph, a'i sarhadau ei hunan a'i merched. Dywedai fod y duwiau eisoes wedi dangos y cospid y cyfryw annghyfiawnder, gan fod un leng wedi syrthio yn barod, yr hon a ryfygasai eu hwynebu mewn brwydr, a dywedai y byddai i'r lleill yn fuan, naill ai ymguddio o fewn eu caerau neu ffoi o'r wlad. A pha beth bynag a ddygwyddai, mai ei bwriad hi y dydd hwnw ydoedd naill ai buddugoliaeth neu syrthio; dyna oedd ei phenderfyniad fel menyw. Am y gwŷr, os dewisent yn hytrach, byddent fyw yn gaethweision.

Yr oedd Suetonius yntau, ar y llaw arall yn dra egnïol yn anog ei wŷr i beidio cymmeryd eu brawychu gan derfysg y barbariaid, ond i ymwroli yn hytrach yn eu herbyn.

Yna y lluoedd a gydruthrasant i'r frwydr, y Prydeiniaid a ddeuent yn mlaen gyda bloeddiadau croch; ond y Rhufeiniaid mewn dystawrwydd a threfn, nes dyfod yn ddigon agos i daflu eu picellau, ac yno y bu rhuthr echryslon. Y milwyr traed o bob tu a ymdrechent â'u gilydd, a'r marchwyr yn yr un modd. Y saethyddion Rhufeinig a ergydient at y cerbydau Brytanaidd, a'r rhai hyn a yrent i blith y Rhufeiniaid; eithr y Brytaniaid, gan eu bod heb lurigau, a ddyoddefasant niwed mawr oddiwrth y saethyddion. Yn mhen ychydig gwelid y Prydeiniaid yn ymderfysgu, ac yn cychwyn ffoi, ond yn cael eu lluddias gan eu cerbydau eu hunain, y rhai a'u rhwystrent i encilio, fel nad oedd dim i'w wneyd ond ymostwng i'r lladdfa, yr hon a fu mor ofnadwy, fel y dywedir i bedwar ugain mil gwympo yn feirw ar y maes cyfyng hwnw: canys nid arbedai y Rhufeiniaid na rhyw nac oed, ond lladdent bawb a syrthient i'w dwylaw: a dywedir am Buddug, er iddi ddianc â'i heinioes ganddi o'r maes gwaedlyd hwn, ei bod gan rym cywilydd a gofid o herwydd y fath golled, wedi rhoddi terfyn buan ar ei heinioes trwy gymmeryd gwenwyn. Felly dywaid *Tacitus;* ond y mae *Dion Cassius*, yr hanesydd Groegaidd, yn d'weyd na ddarfu i'r Rhufeiniaid enill y fuddugoliaeth hon mor rwydd ag y mynai eu haneswyr hwy eu hunain i ni gredu; ond bod y fuddugoliaeth wedi bod dros gryn yspaid yn dra amheus, a bod y Prydeiniaid, er fod llawer o honynt yn annghelfydd ar drin arfau rhyfel, wedi sefyll eu tir yn dra dewrwych yn erbyn ymosodiadau y llengau dysgyblaidd. Efe a ddywaid hefyd i lawer o'r Brytaniaid ddianc o'r alanastr yma, ac iddynt ymroddi i ryfel â'u gelynion drachefn; ond i Buddug yn y cyfamser farw o glefyd, ac i'w chydwladwyr ei chladdu gyda pharch ac anrhydedd o'r mwyaf. Efallai iddi gilio ar ol y faeddfa uchod tua gwlad y Gordofigwys, ac mai pan yn eu mysg hwy y bu hi farw, yn rhywle heb fod yn mhell o gymmydogaeth Caerwys, lle efallai yr ymladdodd Agricola y frwydr derfynol a lwyr ddarostyngodd y llwyth rhyfelgar hwnw; canys y mae yn y gymmydogeth hono olion amryw hen orsafau milwraidd Prydeinaidd a Rhufeinaidd; ac yn agos i dref Caerwys y mae maengolofn arw, a elwir hyd heddyw, "*Careg bedd Buddug,*" ac arno yn gerfiedig mewn hen lythyrenau lled annghelfydd, y geiriau hyn yn Lladin—"HIC JACIT ERBO . . . . OBIT." Heblaw hyny, rai blyneddau yn ol, caed aur-dorch werthfawr, mewn lle a elwir Bryn Siôn, ar dir y diweddar Mr. Thomas, o'r Downing. Y diweddar Ardalydd Westminister a'i prynai, am bedwar cant o bunnau, ac y mae yn nghadw mewn bri mawr yn *Heaton Hall:* a gwelsom yn y crybwyllion blaenorol fod Buddug yn gwisgo y cyfryw addurn.—Bod rhyfeloedd gwaedlyd wedi bod yn y cymmydogaethau crybwylledig, sydd eglur oddiwrth

enwau lleoedd, megis "Bryn y saethau," "Bryn y lladdfa," lle y mae esgyrn dynol yn dyrrau, fel y cludid y pridd er's blyneddau yn ol i'w ddefnyddio yn wrtaith; a dywedai un gŵr iddo weled yno baliad rhaw o esgyrn dynol digymmysg. . id yn mhell oddiyno hefyd y mae y lleoedd a elwir "Pant y Gwae," "Braich y Dadleu," "Pwll y Crogwydd," "Coetia yr Orsedd," a "Phant erwin;" enwau ydynt oll yn dynodi rhyw aerfa a fu yn y gymmydogaeth yn yr hen amser gynt.

Mae hyd yn nod yr haneswyr Rhufeinaidd eu hunain yn addef na ddarfu i'r fuddugoliaeth uchod gan Suetonius, lwyr ddiffoddi yr ysbryd annibynol a enynasid yn yr hen Gymry; ond bod minteioedd o honynt yma a thraw yn dangos tuedd barhaus i wrthryfela. Suetonius o'r herwydd a gadwai ei fyddin yn y maes, gan symud ei bebyll fel y gwelai yr angenrheidrwydd, a Nero a anfonai amryw filoedd o filwyr o'r Almaen i'w gynnorthwyo: ac yntau wedi derbyn y cyfnerthiad yma, a anfonai finteioedd arfog yma thraw i anrheithio â'r tan ac â'r cleddyf yr holl wledydd a wrthryfelasent, neu a ddrwgdybid o fod yn meithrin ysbryd gwrthryfel. Ond o'r diwedd, galwyd Suetonius adref, o herwydd annghymeradwyaeth y Llys o'i ymddygiadau creulawn at y Prydeiniaid, medd rhai, a phenodwyd *Petronius Turpulianus* yn ei le; yr hwn, gan ei fod yn ŵr o anian lonydd, ddiegni, ni chyffrodd y Cymry i ymosodiadau gelynol; ac nid ydym yn gwybod am ddim hynod a ddygwyddodd yn ystod ei raglawiaeth ef.

Ar ei ol ef, daeth *Trebellius Maximus* i'r rhaglawiaeth, tua'r flwyddyn 65, fel y tybir: yr oedd yntau o dymher gyffelyb i'w ragflaenor, ond ei filwyr ei hun, gan flino ar fywyd segur, a gyfodasant yn ei erbyn, fel y bu raid iddo yntau ymadael â'r ynys; a thua'r flwyddyn 69, daeth *Vectius Bolanus* i'r rhaglawiaeth: ac yntau trwy ei lwfrdra, a gadwai y Prydeiniaid yn llonydd; ond a roddai achlysur i'w filwyr ei hun wrthryfela yn ei erbyn; fel y bu raid iddo yn mhen tua dwy flynedd roddi ei raglawiaeth i fynu.

Fel hyn, mwynhaodd y Prydeiniaid heddwch dros yspaid terynasiad byr *Galba* ac *Otho*, ac yr oedd hyny yn dra dymunol iddynt, gan eu bod yn ystod eu rhyfeloedd â Suetonius wedi esgeuluso trin eu tiroedd, ac o'r herwydd wedi dyoddef newyn tost; ond pan ddaeth *Fespasian* i'r orsedd amherodrol, efe a anfonodd *Petilius Cerealis* â byddin gref ganddo i'r ynys hon, yr hwn yn fuan a ymosododd ar y Brigantwys, y rhai a gyfrifid y llwyth cryfaf a lluosocaf o'r genedl Frytanaidd; a bu llawer o frwydrau celyd rhyngddo a *Fenutius*, brenin y Brigantwys, yr hwn a ddaliodd at y Rhufeiniaid yn bybyr, fel y methodd Petilius a llwyr oresgyn ei diriogaethau er ei holl ymdrechion, ac er enill o hono ambell i frwydr arno. Ar ei ol ef y daeth *Julius Frontinns* i'r rhaglawiaeth, yr hwn a enillodd amryw fuddugoliaethau ar yr Essyllwyr, ac a dreiddiodd i eithafoedd swydd Forganwg; a dywedir fod maen ar fynydd y Gelli Gaer, yn cynnwys rhan o hen argraff, er cof am ei fynediad y ffordd hono, sef "VIE FRONTI," hyny yw, ffordd Ffrontinus. Ar ol y rhai hyn, tua'r flwyddyn 78, daeth *Julius Agricola* i'r rhaglawiaeth. Yr oedd y gŵr hwn yn dra chyfarwydd ar anianawd y Prydeiniaid, gan ei fod wedi dysgu ei egwyddorion milwraidd yn yr ynys hon dan Suetonius, a gwasanaethu yma dan amryw o'r rhaglawiaid a'i dilynasant, yn enwedig Bolanus a Cerealis. Efe a wnaeth fwy tuag at ddarostwng yr holl ynys dan iau y Rhufeiniaid, ac enill y trigolion i hoffi eu harglwyddi estronol, nag a wnelsai neb o'i flaen ef. Dechreuodd ddwyn ei deulu ei hun dan iawn lywodraeth, a'r milwyr Rhufeinig dan lywodraeth o'r fath fanylaf; gan gyfodi rhai i swyddau yn y fyddin, a'r gyfrif eu teilyngdod yn unig, yr hyn oedd yn sicrhau eu ffydd-

londeb. Symudodd rai o'r trethi oeddynt yn fwyaf gofidus i'r brodorion, ac a wnaeth ei oreu er atal trais a gormes; perswadiodd bendefigion y Cymry i arfer dull moethus y Rhufeiniaid o fyw a gwisgo, yn hytrach na'u dull dysyml eu hunain; ac fel hyn, llwyddodd i dori a nychu eu hysbryd annibynol a gwladgar, a'u darostwng heb yn wybod iddynt eu hunain yn gaethion yn ngwlad eu tadau.

Ychydig cyn ei ddyfodiad i'r rhaglawiaeth, yr oedd y Gordofigwys, pobl Gogledd Cymru, wedi dyfetha llu o farchogion Rhufeinig, y rhai oeddynt wedi eu sefydlu ar eu gororau, ac Agricola a benderfynodd arwain ei wŷr yn eu herbyn, ac ymosododd arnynt yn eu sefyllfa eu hunain yn y mynydd-dir, gan ¿eu dystrywio â lladdfa echrydus, fel y torwyd grym y llwyth yma yn hollol. Ond gan fod amryw o'u penaethiaid wedi encilio i ynys Fon, lle y caffai y Gordofigwys achles yn eu holl gyfyngderau, a'r hon oedd i Ogledd Cymru yn yr oes hono yn ystorfa a noddfa, yn gystal a chysegrfa grefyddol, am ba achos y'i gelwid "Mon mam Cymru," efe a benderfynodd ddarostwng yr ynysig hono yn hollol dan arglwyddiaeth Rufeinig; a chan nad oedd ganddo longau at ei wasanaeth, a'i bod eisoes yn rhy bell ar y tymhor ganddo i ymdroi i wneyd cychod i gludo ei filwyr drosodd, wedi gwneyd ymchwil manol am y beisleoedd yn yr afon, efe a archodd i'w wŷr traed gydio yn ngwrthaflau y marchogion, ac felly groesi yr afon ar iseldrai, ac ymosod ar yr ynyswyr yn ddioed; y cyfryw ymosodiad annysgwyliadwy a lanwodd y Cymry â braw, fel y rhoisant yr ynys i fynu i'w ddwylaw, ac yr atolygasant am heddwch; gan farnu mai ofer a fuasai iddynt feddwl gwrthsefyll dynion mor wrol, y rhai a groesent y môr mor ddiarswyd i ddyfod i'w gwlad. Dywaid *John Jones, Ysw., LL.D.*, yn ei Hanes Cymru, mai o Aber i'r Beaumaris yr oeddynt yn croesi; ac y mae yr afon yno ar drai isel yn gul a bâs, fel na buasai yn orchwyl anhawdd, yn enwedig i'r meirchfilwyr a'r milwyr Siermanaidd oeddynt yn myddin Agricola, y rhai a arferwyd o'u mebyd â chroesi afonydd, ag oeddynt oll yn nofwyr medrus. Ond y *Parch. H. Rowlands*, a farnai mai yn agos i'r un fan y croesid y Menai gan Agricola y pryd hwn, ag y'i croesasid bymtheng mlynedd yn ol o'r blaen gan Suetonius, a haera bod y lle a elwir "Crug," neu yn hytrach "Crig," eb efe, wedi ei alw ar enw y rhaglaw hwn, er cof am ei wersylliad yn y lle hwnw. Pa beth oedd seiliau y gwŷr uchod dros eu barn nis gwn, ac y mae yn debyg nad yw yn hawdd penderfynu pa le y croesid y Menai gan y fyddin hon: os trwy wlad yr Essyllwyr yr arweiniai Agricola ei fyddin, gan oresgyn Dyfed yn ei ffordd, fel y dywaid rhai haneswyr, wrth ddarlunio ei ddyfodiad i wneyd yr ymosodiad uchod ar y Gordofigwys, yna y mae yn hawdd i ni gasglu mai ar hyd Sarn Gwyddelin yr arweiniai ei fyddin; ac felly o rywle yn agos i Gaer Seiont yr oedd yn debycaf iddo groesi yr afon. Wedi i Agricola gael yr ynys i'w feddiant mor rwydd fel hyn, efe a drefnodd bethau yn y modd doethaf i gadw meddiant o honi i'r Rhufeiniaid rhagllaw.

Yn agos i begwm gorllewinol yr ynys y mae lle a elwir Crigill, neu "gricil," a elwid felly mae yn debyg er coffad o'r ymweliad yma gan Agricola: ac nid pell oddiyno y mae y lle a elwir Rhos colyn, neu "Rhos colofn" efallai, am yr arferai y Rhufeiniaid gyfodi cofofnau ar derfynau eithaf y gwledydd a ddarostyngid ganddynt. Yn y gymmydogaeth hono y mae *Bodior*, neu breswylfa y Llywydd Rhufeinaidd; ac o fewn ychydig filldiroedd oddiyno y *Presaddfed* neu *Preseddfod*, gair a wneir i fynu mewn rhan o'r Lladin *Præsido*, llywydd, a *seddfod*, ei lys barn; ar yr ochr arall i'r ynys y mae *Castellior*, hen amddiffynfa Rufeinaidd arall. Yr amser a ballai i mi grybwyll ychwaneg o olion arglwyddiaeth Rufeinaidd a ellir ganfod yn Mon.

Mae yn debyg mai ar ei ddychweliad o Fon y bu brwydr rhyngddo a'r Gordofigwys drachefn, yn agos i Foen Fenlli, yn y mynyddoedd rhwng Dyffryn Clwyd a swydd Fflint, ac y mae yno le a elwir "Bwlch Gricil" hyd yr oes hon, er cof o fod Agricola yno: oddiyno deuai rhagddo yn fuddugol trwy diriogaethau y Coreineifwys, a breswylient sir Gaerlleon, ac yn y flwyddyn 79, cymmerodd feddiant o *Mainceinion*, tref ac amddiffynfa ydoedd yn meddiant llwyth o Gymry a elwid *Syddynwys*, am mai ar drin tir a chadw anifeiliaid yr oeddynt yn byw. Yr oedd gan y llwyth yma orsaf neu dref fechan o fythod crynion rhwng yr afonydd Medlock ac Irwell, tua'r lle a elwir yn bresenol *Castle Field* yn *Manchester*, a seiliau yr hen amddiffynfa Gymreig a wnelsid o gerig a ddygasid yno o gloddfa *Collyhurts*, y rhai a drwsir yn rhwydd, ac a edrychant yn dda, am hyny y'i gelwid Mainceinion; ond y Rhufeiniaid, er Lladineiddio yr enw, a'i galwent *Mancunium*. O fewn yr amddiffynfa hono yr oedd tai eu hanifeiliaid, y rhai a borent y dydd yn y dyffryn, trwy yr hwn y dolena yr Irwell, lle y mae *Peel's Park* a'r rhedegfaes newydd; ac o'i amgylch yr oedd amryw amddiffynfeydd bychain, o ba rai y gwelir ôl un ar lethr y *Kersal Moor;* yr oedd un arall yn y fan lle y mae castell Irwell yn bresenol; ac un arall yn ochr Pendleton. Ar yr un lle ag y gorweddai hen dref Gymreig Mainceinion, yr adeiladai y Rhufeiniaid amddiffynfa gref, ac o'i deutu y sefydlasant drefedigaeth, yr hon a fu yn enwog dros oesoedd am ei masnach mewn moch, y rhai a fegid ganddynt ar fês y coed derw a gesglid yn y coedwigoedd derw mawrion a amgylchynent y dref grybwylledig: ac y mae tri maes ar ochr y Kersal Moor, a elwir eto ar y cyfrif hwnw, *Hog's Heys*, neu "Coetiau y Moch." Yr oedd un amddiffynfa Rufeinaidd gref yn nghwr plwyf Prestwich, o fewn ychydig filldiroedd i dref Manchester, lle y gwelir ei holion yn amlwg eto, yr hon a elwir *Lowcaster*, ond a elwir yn awr *Castle hill* (Bryn castell.) Y mae o gwbl yn yr ochr ogleddol i ddinas Manchester, ac yn agos iddi, olion chwech o amddiffynfeydd Rhufeinaidd, yr hyn a brawf fod yr hen *Mancunium* yn orsaf bwysig ganddynt.

Yn ystod y chwe' blynedd ganlynol, tra yr oedd Agricola trwy ei lywodraeth gyfiawn, a'i ymddygiadau tirion at y llwythau Prydeinaidd a ddarostyngasid dan iau y Rhufeiniaid, yn gwneyd mwy nag a wnaed gan neb o'i flaen i'w henill i gydymffurfio â defodau y Rhufeiniaid, a pharchu eu hawdurdod, efe a estynodd ei fuddugoliaethau yn mlaen tua'r Gogledd, hyd y *Grampian Hills*, yn mhell yn yr Alban. Yn y drydedd flwyddyn o'i raglawiaeth, darostyngodd yr ynys can belled a'r afon *Tay;* a'i arswyd oedd wedi disgyn ar yr Albaniaid i'r fath raddau, fel nad oedd ynddynt galon i'w lesteirio i adeiladu amddiffynfeydd yn eu gwlad, hyd yn nod mewn amgylchiadau a fuasai yn fanteisiol iddynt; a chyda golwg ar ei amddiffynfeydd, y mae rhai cyfarwydd a chraff yn dywedyd nad amlygodd unrhyw gadlywydd erioed fwy o synwyr a barn yn adeiladaeth ei amddiffynfeydd, a detholiaid eu sefyllfeydd. Nid oes genym hanes i gymmaint ag un amddiffynfa o'i eiddo, gael un amser ei chymmeryd trwy drais, ei rhoddi i fyny i ddwylaw y gelynion, neu ei gadael trwy ffoedigaeth; ond efe a'u hystoriai oll â digon o arlwy am flwyddyn gyfan, fel y gallai ei wŷr wneyd rhuthriadau mynych o honynt ar y gwledydd cyfnesol, ac os y gwarchaeid arnynt ynddynt, y gallent ddysgwyl yn amyneddus am ymwared. Trwy hyn yr oedd ei filwyr yn gallu treulio y gauaf yn ddiofn, gan fod y naill amddiffynfa yn cynnorthwyo y llall, ac felly y gelyn, yr hwn yn wastad a amcanai wneyd i fynu y gauaf yr hyn a gollasid yr haf, a siomid yn ei amcanion, ac a ddyrysid yn ei gynlluniau. Fel hyn yn ystod y bedwaredd flwyddyn o'i raglawiaeth, efe a orphenodd res o warchadgaerau, rhwng yr afonydd *Clyde* a'r *Fforth*, fel y cadwai y gelynion o'r tu ol iddynt, megis mewn ynys.

"Yn y bummed flwyddyn o'i ryfeliad, Agricola, gan fyned drwodd yn y gadrwysg gyntaf ar fôr, a oresgynodd lwythau anadnabyddus hyd y pryd hyny, mewn amryw frwydrau llwyddiannus, ac a blanodd filwyr yn yr ardaloedd gyferbyn a'r Iwerddon."

Yn yr haf canlynol, sef tua'r flwyddyn 83, efe a anfonodd ei lynges yn mlaen ar hyd yr oror, ac a ganlynodd ar y tir gyda'i fyddinoedd, ac a gafodd amryw gyfarfodydd â'r trigolion. Ond yn wyneb hyny, llwythau y Celyddon a ymgynnullasant yn arfog, gan benderfynu gwneyd ymdrech egnïol dros eu gwlad, a gwnaethant amryw ruthriadau mor ffyrnig ar wersylloedd y Rhufeiniaid, nes eu llenwi â braw, fel y ceisiai y rhai ofnog o honynt berswadio Agricola i ddychwelyd yn ol; yntau yn gwybod y byddai i'r Celyddon ruthro arnynt â byddinoedd lluosog, a ranai ei wŷr yn dri dosparth: yr hyn pan wybu y Celyddoniaid, newidiasant eu cynllun, ac ymosodasant ar y nawfed leng yn y nos, a rhwng cwsg a dychryn, cawsant gyfle i ladd y gwylwyr, ac i ruthro i mewn i ganol y gwersyll, lle yr oeddynt yn lladd yn eu cyfer; ond Agricola, can gynted ag y gwybu, a anfonodd gyfnerthiad o farchogion a gwŷr traed yno ar frys, ac yna y bu yno ymladd caled; ond o'r diwedd, bu raid i'r Celyddoniaid encilio, a cheisio lloches yn y coedwigoedd. Ond er mor ddinystriol a fuasai y frwydr hon, nid oedd yr un o'r ddwy blaid yn foddlawn i roddi i fynu, felly treulient y gauaf i ymbarotoi i ryfel eilwaith; ac yn nechreu haf y flwyddyn 84, Agricola a anfonodd ei lynges drachefn tua gororau yr Alban, ac efe ei hun a ganlynodd gyda'i fyddinoedd, hyd oni ddaeth at y fynyddres a elwir y *Grampians*, lle yr oedd y Celyddonwys yn gwersyllu, yn benderfynol i ymdrechu hyd yr eithaf dros eu gwlad a'u rhyddid. Y Celyddonwys a feddent yn eu byddin ddeng mil ar hugain o arfogion, dan dywysiad cadflaenor dewr o'r enw *Gwallawc;* y fyddin Rufeinaidd, er nad oedd mor luosawg, ydoedd wedi ei harfogi yn well, ac yn llawer mwy celfydd ar drin arfau rhyfel. Bu yma ymladd taer, hyd oni roddes y nos derfyn i'r frwydr, a dywaid *Tacitus*, yr hanesydd Rhufeinaidd, yr hwn oedd fab yn nghyfraith i Agricola, fod tua deng mil o'r Prydeiniaid wedi eu lladd yn y frwydr hon, a dim ond tri chant a thrugain o'r Rhufeiniaid, yr hyn a ddangosai ragoriaeth arfogaeth dda. Erbyn goleu y dydd dranoeth, ni chanfyddid yr un o'r brodorion; yr oedd dystawrwydd dwfn trwy yr holl wlad, ac ni welid ond bryniau anial, a mwg tai llosgedig, y rhai yr oedd y trigolion eu hunain wedi eu rhoddi ar dân ar eu ffoedigaeth o'r ardal.

Pan ddaeth yr hysbysiaid o'r llwyddiant yma i Rufain, yr amherawdwr Domitian a lanwyd o eiddigedd tuag at Agricola, o herwydd y mawrglod yr oedd wedi ei enill, ac efe a orchymynodd iddo roddi i fynu raglawiaeth Prydain, a dychwelyd i Rufain, dan y rhith o amcanu ei anrhydeddu; a chyn hir, bu y cadfridog enwog yma farw, yn bedair mlwydd a deugain oed; nid heb arwyddion lled amlwg ei fod wedi ei wenwyno, yn ol gorchymyn yr amherawdwr eiddigus; yr hwn a ofnai iddo fod yn fwy poblogaidd nag ef ei hunan gyda y Rhufeiniaid.

Gellir dywedyd mai hon oedd y fuddugoliaeth oresgynol olaf a enillodd y Rhufeiniaid yn Ynys Prydain; oblegyd gosodasant derfyn eu llywodraeth wrth y gwarchodres-gaerau, rhwng y Clwyd a'r Fforth. Ond y llwythau a drigianent ar y tu gogleddol i'r caerau hyny ni chydnabyddent eu rheolaeth; ond yr oeddynt yn byw yn annibynol yn eu mynyddau a'u coedydd, fel cyn dyfodiad yr estroniaid i'r ynys; ac ni ddarostyngwyd erioed mo honynt. Meddylia *Chalmers* mai y rhai hyn oeddynt y bobl a ymddangosent yn yr oesoedd canlynol dan yr enw Brithwyr, a'u bod o waedoliaeth Cymreig, yr un ffunud a'r rhai a breswylient ar yr ochr ddeheuol i'r Clwyd; ac un rheswm efallai am eu dygasedd at y Cymry

mewn oesoedd dyfodol, ydoedd eu bod hwy wedi cydymffurfio a chydym-gorphori megis â'r Rhufeiniaid, a'u cynnorthwyo ond odid yn eu hymosodiadau ar y Celyddonwys.

Ni wyddys ond y nesaf peth i ddim am helynt yr ynys hon dan y rhaglawiaid a ganlynasant Agricola yn y llywodraethiad o honi, am oddeutu deng mlynedd ar hugain, tebygir ei bod mewn cyflwr o heddwch cyffredinol dros yr yspaid crybwylledig; ond gorthrymder y swyddogion Rhufeinig o'r diwedd a gyffröodd anfoddlonrwydd mawr yn mysg y trigolion, a dinystriwyd rhai o'r caerau Rhufeinig rhwng y Fforth a'r Clwyd, a gorthrechasant y fyddin Rufeinig mewn brwydr; ac yr oedd y fath derfysg wedi ymgyffraw yn y wlad, fel y barnodd Adrian yn angenrheidiol iddo ddyfod drosodd ei hunan i geisio adferu pethau i iawn drefn; yr hyn a wnaeth yn y flwyddyn 121; ar ol gyru y Celyddonwys i gilio yn ol i'w rhan eu hunain o'r ynys, efe a gyfododd warchodglawdd neu fur o bridd, o'r afon Tyne hyd at y Solway, yn 80 milldir o hyd. Ar ol marwolaeth *Adrian* daeth *Antoninus Pius* i'r orsedd amherodrol, yn y flwyddyn 138. Yn amser ei deyrnasiad, dechreuodd y llwythau Celyddonaidd aflonyddu yr ardaloedd Rhufeinig drachefn: a'r amherawdwr a anfonodd *Urbicus* yn rhaglaw ar yr ynys hon yn y flwyddyn 140, a byddin gref ganddo; a hwn hefyd a lwyddodd i yru y Celyddonwys yn ol drachefn, ac adeiladodd fur arall o bridd neu dywarch, ar sail o gerig, rhwng y *Fforth* a'r *Clyde*, ar hyd yr un tir a rhes caerau Agricola. Y mur hwn oedd dros ddeng milldir ar hugain o hyd, yn 20 troedfedd o uchder, a 24 o led. Yr oedd ffos ar y tu gogleddol iddo, yn 40 troedfedd o led, ac 20 o ddyfnder; ac yr oedd ffordd lydan dda ar y tu deheuol, i'r milwyr dramwy o gaer i gaer, o ba gaerau yr oedd 19 ar hyd y mur. Y fath weithfeydd mawrion a wnaed gan y Rhufeiniaid er diogelu eu meddiant o'r gwledydd a ddarostyngasant! Y wlad rhwng y muriau, sef deheudir yr Alban, a warchadwyd yn y modd cyfyngaf gan y Rhufeiniaid—yr ydoedd yn llawn ffyrdd milwraidd yn ei chroesi yn mhob cyfeiryd, ac amddiffynfeydd lluosawg, yn y rhai y cyfleid gwarchodluoedd Rhufeinig; a hyn a fu ei chyflwr dros agos i 300 mlynedd; er hyny, nyni a ganfyddwn fod y trigolion, sef Cymry Ystrad Clwyd, wedi cadw eu hiaith gysefin yn dra dilwgr, fel pe na buasent erioed dan lywodraeth y bobl hyny, yr hyn sydd eglur a diwad oddiwrth gyfansoddiadau *Aneurin, Llywarch Hen,* &c., y rhai oeddynt o'r rhan hono o'r ynys.

Cafwyd maen mynor yn adfeilion hen fur Adrian, a'r argraff canlynol arno, er coffau y cyfnod dan ein sylw;

M. F. CL. PRISCO ICINIO ITALICO LEGATO
AUGUSTORUM PR. PR. PROV. CAPPADOCIÆ
PR. PR. PROV. BRITANNIÆ LEG. IIII. GALLICIÆ
PRÆF. COH. IIII. LINGONUM VEXILLO MIL.
ORNATO A DIVO HADRIANO IN EXPEDITIONE
JUDAIC.
Q. CASSIO. DOMITIUS PALUMBUS.*

Wrth yr argraff-faen uchod, deallwn i sicrwydd fod *Priscus Licinius* wedi bod yn rhaglaw yn yr ynys hon yn ystod teyrnasiad Adrian. Y mae hefyd ddarn o arian bathawl o deyrnasiad Adrian, ar un wyneb i'r hwn y mae darlun o'r amherawdwr yn nghyda thri o filwyr, y rhai, yn ol barn *Camden*, a gynnrychiolent y tair lleng a wnelent i fynu y fyddin Rufeinig yn yr ynys hon y pryd hyny: a thano yr argraff canlynol, "EXER BRITANNICUS." Ac un arall i'r un penadur, a'r arwyddair canlynol arno, "RESTITUTOR BRITANNI."

* A. Sammes. p. 254.

O'r diwedd, aeth ymosodiadau y Celyddonwys ar y dalaeth Rufeinig nesaf atynt, mor flin, fel y barnai yr amherawdwr *Sefer* yn angenrheidiol iddo ddyfod drosodd i drefnu moddion i'w gwrthsefyll; ac yn nghylch y flwyddyn 208, efe a arweiniodd fyddin gref i gospi y Celyddonwys: ond wedi ymdrafferthu yn fawr rhwng y mynyddoedd a'r coedydd a'r corsydd, heb allu gweled gelyn, gan fod y Celyddonwys yn rhy gyfrwys i ddyfod o'u cuddfeydd i gyfarfod â'r Rhufeiniaid mewn brwydr, efe a orfu ddychwelyd yn ol yn golledus. Y cadgyrchiad yma o'i eiddo a ddarlunir yn fywiog gan *Dion Cassius*, yr hwn a ddywaid—"Tra yr ydoedd yn treiddio trwy y wlad, cafodd drafferth annhraethadwy; gan dori coedydd, darostwng bryniau, gwneuthur pontydd dros yr afonydd, a chloddiau dros y corsydd; ond ni ymladdodd un frwydr, ac ni welodd fyddin o'r gelynion; eithr hwynt-hwy a osodent ddefaid a gwartheg ar y ffordd, fel pan grwydrai y milwyr ar eu hol, i'w dal, y'u maeddid yn hawdd gan y brodorion a gynllwynent iddynt. Blinid hwy yn ddirfawr hefyd gan y dyfroedd, a chan ymwasgaru oddiwrth eu gilydd, caent eu maglu; a rhai yn analluog i ganlyn eu taith, a leddid gan eu cyfeillion, fel na syrthient i ddwylaw y gelynion: ac yn y modd hyn, trengodd *deng mil a devgain* o'r milwyr." Yr oedd Sefer ei hunan y pryd yma mor fethiant gan y gymmalwst, fel yr oedd yn rhaid ei ddwyn oddiamgylch mewn cludai; eto cymmaint oedd ei awydd am ddarostwng y gweddill o'r ynys hon, fel y treiddiodd efe hyd ei heithafoedd gogleddol yn y cyflwr hwnw: eto bu raid iddo ddychwelyd fel y darluniwyd, heb gwblhau ei amcan: ac wedi dyfod i Gaerefrawg, efe a barodd adgyweirio mur Adrian, gan ei adeiladu oll o feini yn lle tywarch; ac er ei fod wedi amcanu gwneyd ail gadgyrchiad yn erbyn y Celyddonwys, efe a fu farw yn Nghaerefrog, yn y flwyddyn 211, cyn rhoddi yr amcan hwn mewn gweithrediad; a'i fab *Caracalla* a ddychwelodd ar frys i Rufain, rhag ofn y collai yr amherodraeth.

Gwnelid Sefer yn dduw gan y Rhufeiniaid: ond gwelwn mor ddibarch y'i trinid gan hen Gymry yr Alban. Dywaid rhai fod ei gorph wedi ei gludo mewn rhwysg mawr oddiyma i Rufain i'w gladdu; ond y mae ereill yn haeru i'w gorph gael ei losgi yn Mrydain, ac mai ei ludw yn unig a gludid i Rufain mewn llestr aur, ac a gyflewyd yn meddrod *Antoninus*. Ar ol hyn, ni chlywn nemawr am ymosodiadau y Celyddonwys ar y Rhufeiniaid, canys boddlonent debygid ar eu curo yn ol hyd hen fur Adrian, ac enill iddynt eu hunain gymmaint o helaethiad ar eu tiriogaethau. Ond yn amser *Constantius*, yr hwn a fu farw yn y flwyddyn 306, gwelir hwy drachefn ar y maes dan yr enw y Pictiaid, neu y Brithwyr; dan yr hwn enw y'i darlunir o hyn allan, ac nid dan yr enw Celyddonwys.

Dywaid amryw o'r hen haneswyr i Custeint wneyd heddwch trwyadl â'r Prydeiniaid, ac ymbriodi o hono âg *Elen*, merch i un o'r tywysogion Cymreig a elwid *Coel*, ac yn y canlyniad wedi dyfod yn benadur Prydain, ac yn gydamherawdwr â *Galerius*, i'r hwn y gadawai daleithiau yr Eidal ac Affrica, am eu bod yn rhy bell o Frydain, lle yr hoffai efe drigo. Efe a fu farw yn Nghaerefrog, wedi teyrnasu un mlynedd ar ddeg ar Frydain, a dwy flynedd fel amherawdwr y Taleithiau Gorllewinol. Dangosai Custeint garedigrwydd nid bychan i'r Cristionogion, y rhai, cyn ei ddyfodiad ef i'r llywodraeth, a ddyoddefasant erledigaethau llymion. Dywedir am dano ddarfod iddo ar un achlysur, er profi didwyllder ei lyswyr, beri hysbysu fod aberth cyhoeddus i gael ei offrymu i'r duwiau, a phwy bynag a fyddent yn absenol o'r oruchelwyl, ac a omeddant offrymu i'r duwiau, y byddai iddynt golli ffafr y llys; ond y byddai i'r rhai a gydffurfient gael parhad o'r ffafr. Yn wyneb y cyfryw gyhoeddiad, amryw o'r rhai a gymmerent arnynt o'r blaen fod yn Gristionogion, a gydymffurfient â chyhoeddiad y tywysog;

yntau yn y fan a fwriodd bob un o'r cyfyw rai o'i wasanaeth, gan ddywedyd, fod y sawl a allai fod yn anffyddlawn i Dduw yn sicr o fod yn anffyddlawn i'w dywysog; a chymmerth i'w wasanaeth, ac i'w ffafr, y Cristionogion hyny a fuasent yn ffyddlawn i'w proffes yn nydd eu profedigaeth. Ei wraig ef ydoedd Elen Luyddawg, a elwid felly, meddir, am iddi yn ei hen ddyddiau (dan deimladau crefyddol, ond trwy gamarweiniad yr athrawon crefyddol, y rhai y pryd hyny oeddynt yn dechreu ymlygru yn brysur) fyned â llu mawr ganddi i'r Tir Sactaidd, i chwilio am y groes, ar yr hon y dyoddefasai Prynwr y byd.

Mab Custeint o hon, medd rhai, oedd Cystenyn, yr hwn hefyd a elwir "Cystenyn Fawr," ac weithiau "Cystenyn Fendigaid." Dywedir ei fod ef yn Rhufain gyda'r amherawdwr Galerius, pan y clubu efe am glafychiad ei dad, ac efe a brysurodd oddiyno, fel y gallai weled ei dad cyn ei farw; yr hyn hefyd a gafodd, er ei lawenydd mawr. Dywedir fod ei dad Cusceint, pan y canfu ei fab yn yr ystafell, wedi cyfodi yn ei eistedd yn y gwely, a darfod iddo yn mhresenoldeb ei gynghorwyr lefaru fel hyn—"Mae genyf yma fedd-argraff a chofadail fawr, sef fy mab fy hun, yr hwn yr ydwyf yn ei adael i'm dilyn yn y llywodraeth; a'r hwn, drwy gymhorth Duw, a sych ymaith ddagrau y Cristionogion, ac a'u diala ar eu gormeswyr: ac yn hyn, uwchlaw pobpeth yr ydwyf yn ymgysuro." Ac wedi dywedyd y geiriau hyn, Custeint a fu farw, a'i fab Cystenyn a gyfodwyd i'r llywodraeth yn ei le, trwy ddewisiad brwdfrydig y fyddin Brydeinaidd; a chyn pen hir efe a enillodd yr holl amherodraeth orllewinol a dwyreiniol hefyd, ac a symudodd y llys amherodrol o Rufain i Byzantium, yr hon yn y canlyniad a alwyd ar ei enw, Caercystenyn.

Nid oes genyf ddim rhyw lawer o hanesion gwerth eu croniclo am Frydain, yn y cyfwng, o'r pryd hwn hyd oni ddaeth Gratian i orsedd orllewinol Rhufain; canys er uno yr amherodraeth yn Nghystenyn Fawr, hi a ranwyd drachefn yn ei feibion, ac a barhaodd yn rhanedig wedi hyny, y naill â'i lys amherodrol yn Ngaercystenyn, a'r llall yn Rhufain. Nid oedd Gratian ond llanc ieuanc pan ddechreuodd efe deyrnasu, heb fawr o egni cyneddfol, ac efe a ymollyngodd i fuchedd ofer ac anfuddiol, gan dreulio ei amser mewn helwriaeth, o'r hwn ddifyrwch yr oedd yn dra hoffus, a gwelid yn fuan nad oedd efe yn feddiannol ar y cymhwysderau angenrheidiol i gynnal y llywodraeth, yn enwedig yn y dyddiau hyny, pan wesgid ar yr amherodraeth o bob tu, gan ei gelynion barbaraidd.

Y pryd hyny yr oedd yn llywydd ar y byddinoedd Rhufeinig yn Mrydain, swyddog o'r enw Clemens Maximus, yr hwn a elwir yn yr hanesion Cymreig, Macsen Wledig, yr hwn, yn ol tystiolaeth rhai, oedd yn anedig o'r Hispaen; ond yn ol ereill, oedd yn anedig o'r ynys hon, ac o waedoliaeth Cystenyn; ac wedi bod yn gwasanaethu gyda chlod dan y blaenor Theodosius, mewn amryw ryfeloedd yn Mrydain ac ar y cyfandir. Ymddengys fod Macsen yn ŵr o anianawd tra uchelfrydus, ac iddo gael ei dramgwyddo yn fawr trwy i Gratian gyfodi Theodosius i'r amherodraeth, tra y cyfrifai ei hun yn deilyngach o'r anrhydedd hwnw: a chan ei fod yn dra phoblogaidd gyda'r fyddin Rufeinaidd oedd dan ei lywodraeth, efe a ryfygodd, yn y flwyddyn 383, wrthryfela yn erbyn ei hen feistr Gratian, a chymmeryd ei gyhoeddi yn amherawdwr gan y byddinoedd Prydeinaidd. A chan ei fod yn ymwybyddus nas gallai gadw ei sefyllfa yn hir, gyda y meddiant o Ynys Prydain yn unig, efe a benderfynodd gymmeryd meddiant o'r amherodraeth orllewinol oll.

Mae yr hanesion Cymreig yn dywedyd ei fod wedi priodi Helen, merch Eudaf, pendefig cadarn o Gaer Seiont, neu Gaerynarfon; ar enw yr hon y mae lle gerllaw y dref hono yn myned hyd heddyw, sef "Coed Helen."

Yr oedd i'r bendefiges hon frawd a elwid CYNAN, Arglwydd MEIRIADAWG, yn awr Arglwyddiaeth Dinbych, yr hwn ar y cyfrif hyny a elwid yn yr hen ysgrifau Cymreig, CYNAN MEIRIADAWG. A thrwy gynnorthwy a dylanwad y blaenor hwn, cyfodwyd byddin gref o Gymry i gynnorthwyo y byddinoedd rheolaidd; a Macsen, yn nghyda'i fyddinoedd, a aeth drosodd i'r cyfandir, ac a diriodd yn Llydaw, lle y bu rhai brwydrau rhyngddo a byddinoedd Gratian; y rhai a orchfygid ganddo, a chyrchai yn fuddugoliaethus tua Pharis, lle yr oedd yr amherawdwr penwan hwnw yn ymddifyru mewn helwriaeth, yn lle blaenori ei fyddinoedd i wrthsefyll cadgyrchiad Macsen. Wedi i Gratian gael ei orchfygu mewn brwydr, a'i adael gan ei filwyr, efe a ffodd tua'r Eidal; ond goddiweddwyd ef yn neheubarth Gâl gan rai o wŷr Macsen, y rhai a'i rhoddasant i farwolaeth.

Yr unrhyw hanesion Cymreig a'n hysbysant yn mhellach, fod Macsen ar hyn wedi rhoddi i Cynan Meiriadawg, a'r Cymry oeddynt dan ei flaenoriaeth, diroedd yn Llydaw, yn wobrwy am eu gwasanaeth, ac felly iddynt wladychu yno yn lle dychwelyd yn ol i Frydain. Ond Macsen ei hun a gyrchodd gyda'i fyddinoedd tua'r Eidal: ond Theodosius, amherawdwr y Dwyrain, a gyrchodd yn ei erbyn â byddin gref, ac a'i gorchfygodd; ac yn yr ymgyrch yma lladdwyd Macsen, yr hyn a ddygwyddodd yn y flwyddyn 388. Y mae chwedl yn gysylltiedig â hanes sefydliad Cynan yn Llydaw, yr hon a gawn yn y Brut; sef ar ol iddo ymsefydlu yn Llydaw, gan nad oedd y Prydeiniaid yn dewis ymgyfathrachu gyda phobl y wlad hono, anfonasant i Brydain am wragedd; ac yn ganlynol i'w cais, ddarfod i dywysoges o'r enw URSULA, yn nghydag 11,000 o forwynion pendefigol, a 60,000 o rai o iselradd,* hwylio tua gororau Llydaw; ond cyfododd tymhestl fawr, drwy yr hon y drylliwyd amryw o'r llongau, ac y gyrwyd y lleill ar hyd y moroedd, nes iddynt syrthio i ddwylaw GWYNWAS, brenin yr Huniaid, a MELWAS, brenin y Pictiaiaid, gan ba rai, am nad ymostyngai y morwynion i'w trachwant, y cawsent eu llofruddio yn ddidrugaredd; ac er côf o hyn y cedwir "Gwyl y Gwyryfon."

Mae y Trioedd Cymreig yn crybwyll am y cadgyrchiad uchod o eiddo Macsen a Chynan yn y modd canlynol:—

"Tair Cyforddwy a aethant o Ynys Prydain; cyntaf, yr un a aeth y gan Ur (Yrp) ab Erin Luyddawg o Lychlyn; ac efe a ddaeth i'r ynys hon yn amser Gadial ab Erin, i erchi cymhorth yr ynys hon, dan adduned na cheisiai o bob prifgaer, namyn y rhif a ddelai ganthaw iddi: ac ni ddelai ganthaw amgen nag un i'r gaer gyntaf, namyn ei hun a'i was Mathatta fawr, ac o hono, cael dau, ac i'r eilgaer, pedwar, ac o'r drydyddgaer, myned yn wyth, ac o'r nesaf, unarbymtheg: a herwydd hyny o gyfredyd o bob caer arall, hyd onid o'r gaer diweddaf, nis gellid eu rhif yn yr holl ynys. A chydag ef y daeth triugeint ac un mil, ac nis gellid iddo fwy na hyny yn yr holl ynys o wŷr cyfalleu, gan nad oedd namyn plant a henafgwyr ar ei ol. A llwyra lluydd a fu erioed oedd Ur ab Erin Luyddawg; ac ar ddiystyrdod y bu gan genedl y Cymry roddi hyny iddaw dan adduned anesgorawl, canys o hyny cafas y Coraniaid le i ddwyn cyrch gormes i'r ynys hon. Ac o'r gwŷr hyny ni ddaethant drachefn yr un o naddynt, nag o lin, nag o eppil iddynt. Sef ydd aethant ar gyrch cyforddwy hyd yn Mor Groeg, ac aros yno yn nhir Galas, ac Afena hyd heddyw, a myned yn Roegiait.—Ail Cyforddwy a ddyweiniwyd y gan Caswallawn ab Beli ab Manogan, a Gwenwynwyn a Gwanar, meibion Lliaws ab Nwyfre, ac Ar-

* Mae ereill, gyda mwy o debygolrwydd i fod yn gywir, yn dweyd 11,000 o gwbl, sef wyth mil o radd isel, a thair mil o rai pendefigaidd.

ianrod, ferch Beli, eu mam. Ac o Arllechwedd Galedin, ac Essyllwg, ac o Gydwelyddon y Belenwys ydd hanoeddynt; a rhif y gwyr hyny oeddynt driugeint ac un mil; a myned a wnaethant y gyda Chaswallawn eu hewythr, ar ol y Caisariaid drwy Fôr, hyd yn nhir Geli Llydaw, a hanoeddynt o Rial y Cymry: ac ni ddaeth un o honynt na'u heppil yn eu hol i'r ynys hon, eithr aros a wnaethant yn ngwlad Gwasgwyn, yn mysg y Caisariaid, lle y maent hyd yn awr; ac yn nghylch dial yr orddwy hono y daethant y Caisariaid gyntaf i'r ynys hon.—Trydydd Cyforddwy a ddyweiniwyd o'r ynys hon y gan Elen Luyddawg a Chynan ei brawd, Arglwydd Meiriadawc, hyd yn Llydaw, lle y cawsant diroedd, a chyfoeth, a theyrnedd y gan yr Ymherawdr Macsen Wledig, am ei ganllofi (gynnorthwo) yn erbyn gwŷr Rhufain. A'r gwŷr hyny a hannodd o Dir Meiriadawc, ac o Dir Seisyllwg, ac o dir Gwyr a Gorwennydd; ac ni ddaeth yn eu hol yr un o honynt; eithr aros yn Llydaw ac yn Ystre Gyfaelawg a wnaethant hwy, gan wladychu yno. Ac achos hon o gyforddwy y bu wanhad a diffyg gwŷr arfawc ar Genedl y Cymry, onid aethant y Gwyddyl Ffichti yn ormes arnynt: ac o hyny y gorfu ar Wrtheyrn Gwrthenau gyrchu Saeson i ladd (ymladd) yr ormes hono. A'r Saeson yn gweled gwendid y Cymry, a droisant yn Fradormes drwy gystlyniad y Gwyddyl Ffichti, a'r gwŷr difrawd â hwynt, a dwyn eu tiroedd oddiar y Cymry, a dwyn hefyd oddiarnynt eu braint a'u coron.

A *Thair Traha Gadarn* Cenedl y Cymry y gelwir y tair cyforddwy yma; a hefyd y *Tri Arianllu*, achos dwyn o honynt o'r ynys yr aur a'r ariant hyd y gellid eu cael o dwyll a dichell a difrawd, yn gystal ag o iawn a bodd; a'r *Tair Annoeth Luyddawd* a'u gelwir, am wanhau drwyddynt yr ynys hon gymmaint ag y rhoed lle drwy hyny i'r Tair Gormes Gadarn, sef y Coraniaid, a'r Caisariaid, a'r Saeson"—Tri. 14.

Mae yr hen hanesydd *Nennius*, yr hwn a ysgrifenai yn y ddegfed ganrif, yn dwyn ei dystiolaeth i'r ymfudiad hwn, gan ddywedyd, "Y rhai hyn ydynt y Brython Armoricaidd, ac yno yr arosant hyd y dydd heddyw; o achos eu habsenoldeb, Prydain a oresgynwyd gan genedloedd estronol, a'i hetifeddion a fwriwyd allan, *hyd nes caniateir cynnorthwy oddiwrth Dduw.*"*

Y mae yn y Mabinogion hefyd chwedl a elwir "Breuddwyd Macsen Wledig," yn cyfeirio at yr un peth; ac er fod y Breuddwyd dywededig yn ymddangos o gyfansoddiad mynachaidd, mor ddiweddar efallai a'r 14eg ganrif, ac yn dryfrith o ffugiadau ofergoelus, y mae yn brawf fod traddodiad byw yn mhlith y genedl trwy yr oesoedd am y cyfryw ymfudiad o Gymry mewn cyssylltiad â chadgyrchiad Macsen Wledig. Dywedir hefyd bod *Elen* merch *Eudaf ab Caradawg*, yr hon a briodasai Macsen, wedi peri gwneyd amryw ffyrdd trwy yr ynys, y rhai a elwir ffyrdd neu "Sarnau Elen:" y mae un o'r cyfryw, neu yn hytrach olion o honi, i'w gweled yn nghymmydogaeth Dolyddelen.

Y mudiad crybwylledig o gynnifer o arfogion allan o Frydain, a adawodd yr ynys mor egwan a diamddiffyn, fel nas gallai y trigolion a adawsid ynddi wrthsefyll rhuthriadau y gelynion barbaraidd a ddefnyddiasant yr arfod yma yn chwannog i'w blino: ond *Theodosius*, yr hwn a ddaethai i'r orsedd amherodrol ar ol Macsen, a ystyriai Ynys Prydain yn rhan ry werthfawr o'r amherodraeth i fod yn ddiofal yn ei chylch; ac felly efe a anfonodd gynnorthwyon drosodd, drwy y rhai y gorfodwyd y Scotiaid a'r Pictiaid i encilio i'r parthau gogleddol o'r ynys eto unwaith; a thrwy ystod teyrnasiad yr amherawdwr galluog hwnw, cafodd y rhai a gyfaneddent y rhan Rufeinig o'r wlad lonyddwch oddiwrth eu gelynion. Ond bu

* Gwel Hanes Cymru, gan y Parch. T. Price, t.d. 144.

farw Theodosius, pan nad oedd ei fab a'i etifedd, *Honorius*, namyn bachgenyn meddal, 11eg mlwydd oed; a phenodwyd un o'r enw *Stilico* i fod yn warcheidwad iddo, neu raglaw i ddwyn y llywodraeth yn mlaen tra fyddai dan oed. Hwn drwy ei uchelfrydedd, a andwyodd ei hunan a'i benadur ieuanc, ac a lanwodd yr amherodraeth âg ysbryd gwrthryfel, fel y bu raid galw y milwyr Rhufeinaidd o Frydain, i amddiffyn rhanau ereill o'r amherodraeth, nês at y brif ddinas. Yna y Prydeiniaid, pan welsant nad gwiw iddynt ddysgwyl cynnorthwy o Rufain, a ffurfiasant lywodraeth annibynol yn eu plith eu hunain, ac a etholasant un o'r enw *Marcus* yn amherawdwr, yr hwn, fel y bernir, oedd yn rhaglaw Rhufeinig yr ynys y pryd hwnw; ond hwn a'u hanfoddlonodd yn fuan, trwy ryw ymddygiadau o'i eiddo, fel y cyfodasant yn ei erbyn, ac y'i rhoddasant i farwolaeth. Yna yr etholasant un arall o'r enw *Gratian* i'r llywodraeth; ond yn mhen y pedwar mis, rhoddwyd hwn hefyd i farwolaeth. Yna yr etholasant filwr o radd isel, medd rhai: ond ereill a ddywedant ei fod yn frawd i *Aldroen*, brenin Llydaw;* ei enw oedd *Cystenyn*, ac ar gyfrif poblogrwydd ei enw, a'i egni cynneddfawl, efe a enillodd arglwyddiaeth dra thrwyadl ar y Prydeiniaid. Dywedir ddarfod iddo gymmeryd yn wraig bendefiges Rufeinaidd, o'r hon, yn ol y *Liber Landavensis*, y bu iddo ferch, yr hon a briodai Pebiau, fab Erb, brenin Gwent ac Ergyng, yr hwn oedd yn gefnderw i Tewdrig ab Teithfallt, brenin Morganwg, a thaid St. Dyfrig. Nid yw yn anhebyg mai y Cystenyn hwn a seliodd eglwys Llangystenyn yn Ergyng, gan ei gwaddoli, a'i daw Pebiau a'i rhoddes wedi hyny i Landaf, o'r hyn roddiad y cair prawf yn y *Liber Landavensis*, t.d. 314.

Bu i Cystenyn amryw feibion hefyd, yr henaf o ba rai a alwai *Constans*, yr hwn a ddaeth i'r llywodraeth ar ol ei dad. Dywedir mai ei feibion ef hefyd oeddynt Emrys Wledig, ac Uthr Bendragon.† Dywedir i un o'r Pictiaid yn mhen tua deng mlynedd, dan y rhith o geisio rhyw ymddiddan cyfrinachol âg ef, ei hudo i ymrodio mewn llwyn o goed neillduedig, lle y'i gwanodd â dagr, neu gyllell hir, fel y bu efe farw.

Wedi marwolaeth Cystenyn, fe ddywaid rhai o'n haneswyr fod cryn ymryson wedi bod rhwng y pendefigion yn nghylch yr olyniad i'r llywodraeth, gan fod Constans, mab hynaf Cystenyn, yn mynachdy Caerwynt, wedi ei neillduo i fuchedd eglwysig; ond *Gwrtheyrn* a'i cymmerodd o'r mynachdy, ac a fynodd ei wneuthur yn frenin, gan sicrhau iddo ei hunan yr holl wir awdurdod, fel ei raglaw: a chyn pen hir, efe a gafodd gyfleusdra bradwrus i lofruddio y brenin ieuanc, ac heb gydsyniad pendefigion ereill yr ynys, efe a drawsfeddiannodd yr orsedd. Ond gan y daw hanes *Gwrtheyrn* a'i weithredoedd dan ein sylw yn naturiol mewn darlith arall, nid ymhelaethwn ar hyn yma.

Oddeutu y pryd yma, debygid, y Brytaniaid yn cael eu blino yn barhaus gan y llwythau gogleddol, ac annghydfod yn eu plith eu hunain yn eu gwneyd yn rhy weiniaid i'w gwrthsefyll, a anfonasant unwaith eto i ofyn cynnorthwy gan eu hen gyfeillion, y Rhufeiniaid; ac y mae *Gildas* wedi cadw crynodeb o'r llythyr a anfonent at y llywydd *Ætius*, ar yr achlysur, yr hwn sydd fel y canlyn:—

"At Ætius, tair gwaith Consul; ocheneidiau y Brytaniaid. Y Barbariaid a'n gyrant i'r môr, a'r môr a'n gyra yn ol at y Barbariaid; rhwng y rhai hyn, cyfoda dau fath o drancedigaethau, naill a'i fe'n cigyddir, neu fe'n boddir."

* Girald. Cambrensis, lib. vi. p. 43. Owen's Hist. of Wales, p. 112. Warrinnton's History of Wales, p. 33.

† Williams's Biographical Dictionary of Welshmen.

Ond ni dderbyniodd yr ynys hon gynnorthwy mwyach o Rufain; canys yr oedd gan ei byddinoedd fwy na digon i wneuthur, i wrthsefyll rhuthrau eu gelynion barbaraidd yn nghalon yr amherodraeth; canys yr oedd rhyw gyffroad rhyfeddol yn awr wedi dyfod i gynhyrfu cenedloedd y ddaear, a'u gyru yn unfryd yn erbyn amherodraeth Rhufain. Felly, y ddiweddaf o'r byddinoedd Rhufeinaidd a ymadawodd o'r ynys hon tua'r flwyddyn 446, ac yn y flwyddyn 476 y llwyr ddiffoddwyd amherodraeth y Gorllewin, dan deyrnasiad Augustulus, yr olaf o amherawdwyr Rhufain.

Dyma ni wedi bod yn ceisio rhoddi brasddarluniad o'r "bwystfil ofnadwy ac erchyll, a chryf ragorol," a welsai Daniel: yr hwn yr oedd iddo ddannedd mawrion o haiarn, ac oedd yn bwytta, ac yn dryllio, ac yn sathru y gweddill dan ei draed; yn rhoddi ei bawen ofnadwy ar Ynys Prydain, gan wasgu ein hynafiaid dewrion yn arswydus.

Y mae hanes trigias y Rhufeiniaid yn yr ynys hon, effeithiau y trigias hwnw ar iaith, moesau, ac amgylchiadau y cynfrodorion, dadfeiliad eu rhwysg cyffredinol, a'u henciliad o Frydain, yn cynnwys testynau y buasai yn ddifyrus ymchwilio yn llawer pellach iddynt nag y cawsom ni hamdden i wneyd yn narpariad y Ddarlith hon: ond ni oddef y ffiniau a osodasom i ni ein hunain, i ni ymhelaethu, gan hyny, terfynwn y Ddarlith yma, gyda rhai casgliadau oddiwrth yr hyn a fu dan sylw:—1. Gwelwn nad oedd diffyg o ddewrder personol yn mysg ein cyndadau; canys er nad oeddynt ond noethion o ran arfogaeth mewn cymhariaeth â'r Rhufeiniaid, ac annghyfarwydd hefyd ar y celfyddydau milwraidd, ni chafodd y Rhufeiniaid, gymmaint o orchest i oresgyn holl wledydd Ewrop, ag a gawsant i oresgyn Ynys Brydain. Ac yn nodweddion Caswallon a Charadawg, Buddug a Gwallawc, ac ereill o'u pendefigion, cawn enghreifftiau o'r gwladgarwch mwyaf twym, a'r dewrder mwyaf dihafal, fel nad wyf yn meddwl y gall yr oesoedd diweddar ddangos eu heilfydd, a chymmeryd i ystyriaeth eu hanfanteision, ac enwogrwydd milwraidd y rhai a wrthsafent.

2. Gwelwn mai y *prif*, os nad yr *unig* achos i'r Rhufeiniaid allu cael gorphwysdra i wadn eu troed o fewn ein hynys, oedd annghytundeb yr amryfal lwythi yn eu plith eu hunain, ac eiddigedd y mân benaethiaid o'u gilydd; fel y cyfodai bradwyr, yn enwedig o fysg dychweledigion diweddar i'r ynys, megis y Belgwys, y rhai nid oeddynt wedi cydymgorphori yn drwyadl â'r cynfrodorion, gan y rhai y cawsent hwy nawdd a chroesaw yn eu cyfyngderau mwyaf.—Y mae coffa y gwroniaid gwladgarol a ffyddlawn yn hyfryd, a'u henwau eto yn arogli yn beraidd i'w holafiaid; tra y mae enwau bradwyr ein gwlad a'u cenedl yn ffiaidd, a'n coffa yn cynhyrfu dygasedd o'u mewn.

3. Gwelwn ddoethineb y Llywydd goruchel, a'i ddaioni tuag at ein cenedl, yn ei waith yn goruwch-lywodraethu ysbryd uchelfrydig a chalon drachwantus y Rhufeiniaid, yn eu hymosodiad ar Frydain, i fod yn foddion gwanychiad gefynau eu coelgrefydd, a'u parotoad i dderbyn yr Efengyl, ac egwyddorion gwir grefydd. Trwy fradychiad Caradawg gan Aregwedd Föeddawg, achlysurwyd dwyn ei dad Bran ab Llyr yn wystl dros ei fab i Rufain, lle y clywodd yr efengyl, ac y'i dysgwyd yn egwyddorion y grefydd Gristionogol: a thrwy oresgyniad Ynys Fon gan Suetonius yn gyntaf, ac yn llwyrach gan Agricola, dystrywiwyd yr Athrofa Dderwyddol, a chwalwyd yr athrawon, fel nad oedd cymmaint o rym gwrthwynebol i ledaeniad egwyddorion Cristionogaeth yn y tir.

# CYWYDD AR DDEWRDER CARADOG,

GAN R. DAVIES, NANTGLYN.

Pwy yw'r dyn o'r Prydeiniaid
Uchaf a threchaf wrth raid,
Fu'n cadw ei wlad rhag brad bron
Dystryw caethiwed estron?
Yn ol cofiant honiant hawl
Gywir hanes gorhenawl,
Pôr nodawl, Mab Bran ydoedd,
Cred a gair CARADOG oedd.

Pan fu ymgais Iwl Caisar
Dros y byd am drais a bâr,
A'i fawr chwant i'w feddiant fo
Gael tyniad pob gwlad tano,
A phenau coronau crain
Yn wyr rhif dan iau Rhufain;
Ac wedi difrodi'n frau
Doreithus wladwriaethau,
A darostwng i dristyd
Amryw fan yn y mawr fyd,
Troes ei gledd trwy duedd dig
At Frydain, hynt friwedig:
Llythyr gyrai, mal sai'r son,
Atgas oll at Gaswallon,
Am ufudd-dod hynod hèr,
I 'mostwng i'w rymusder,
Trwy anfon gwystlon yn gain
A'u trofa'n ddeiliaid Rhufain,
Am lawn deyrnged, addfed un,
Neu ryfel ddiwarafun.

Galwodd y call Gaswallon
Y gwŷr o fraint ger ei fron,
Eang hyrwydd gynghoriaid,
Prif Frython, blaenion ei blaid,
I gael rhoi i glyw y rhai'n
Y dymhestl oedd yn damwain,
A'r taranau briwiau brad
O Gaisar a'i agosiad.
Y dewrion Frython un fryd
Yn ddyfrys wnai ddïofryd
Am ateb gwyneb di gêl
I Rhufain, mam y rhyfel,
Ac ateb pawb yn gytun,
Oll o'u sedd, oedd fel llais un:—
"Ein tud ni a'n tadau'n ol
Yw Prydain, fraint priodol,
Cadwn ynghyd hefyd hon
O laesdrais cenedl estron,
Heb ofn geiriau gau un gŵr,
Na gwarth rwymau gorthrymwr,
Na bloedd lawn, wydlawn, waedlyd,
Treisiwr a diboblwr byd:
Teyrnged na gwystl, taer ungais
Nis talwn, trechwn bob trais,
Nid awn dan iau beichiau bâr,
Na gweision byth i Gaisar."

Ar hyn Caisar lachar lu,
A'i ddur oll, a'i ddewr allu,
Gynnullodd egni hollawl
I'w fawr fost a'i ofer fawl,
Tua Prydain gain ei gwedd
Moriasant mewn mawr rysedd.

Y Brython hybar hwythau,
A môr i'w cylch fel mur cau,
Gyda'u brenin glasfin gledd
Ar y maes mewn grymusedd;
Gwelent, pan edrychent draw,
Y mileiniaid am laniaw:
Cadawg fyddinai'r cedyrn,
Gan restru 'nol canu'r cyrn,
A'r môr i'w gyfor a gaid
Ar ei fin o Rufeiniaid;
Ac i'w mysg, uwch terfysg ton,
Brathawl ergydiai'r Brython
Bicellau a saethau sig
Yn gawodau gwaywedig,
Nes trywanu'r estroniaid
Yn gnwd gnif i'r llif a'r llaid;
O! ellylled archollion,
Gorwaed oer du'n gwrido'r don!
Gwelai'r Caisar mai da'r daith
Droi'i olwg adre' eilwaith.

Drwy gronfa d'ai'r gŵr anferth
Yma'n ol â mwy o nerth,
Glaniai a thiriai'r waith hon
Heb wir waethaf y Brython;
Lladdfa ddirfawr folltawr fu
Yn ddi atal o'r ddeutu;
Ac er tiriaw'r gwyr taerion
Hir-ddrain fu Brydain i'w bron,
Troi a wnaent yn mhen tro'n ol
Yn ddynion aflwyddiannol.

Rhufain yn mhen rhyw enyd,
Gan uchder balchder ei bryd,
Oedd eto am dirio'n deg
I Frydain, y fro wiwdeg,

Ar hyder cael gafael gu,
Modd unwaith i'w meddiannu;
Galwyd gynt i'r hynt fawr hon,
Dawch allu pob dichellion;
Arfogwyd, a llogwyd llu,
Dorf fawr oll, dirfawr allu,
A phwyntiaw elephantiaid
Geirw yn lle meirch, groenllwm haid;
Yn ddirgel iawn chwyrnlawn chwant,
A throsodd y rhuthrasant
Ar y Brython gwirion gwyl,
Byd esgaeth, heb eu dysgwyl;
Yn haiarnawl, blyngawl blaid,
Ac estylch rif locustiaid.

Cynfelyn, cawn ei foli,
A dewrion Frython o fri,
I'w hatal drwy'n hardal hon
Ar y maes fu rymusion:
Ond Caradog, d'wysog da,
Fawr alarch, fu wrola';
Gŵr o aerwr goreuryw,
Tyst ei nerth, ein testyn yw;
Gŵr glanbryd o ysbryd Iau
Anorfod yn ei arfau:
Difalch fryd mewn gwynfyd gwaith,
Dilwrf mewn adfyd eilwaith;
Diddryngnaws yn achaws neb,
Diweniaith, na dau wyneb;
Carwr ei wlad fad a fu,
Gwron, a'i wlad i'w garu;
Rhyfelwr hoyw o filoedd,
Fab a dawn o'i febyd oedd;—
Deg ar hugain, filain fodd
Rhagorwych, brwydr a gariodd,
Ar Rufeiniaid haid di hedd,
Treiswyr yn dilyn trawsedd;
Tros saith mlynedd â'i gledd glain
Pridawl ddiffynodd Prydain,
Yn erbyn grym cyndyn certh
Enynfa Rhufain anferth.

Wrth selu rheithus olwg
Ar fryn lu'r gelyn lawn gwg,
A'i fod i'w gyfarfod fo
A mawr gad am ergydio,
Caradog odidog dôn,
Fe areithiodd i'w Frython:—
"O frodyr, ein hyfrydwch
Yw cadw'n gwlad rhag triniad trwch;
Ein bywydau heb oediad,
Rhown dros freiniau, gleiniau'n gwlad;
Gafaelwch, enwog filwyr,
Cedwch i'ch bron galon gwŷr:
Cofiwch ddewrder grymder graid,
Uwch nifer, eich henafiaid;
Ymnerthwch yma'n wyrthiawl
Am eich bro, 'ch eiddo, a'ch hawl:
I lawr, i lawr maluriwch
Y taerion ladron i lwch;—
Atynt yn awr, laddfawr lu!"
Ac erchyll yr ymgyrchu;
Hir bu yno ddarnio'n ddig,
Dyblu gwaed diblygedig;
Y taer Rufeiniaid diradd
Dros eu lle, am drais a lladd,
A'r Brython hawnion eu llid,
Mor haeddol am eu rhyddid.

Tra Caradog freiniog frig,
Llywydd od, yn lluddedig:
Curtis Finddu, fagddu fodd,
Bryd uchel a'i bradychodd;
Och! golled ar led i'w lu
Fu'r dichell o'i fradychu;
Ei drosglwyddo'n eiddo wnaid
Ar y fan i'r Rhufeiniaid;
Eu llu'n hyn fu'n llawenhau
O'i dyniad i gadwynau;
Ei wraig a'i blant aethant oll,
Ran erch! dan yr un archoll,
A'i frodyr cun i'r un rwyd,
A mawrion wŷr gymmerwyd,
Druain! i Rufain heb rus,
Eu cludwyd ger bron Claudus.
Dygwyd ei weinidogion
A'i eirf heirdd i'r yrfa hon,
Ei euraidd goron orwych,
A'i dyrch aur, rhagoraur gwych,
I ddangos llwydd, sicrwydd sain,
Y rhyfel ger gwydd Rhufain.
Caradog, hy' ŵr ydoedd,
Ofni dyn o'i fewn nid oedd;
Pob caeth oedd ddilathr athrist,
A salw drem benisel drist;
Ond Caradog siriog sel,
Heb och, oedd wyneb uchel;
Dywedodd yn ei didau,
O lafar rhydd, heb lwfrhau,
Yn hyf, ac o flaen hefyd,
Senedd, a phen bonedd byd.

"Claudus Caisar, llefaraf
Air atad, os cenad caf,—
Ynys Prydain, gywrain gais,
Hoff enwog a ddiffynais:
Prif anel fy rhyfeloedd
A'm dyled i'm deiliaid oedd:

Wyf etifedd gorsedd gain
Priodol goron Prydain.
Nid rhyfedd bod nod fy nerth
I'w chynnal fel ei channerth;
Nid am sel ac uchel gais,
Ond am ryddid ymroddais:
Os da'r ymdrechais, a doeth,
Gwir i'ch cof goreu'ch cyfoeth;
Caled fy heiyrn coeliwch
Am waith brad, i'm hoff wlad fflwch:
Oeddwn berchen diweddar
Goludon a gweision gwâr;
Trysorion rhagorion, gant,
Milwyr mewn rhwysg a moliant,
A rhyfelfeirch rif hwylfawr,
Byd mwyth, a cherbydau mawr—
Ni feddaf heddyw'n foddion
Dan haul, ond y gadwaen hon!
O golli'm gwlad glodadwy,
Mae'ch plaid Rufeiniaid, yn fwy;
Os cedwch, wyf is cadwyn,
I'm ynghyd fy mywyd mwyn,
Byddaf yn dystiant bywdda
O'ch tynerwch, degwch da."

Rhyfedd gan ddoethion Rhufain
A dwys oedd glywed ei sain;
Ar y gair yr agorwyd
Pob bron yn rhyddion o'u rhwydd,
A rhyddid prid i Fab Bran,
Hollawl o hyny allan.
A dyna'r pryd, hyfryd hedd,
Gywir fael er gorfoledd,
Gyda thylwyth briglwyth Bran,
Fel enaint nefol anian,
D'ai'r ddoeth Efengyl goeth gain
Fawredig gynta'i Frydain.

Hyn sydd gof hen oesoedd gynt
Dyddiau terfysglyd oeddynt;
Gwae ar wae, hirwae o hyd;
Poen ar boen, pwn hir benyd;
Ing ar ing, angeu ar waith;
Galar ar alar eilwaith;—
Iolwn Ner, rhag trawsder trwch,
Mae'n haeddol am ein heddwch.

Ychwanegwn rai rhannau o Gywydd Arobryn ar "Ymdrech Buddug yn erbyn y Rhufeiniaid," gan y diweddar Barch. E. Hughes, Bocffari.

*  *  *  *  *

Gwawriodd dydd—a haf-ddydd hwn,
A roi wendeg ar wyndwn,
Ac eurwisg ar bob goror,
Ochrau maith, a chyrau môr.
Pan roed bloedd gyhoedd drwy'r gâd
Ar filoedd i ryfeliad,
Ebrwydd, ar arwydd, hir rif,
Banerawg, byw, aneirif,
Cerbydau, a charnau chwyrn
Meirch y gad, mawrwych gedyrn;
Y darian, a'r pladuriau,
Dros y tir, gwelir yn gwau:
Torf wasgar, lawn terfysgoedd,
Pob cerbyd fal yspryd oedd!
Ar y gelyn oer gilwg,
Rhuthrent, a gyrent mewn gwg:
Yntau'n ddur, a mur un modd,
Un enaid a'i henynodd.
Y Fanon, un eon, oedd
Blaenores y blin yroedd;
Ac ar gerbyd tanllyd hon,
Aflonydd, fyw olwynion;
Ei dwy ferch, diau o fodd,
Cain luniau, a'i canlynodd.

Eu llygaid yn danbaid ynt,
A'u galar oll a gelynt:
Dial a roes, do, ail wrid
A'r ruddiau'r rhai'n o Ryddid!
A'u bronau, caerau cariad,
Yn noethion, gwynion trwy'r gad,
Eu gyriad sydd ar gorwynt,
A'u gwallt yn droellau'n y gwynt!

Gwroniaid myg yr ynys,
Milwyr o fraint, mal ar frys,
Wrth weled hyfed yw hynt
Yr eiddil dair ymroddynt;
Eu holwynion dilynant,
Ail fywyd ac ysbryd gânt.
Weithiau o'u bwau buain,
Syth yr hêd saethau y rhai'n;
A'r hirbell bicell i'w bôn,
I galonau gelynion.
Pladuriau (arfau erfawr
Poethion olwynion) i lawr
Megys ŷd, (och waedlyd chwant!)
Mil o eraill maluriant:
Tra gyrant, troau gorwyllt,
Trwy lu blin byddin fal byllt.

Drwy'r gwaed hyd yr egwydydd,
Weithiau'r ânt, rhedant yn rhydd,
I ganol (o fawr gyni!)
Gelynion llymion yn lli'.
Llu ar lu yn llwyr â'i lawr,
Torfoedd ar dorfoedd dirfawr;
Llaw wrth law (difraw) a dur,
Irad alon yw'r dolur.
Angau 'mhob lliwiau a llun
Oer a welir, arw eilun:
A'i waeddiadau oedd ddidawl,
Rhwng bloedd y miloedd a'u mawl.
Ond O! er llywio'r lluoedd
Gan yspryd yn danllyd oedd,
Rhyw dynged—dynged ingol
I'r Brython wychion sy'n ol!
Aeth cri a gweddi i'r gwynt,
Ran duwiau ni wrandawynt!
Trwy amryw gad ofnadwy,
A brad oedd ymweliad mwy,
Yr oeddynt i gyrhaeddyd
Rhoddiad o ben Rhyddid byd.

Y ddu nos a ddynesodd:
Tafl dy len, f'awen, o fodd,
Ar y maes, lle'n oer a mud
Hyd elltydd, yn ngwaed alltud,
Wyth deg mil, wych heppil chwyrn,
Rhin a gwaed yr hen gedyrn,
Sy'n gorwedd, gorwedd yn gau,
Mawr och ing! yn mraich angau!
* * * * *

Yn nirgelaf ystafell
Ei llys gynt, lle bu llais gwell,
Y Fanon o wiw fonedd
Yn awr y sy'n oer ei sedd.
Nid wylaw mae'n ei dulen,
Er ar law pwysaw y pen;
A grudd brudd; ond gradd a bri
Na chwynant yn ei chyni,
Yn ei gwedd ynt enwog wawl,
A mawredd uwchlaw marwawl!

Eisoes o'r byd a'i drasau,
A mawredd hwn, ymryddhau
Wna'i hysbryd; byd heb oedi
Ysbrydion i'w bron yw bri.
O'i blaen y tybia luniau
Hynafiaid yn dibaid wau;
Gwŷr o einioes goronawg.
Oesoedd—hir oesoedd yr hawg!
Tra heibio'r ant trwy barhau,
Amneidiant â mwyn nodau
Ar hon, eu hil, i'w dilyn,
A'u hiaith, fal tybiaf, yw hyn:—
"Pa le, Boadicea,
Dan gel yn ddiogel dda,
Y trigi'n awr, erfawr wawd
Rhufeiniaid, neu rhy fwynwawd!
I fynu dal dy fonedd;
Na gwall o barch gwell yw bedd;
Na foddia'u gwŷn, na fydd gaeth,"
A chiliant fal drychiolaeth. * * * *

*O'r Gwyneddion.*

# DARLITH IV.

## DYGIAD CRISTIONOGAETH I FRYDAIN.

Y MAE y geiriau hyny o eiddo Solomon fab Dafydd, brenin Israel, yn cael eu gwirio mewn myrdd a mwy o amgylchiadau yn mhob oes—"Oddiwrth yr Arglwydd y mae cerddediad gŵr: ond beth a ddeall dyn o'i ffordd ei hun?" Diar. 20. 24; ac felly y bu yn nodedig yn amgylchiadau dygiad Cristionogaeth gyntaf i Ynys Prydain. Pe na buasai Caradawg wedi gwneuthur y fath wrthsafiad dewrwych yn erbyn holl rym y Rhufeiniaid dros gynnifer o flyneddoedd, nes gorfodi hyd yn nod ei elynion i fawrygu ei nodweddiad fel gwladgarwr gwiw, a gwron dihafal, ni buasai mwy o sylw yn cael ei wneyd o hono ef nag a wnelai y Rhufeiniaid trahaus o ugeiniau o dywysogion eraill a gymmerid ganddynt yn garcharorion rhyfel: ac er chwerwed oedd iddo gael ei fradychu gan frenines y Brigantwys, a'i ddwyn mewn cadwynau i Rufain, i'w wneyd yn

ddrych i'r Eidaliaid, ac i chwanegu gogoniant buddugoliaethol yr amherawdwr galluog Claudius Caisar, yr hyn yn ddiau a barai alar dwys i'w ddeiliaid ffyddlawn, a'i filwyr dewrion, a ymladdasent gynnifer o frwydrau celyd dan ei luman enwog, bu hyny yn achlysur o'r drugaredd fwyaf i Frydain; canys y Goruchaf yn hyn hefyd a barodd i gynddaredd dyn ei foliannu, ac a ataliodd weddill cynddaredd mewn iawn bryd.

Wedi y frwydr waedlyd, yn yr hon y gorchfygai *Ostorius*, y rhaglaw Rhufeinig, fyddin Caradawg, ac mewn canlyniad i'r hon y'i bradychwyd yntau; dygid ef, a'i dad hybarchus, *Bran ab Llyr Llediaith*, yn nghyda'i holl deulu, yn garcharorion i Rufain; ond mewn canlyniad i ymddygiad eofn, ac araeth ardderchog Caradawg o flaen Caisar, a'i holl fonedd, parwyd ei ryddhau ef a'i deulu o'u cadwynau; ac efallai i Caradawg, a'i wraig, a'i ferch, gael dychwelyd yn ol i'w wlad ei hun a'i diriogaethau treftadawl, dan yr amod nad ymladdai efe mwyach yn erbyn y gallu Rhufeinaidd: o'r hyn y mae y tawelwch cyffredinol a fu yn Mrydain dros amryw flyneddoedd wedi marwolaeth Ostorius, yn brawf lled gryf; ond fel gwystl o'i ffyddlondeb i'w gyfamod, ceisid gan ei dad aros yn Rhufain, yr hyn a wnaeth, fel y'n hysbysir, dros saith mlynedd; ac y mae yn debyg i amryw o'i deulu aros yno gydag ef. Nid ymddengys oddiwrth unrhyw gofion sydd ar gael genym ni yn bresenol, fod unrhyw gaethiwed ar Bran na'i deulu, dros yr yspaid dywededig, yn amgen na'u bod yn gorfod cartrefu yn Rhufain; a thebyg yw yr ymddygid tuag atynt yn barchus yn llys Rhufain; ac nis gellir gwybod paham y rhoddid caniatad iddynt i ddychwelyd i'w gwlad eu hun yn mhen y saith mlynedd; oddieithr bod Caradawg, dros yr hwn yr oedd Bran yn wystl yn y brif ddinas, wedi marw erbyn hyny.

Tra yr arhosai Bran a'i deulu yn Rhufain, yr oedd yr Efengyl yn cael ei phregethu yn y ddinas hono, a llawer o'r trigolion, ïe, fe debygid, rai o dylwyth Caisar ei hunan wedi ymwrthod â'u heilunod mudion, a gwneuthur proffes gyhoeddus o'u ffydd yn Nghrist; ac fel hyn gallasai y Prydeiniaid gael cyfleustra i glywed yr Efengyl yn cael ei phregethu; ac i ymgyfeillachu â'r rhai a'i pregethent, ac yn mysg eraill, efallai, â Phaul, apostol mawr y Cenhedloedd. Wedi i'r hen dywysog Cymreig deimlo awdurdod yr Efengyl ar ei feddwl ei hun, a phrofi ei chysuron melus a sylweddol, yr oedd yn eithaf naturiol iddo fod yn llawn awydd am ddwyn y gwirioneddau gwerthfawr hyny i'w gydgenedl anwyl, y rhai oeddynt "heb obaith ganddynt, ac heb Dduw yn y byd:" gan hyny, can gynted ag y cafodd ei ryddid, efe a hwyliodd tua Phrydain, a chydag ef bedwar o wŷr enwog am eu duwioldeb, a'u sel dros ledaeniad y gwirionedd, sef *Ilid*, *Cyndaf*, *Arwystl*, a *Mawan*, yr hwn, yn ol rhai awduron, oedd fab i Cyndaf. Dywedir mai Iuddewon ydoedd *Ilid*, *Cyndaf*, a *Mawan*, ac mai Rhufeinwr ydoedd *Arwystl*, yr hwn a gyfenwir yn "Achau y Saint," yn *Arwystli Hen*; a bernir mai yr un ydoedd a'r *Aristobulus* am yr hwn y crybwylla Paul yn Rhuf. 10. 16; "Anerchwch y rhai sydd o dylwyth Aristobulus."

Ein hawdurdod dros y golygiad uchod, a dynir o'r "Trioedd Cymreig," ac "Achau y Saint," yn nghyda rhai crybwylliadau o waith *Usher*, *Stillingfleet*, *Gildas*, *Eusebius*, &c. Fel hyn y dywaid y *Trioedd* ar hyn:—

"Tri Menwedigion (neu Fendigedigion) Teyrnedd Ynys Prydain:—Bran Fendigaid ab Llyr Llediaith, a ddygwys gyntaf ffydd yn Nghrist i Genedl y Cymry o Rufain, lle y bu efe saith mlynedd yn ngwystl ei fab Caradawg, a ddug gwyr Rhufain yn ngharchar, gwedi ei fradychu trwy hud, a thwyll, a chynllwyn Aregwedd Föeddawg."—Tri. 35.

Y mae yr *Archesgob Usher* yn ail adrodd hen gyfansoddiad Groegaidd, yr hwn a fynega i Aristobulus gael ei ordeinio gan Paul, i fod yn esgob i'r Prydeiniaid. Ac y mae Gildas, yr hwn a ysgrifenai ei hanes mor foreu a'r chweched ganrif, yn rhoi ar ddeall ei fod yn beth hysbys yn ei amser ef, fod goleuni Cristionogaeth wedi tywynu ar Frydain cyn dyddiau gwrthryfel *Buddug*:—"Yn y cyfamser,

yr ynysoedd hyn, y rhai oeddynt yn rhwym mewn oerni a rhew, ac mewn bro bellenig o'r byd, yn mhell oddiwrth yr haul gweledig, a dderbyniasant belydrau o oleuni, sef hyfforddiadau sanctaidd Crist, y gwir haul, yr hwn a ddangosai i'r holl fyd ei ogoniant, nid yn unig o'r ffurfafen dymhorol, ond o uchelder y nefoedd, yr hon sydd yn tra rhagori ar bob peth tymhorol, yn y rhan olaf, fel y gwyddom o deyrnasiad *Tiberius Caisar*, gan yr hwn y lledaenid ei grefydd yn ddirwystr, a bygythid âg angeu y rhai a ymyrent â'i phroffeswyr." Dyna dystiolaeth *Gildas*. Ac yn mhellach y dywaid ef—"Y pelydrau hyn o oleuni a dderbyniwyd â meddyliau claiar gan y trigolion, ond er hyny, hwy (sef egwyddorion yr Efengyl) a wreiddiasant yn mysg rhai o honynt, i raddau mwy neu lai, hyd y naw mlynedd erledigaeth dan *Dioclesian*, pan y dymchwelwyd yr eglwysi drwy yr holl fyd, y llosgwyd cynnifer o gyfysgrifau ar a ellid gael o'r Ysgrythyrau Sanctaidd yn yr heolydd, a bugeiliaid detholedig diadell Duw a gigyddiwyd yn nghyda'r praidd fel, o byddai bossibl, nas gadewid mewn rhai taleithiau ddim o olion crefydd Crist."

Yr Esgob *Stillingfleet* hefyd, yn ei *Orgines Britanicæ*, a ymresymai fel hyn:—"Mae yn sicr fod Paul wedi enill dychweledigion lawer ar ei ddyfodiad i Rufain, am ba achos y soniai efe am saint yn nhylwyth Caisar; ac nid yw yn annhebyg fod rhai o'r caethion Prydeinaidd, a ddygasid drosodd gyda Charadawg a'i deulu, o'u nifer; y rhai yn ddiau a fuasent yn awyddus am weled dychweliad eu gwlad trwy Paul, apostol enwog y Cenedloedd."

Pan ystyriom fod yr esgob dysgedig yn rhwym o fod yn hollol anadnabyddus o dystiolaethau y Trioedd, a'r Achau, pan gyfansoddai ei lyfr, y mae cyd-darawiad y casgliad uchod â'r cyfryw dystiolaethau, yn teilyngu ystyriaeth arbenig.

Mae yn wir bod amryw haneswyr, ac yn eu mysg y diweddar *Dr. Burgess*, Esgob Ty Ddewi, yn dadleu yn gryf bod yr Apostol Paul ei hunan wedi bod yn pregethu yr Efengyl yn Mrydrain; dodaf yma rai o'i resymau er mwyn y chwilfrydig:—"Yn gyntaf, y mae yr Apostol yn Rhuf. 15. 28, yn dweyd ei fod ef yn bwriadu myned i'r Hispaen, 'Mi a ddeuaf heibioch i'r Hyspaen.' Ac y mae CLEMENS ROMANUS, yr hwn oedd gyfaill a chydweithiwr i St. Paul, ac yn dywedyd i'r Apostol hwnw yn ei bregethiad o'r Efengyl '*deithio hyd derfynau eithaf y Gorllewin;*' ac y mae amryw awdurdodau i ddangos fod Ynys Prydain yn cael ei chyfrif yn mhlith ardaloedd eithaf y Gorllewin. Er enghraifft, y mae CATULLUS yn ei galw '*yr ynys bellaf o'r Gorllewin.*' Ac y mae EUSEBIUS, yr hwn a ysgrifenai rhwng 270 a 340, yn dywedyd '*i rai o'r Apostolion groesi y môr i'r Ynysoedd Prydeinaidd.*' Hefyd y mae HIERONYMUS, neu *Jerome*, yn yr un ganrif, yn dywedyd i St. Paul, ar ol iddo fod yn yr Hispaen, '*fyned o fôr i fôr, a phregethu yr Efengyl yn yr ardaloedd gorllewinol.*' Ac y mae yn rhoi ar ddeall mewn man arall, ei fod ef yn cyfrif Prydain yn mhlith yr ardaloedd gorllewinol. Yn y chweched ganrif, y mae Prydydd o'r enw VENANTIUS FORTUNATUS, yn dywedyd i St. Paul '*groesi y môr, a myned hyd Ynys Prydain.*'"

Crynhoad yr Esgob dysgedig oddiwrth y mynegiadau hyn, yw fod yr apostol wedi ymweled âg Ynys Prydain; a thrwy lawer o ymchwiliad hanesyddol, y mae efe yn dangos fod yr unig amser yn yr hwn y gallasai yr apostol gyflawni y daith hon, yn cyd-daro mor agos â dychweliad Caradawg o Rufain, fel yr haera yn hyderus iddo ddefnyddio y cyfle hwnw i ddyfod drwodd i'r ynys hon.

Myn rhai hefyd, fod cadarnhad i'r golygiad uchod yn ganfyddadwy yn enw eglwys gadeiriol Llundain, sef *St. Paul's*, gan fod eglwysi cyflwynedig i'r apostol hwn mor anaml, meddyliant fod yr eithriad hwn yn arwyddoccau rhyw achos pennodol i beri dewisiad o'i enw yma, a chasglant mai er coffadwriaeth o'i weinidogaeth yn y lle hwnw y rhoddwyd ei enw ar yr eglwys.

O'm rhan fy hun, wedi gwneuthur o honof lawer o ymchwiliadau nas meddaf ofod i'w hadrodd yn fanol yn y Ddarlith hon, nis gallaf lai na barnu mai trwy weinidogaeth yr Apostol Paul yr enillwyd y dychweledigion cyntaf o'r Prydein-

taid i ffydd Crist, a hyny yn Rhufain; mai efe a awdurdododd ac a anfonodd y cenhadon cyntaf i bregethu yr Efengyl yn Ynys Prydain, gyda Bran ab Llyr, ar ei ddychweliad o Rufain i wlad ei dadau, a'i fod yn teimlo pryder mawr yn achos cyflwr brodorion yr Ynys hon; ond y mae yn anhawdd genyf feddwl y buasai amgylchiad mor bwysig ag ymweliad apostol mawr y Cenedloedd â'n gwlad, mor ddisylw yn ein hen gofion cenedlaethol, tra y maent yn cynnwys crybwylliadau o amgylchiadau eraill, llai pwysig, o'r unrhyw gyfnod.

Nid oes genym un crybwylliad, ar gof a chadw, er cadarnhau y dyb o fod y gwron Caradawg wedi ei enill i'r ffydd Gristionogol, ac nid yw hyny yn debyg, os barnwn fel y crybwyllais o'r blaen, ei fod ef wedi dychwelyd i'w wlad yn y fan ar ei ryddhad gan Caisar: ac mai ar ei farwolaeth ef y dychwelodd Bran, yr hwn yn nghyda'i deulu a arosent yn Rhufain, yn wystlon o'i ffyddlondeb i'r llywodraeth hono, tra fu efe byw: ond crybwyllir am *Eigen*, ferch Caradawg ab Bran, fel y fenyw gyntaf o'r saint Prydeinaidd. Yr oedd hi yn byw hyd yn agos i ddiwedd y ganrif gyntaf, a phriododd âg un *Sarllog*, Arglwydd Caer Sarllog, a elwir yn awr *Old Sarum*. Crybwyllir hefyd am *Cyllin*, fab Caradawg, fel un o'r prif Gristionogion Prydeinaidd. Pa un a oedd y rhai hyn wedi aros gyda'u taid yn Rhufain, ag iddynt gael eu henill i gredu yr Efengyl yno, ai ynte ar ddychweliad eu taid o Rufain y derbyniasant Gristionogaeth, a'u bod felly yn mysg blaenffrwyth buddugoliaethau yr Efengyl yn yr ynysoedd hyn, nis gellir ei benderfynu. Y mae amryw awdwyr hefyd yn barnu mai merch i Caradawg ydoedd *Claudia*, yr hon a grybwyllir gan Paul yn ei Epistol at Timotheus (2 Tim. 4. 21,) yn briod â phendefig Rhufeinaidd, o deulu Caisar, o'r enw *Pudens;* a pha Gymraes a fuasai mor debyg o gael ei hanrhydeddu drwy undeb priodasol â phendefig Rhufeinaidd uchelradd a merch y gwron enwog Caradawg? Mae yr Archesgob Usher yn dra phenderfynol ar hyn, ac yn dadleu mai hi oedd y gyntaf o'r Prydeiniaid a dderbyniodd Gristionogaeth, ac mai drwy ei hofferynoldeb hi yr enillid y lleill o'r teulu i wrandaw a derbyn yr Efengyl.—Cyfansoddai bardd Eidalaidd o'r enw *Martialis*, ychydig o linellau o glod iddi, y rhai a gyfieithir fel y canlyn gan awdwr hyawdl "Drych y Prif Oesoedd." Fel hyn y maent—

"Mae Gwladys Ruffydd gywrain
A ddaeth o Ynys Prydain,
Mewn glendid, dygiad, dysg a dawn,
Mor llawn a neb o Rufain.

Mor lan ac odiaeth fanol
Yw ei hwynebpryd grasol;
Ni wn i fod mewn cwr o'r byd
Wynebpryd mor ragorol.

Boed y genfigen wammal,
Rhwng gwragedd Groeg a'r Eidal,
Gwladys yw eu pen, a'u dawn,
Pa le y cawn ei chystal?"

Heblaw hyn, nid oes genym un sail i ameu na allasai fod ambell i Gristion yn mysg y Rhufeiniaid a ddeuent drosodd i breswylio yn y trefedigaethau a sefydlid gan eu tywysogion yn yr ynys hon, neu y milwyr a anfonid drosodd, i ymladd eu rhyfeloedd, y rhai a allasent fod yn offerynol i ledaenu yr Efengyl yn mysg eu cydnabod, oddeutu y trefedigaethau neu eu gorsafau milwraidd. Y mae un amgylchiad tra nodedig yn cael ei grybwyll gan Rowlands, yn ei lyfr ar Hynafiaethau Mon, yr hyn a duedda i brofi bod rhyw rai a garent yr Arglwydd Iesu yn y fyddin gyntaf a arweiniai Suetonius drosodd, i oresgyn Ynys Fon, yn y flwyddyn 61: canys

yn adfeilion hen adeiladau Derwyddol, a ddystrywid gan *Suetonius* yn y cadgyrchiad cyntaf hwnw, y cafodd yr hynafiaethydd uchod, wrth agor bol yr adfeilion crybwylledig i chwilio am ryw hynafiaethau, yn y flwyddyn 1723, fathodyn o'r Gwaredwr; ar un ochr iddo, yr oedd pen âg wyneb, wedi ei ddylunio yn hardd, ac ar ei wyneb arall, argraff Hebreaidd hardd, yn cynnwys ymadroddion o'r ystyr yma—"HWN YW IESU GRIST Y GWAREDWR."

Pa fodd y deuai y bathodyn crybwylledig i'r fath le, oddieithr ei golli yn ngherfysg y frwydr a fu rhwng y Rhufeiniaid a'r Derwyddon ar eu glaniad gerllaw Porthamel, neu yn wir, gwymp ei berchenog yn nghanol adfeilion yr hen deml Dderwyddol, lle y bu y dystiolaeth yma o'i gariad at Grist yn gorwedd gyda'i esgyrn dros un cant ar bymtheg a haner o flynyddoedd, sef hyd onis caed ef gan *Rowlands*, wrth gloddio a chwilio yr hen adfeilion crybwylledig.—Drwg iawn genyf ychwanegu fod y dernyn dyddorol uchod o hynafiaeth wedi ei golli, tra yn cael ei ddwyn gan ryw genad oddiwrth *Mr. Rowlands* i ryw hynafiaethwr arall i'w weled.

Efallai y goddefa y darllenydd i mi droi ychydig o'r ffordd yn bresenol, i adrodd un hanesyn, neu yn hytrach chwedl fechan, am *Bran* a'i chwaer *Bronwen*, yr hon a geir yn y Mabinogion.—Dywedir fod Bronwen yn preswylio yn Harlech, swydd Feirionydd, yr hwn le a elwid oddiwrthi gynt, "Twr Bronwen." Matholwch, brenin y Werddon, a'i ceisiodd ac a'i cafodd yn wraig; ond yn mhen yspaid, wedi ei myned gydag ef i'w wlad, efe a ymddygai yn frwnt ati, ac a'i tarawai ar ei grudd, am ba achos y gadawai hi y wlad hono, i ddychwelyd i'w hen gartref; ond pan y tiriodd ar oror Mon, tua Phorth Fadog, ger Llanfwrog efallai, dywedir iddi edrych yn ol tua'r Iwerddon, yr hyn a adnewyddodd yr adgof o'r trahausder a gawsai yno yn y fath fodd ag y bu hi farw o dor calon: ac y mae y chwedl yn chwanegu darluniad o'i beddrod, gan ddywedyd—"Bedd petrual a wnaed i Fronwen, ferch Llyr, ar lan Alaw, ac yno y claddwyd hi." Yn y flwyddyn 1813 gwnaed darganfyddiad tra dyddorawl, yr hyn a brawf fod hyd yn nod y ffugchwedlau Cymreig, a elwir y Mabinogion, yn seiliedig ar ffeithiau hanesyddawl. Rhyw amaethwr a drigianai ar lan yr afon Alaw, mewn angen am gerig at ryw wasanaeth, a aeth i'w helpio ei hun o hen garnedd oedd ar lan yr afon, ac a elwid "yr Ynys Foel," ac weithiau "Ynys Bronwen." Wedi symud llawer o gerig, daeth yr amaethwr o'r diwedd at gistfaen orchuddiedig gan lechfaen mawr: ac erbyn symud y caead, gwelid yn y gistfaen lestr pridd *(urn,)* tua throedfedd o ddyfnder, wedi ei chyfleu a'i genau yn isaf, yn llawn o ludw, a darnau llosgedig o esgyrn.—Y mae cyfeiriad yn y Trioedd hefyd at yr amgylchiad yma, gan ddywedyd fod Bran wedi cynnull llu mawr i fyned drosodd i ddial traha ei chwaer ar Matholwch. Nid yw yn annhebyg bod yr amgylchiad yma wedi cymmeryd lle pan oedd Bran yn lled ieuanc, o leiaf cyn i'w fab Caradawg ddyfod i enwogrwydd, ac o ganlyniad, cyn iddo yntau wybod dim am Gristionogaeth. Gellir meddwl bod y cadgyrchiad yma wedi bod yn ofnadwy o ddinystriol; canys fe ddywedir na ddychwelodd o'r cadgyrchiad ofnadwy namyn *saith* yn fyw, wedi agos ddibobli y Werddon.

Ond i ddychwelyd at ein testyn, yr ydym yn cael lle i feddwl mai penadur ar yr Essyllwyr, y rhai a gyfaneddent Ddeuheubarth Cymru, ydoedd Bran, pan y'i cymmerwyd ef ynghyda'i fab Caradawg yn garcharorion, ac nid yw yn annhebyg iddo ar ei ddychweliad o Rufain, fyned i'r un wlad i gartrefu, yn mysg ei bobl a'i geraint; ac felly, gyda'r Essyllwyr y gellid meddwl i'r Efengyl gael ei phregethu gyntaf o fewn yr ynys hon, ac oddiwrthynt ymdaenai y gwirionedd yn lled fuan at y llwythau cyfnesol, yn enwedig y Gordofigwys, y rhai oeddynt mewn cyfathrach

o'r agosaf â'r Essyllwyr, os nid yn ddeiliaid yr un penadur tua'r pryd dan sylw.

Mae yn anhawdd i ni beidio gollwng yr awenau i'n dychymygion, a goddef iddynt bortreiadu golygfa a allesid gael yn fynych yn y ganrif gyntaf, ar rai o lanerchau ein hen wlad hoff.—Dacw un o'r prif genhadon, ai *Cyndaf*, *Ilid*, neu *Arwystli* yw, nis gwn, yn sefyll dan gysgod y dderwen gauadfrig, ar lethr y bryn draw, ac wedi ei ddoniaw â gallu i lefaru â thafodau, yn dysgu yr hen Gymry yn eu hiaith eu hunain, am yr unig wir Dduw, a'r hwn a anfonodd efe, Iesu Grist, ein Hiachawdwr ni; yn ymresymu â'r Derwyddon, gan wrthbrofi eu dychymygion ffol, a'u dwyfyddiaeth annghyson; a'r gwirioneddau rhyfedd a draethid ganddo gyda'r fath symlrwydd a thanbeidrwydd, dan ddylanwad dwyfol, yn cario argyhoeddiad i feddyliau y gwrandawyr, ac yn peri hyd yn nod i'r athrawon Derwyddol, y rhai yn ol eu hegwyddorion eu hunain oeddynt yn rhwym i brofi pob peth, a dal y gwir yn erbyn y byd, synu uwch ben y ddysg newydd a ddygid i'w clustiau, ac yn encilio i'w celloedd, neu eu *myfyrianau* neillduedig, i ddwys ystyried y tystiolaethau rhyfedd a glywsent; ac yna, wedi eu gorchfygu a'u hennill i gredu y gwirionedd, yn ymwasgu â'r Cristionogion, fel y'u dysgid yn fanylach yn ffordd Duw y gwirionedd.

Ond pan ystyriom ansawdd derfysglyd y wlad, y rhyfeloedd parhaus a ffynent rhwng y naill lwyth a'r llall, neu rhyngddynt a'r Rhufeiniaid, a'r anfantais o ddiffyg ffyrdd cyfleus i gynnal cymundeb rhwng y naill ran o'r wlad a'r llall, nid yw yn debyg i'r grefydd newydd ymdaenu gyda rhyw gyflymdra hynod a chyffredinol. Ac â hyn y cytuna tystiolaeth *Gildas*,* yr hwn a ddywedai:—"Y pelydr hyn o oleuni a dderbynid â meddyliau claiar gan y preswylwyr, ond er hyny (egwyddorion y gwirionedd) a wreiddiasant yn mysg rhai o honynt i raddau mwy neu lai, hyd y naw mlynedd erledigaeth dan y creulawn Dioclesian, pan ddymchwelid yr eglwysi drwy yr holl fyd, y llosgid yr holl eiliadon o'r Ysgrythyrau Sanctaidd a ellid gael yn yr heolydd, ac y llofruddid etholedig fugeiliaid praidd Duw yn nghyda'u praidd diniwed, fel nas gadewid, o byddai bossibl, ddim o olion crefydd Crist yn rhai o'r taleithiau."

* *Gildas* ydoedd fab i *Caw*, tywysog gogleddol, ac ŵyr *Geraint ab Erbin*, tywysog Dyfnaint. Efe a anwyd tua'r flwyddyn 500, yn mysg Cymry Ystrad Clwyd, efallai, neu Brydeiniaid Cumbria, am ba achos y'i gelwir weithiau *Gildas Albanicus*. Tua chanol y chweched ganrif, gormesai y Saeson gymmaint ar drigolion Cumbria ac Ystrad Clwyd, fel y bu raid i Caw a'i deulu symud oddiyno, ac ymofyn am nodded yn Nghymru. Yr hen dywysog a ymsefydlai yn Mon, lle y terfynodd efe ei ddyddiau; a dywedir fod y rhan fwyaf o'i feibion wedi encilio i wlad yr Essyllwyr, lle y'u derbynid yn roesawus gan Arthur Frenin, hoff drigle yr hwn ydoedd yn Nghaerlleon ar Wysg. Amryw o honynt a ymroisant i fuchedd grefyddol, ac yn eu mysg Gildas, yr hwn a ymunai â chynnulleidfa Catwg Ddoeth, yn Morgauwg, yr hwn sefydliad a gychwynasid gan *Garmon*, er gwrthsefyll egwyddorion Morganiaeth. Dywedir fod Gildas wedi agoryd athrofa yn Nghaerbaddon tua'r flwyddyn 555, am ba achos y'i gelwir weithau *Gildas Badonicus;* canys y mae lle cryf i feddwl nad oedd dau Gildas. Mae amryw hynafiaethwyr craffus yn barnu mai efe ydoedd y bardd enwog Aneurin Gwawdrydd: ac os felly, efe a syrthiodd drwy law llofrudd; canys tywysog o'r enw *Eidyn*, er ymddial efallai am y rhyddid a arferasai y bardd yn ei sylwadau ar wŷr mewn awdurdod, camweddau y rhai a ddynoethid ganddo yn ddiarbed, a'i lladdodd trwy ei daro yn ei ben â bwyall. Yr oedd ei fab *Cennyd* yn benathraw *Cor Cennyd*, a elwir yn awr Llangenyd yn Mro Gwyr. Ymddengys fod gan Cennyd diriogaethau yn *Seinghenydd*, hen enw *Caerphily*, ac efallai i'r lle gael ei enw presenol oddiwrth ei fab *Ffili*, yr hwn hefyd oedd ŵr mewn urddau eglwysig, ag oedd yn oesi tua dechreu y seithfed ganrif.—*The Cambro British Biography*," by William Richards, LL.D.

Mae yn anmhosibl i ni, ar hyn o bryd, allu cael allan i foddlonrwydd, i ba raddau y ffynodd Cristionogaeth yn mysg ein hynafiaid ar yr adeg dan sylw: ond tebygem y gallwn gasglu ar seiliau teg ei bod wedi cymmeryd gafael gref yn nhylwyth Bran tad Caradawg; canys yn mhen tua chan' mlynedd wedi dygiad yr Efengyl i Frydain, yr ydym yn cael hanes am un o'r gwehylyth yma, sef *Lleirwg ab Coel ab Cyllin ab Caradawg*, yn frenin Cristionogol, ac yn offeryn hynod er adfywiad Cristionogaeth yn mysg ei gydgenedl; ac ar gyfrif y daioni a wnaeth efe i'w gydgenedl, efe a gyfenwir fynychaf *Lles ab Coel;* ac weithiau "*Lleufer Mawr,*" neu y Goleuad Mawr, ar gyfrif ei offerynoldeb i adfywio a lledaeu goleuni Cristionogaeth drwy yr ynys. Dyma y crybwylliad a gawn ni am dano ef yn Nhrioedd Ynys Prydain:—"Tri Menwedigion (bendigedigion) teyrnedd Ynys Prydain; Bran Fendigaid ab Llyr Llediaith, a ddygwys gyntaf ffydd yn Nghrist i genedl y Cymry o Rufain, lle y bu efe saith mlynedd yn ngwystl ei fab Caradawg, a ddug gwŷr Rhufain yn ngharchar, gwedi ei fradychu trwy hud, a thwyll, a chynllwyn Aregwedd Föeddawg. Ail, Lleirwg ab Coel ab Cyllin, Sant, a elwir Lleufer Mawr, a wnaeth yr eglwys gyntaf yn Llandaf; a hono fu'r gyntaf yn Ynys Prydain; ac a ddodes fraint gwlad a chenedl, a brawd a briduw (tyngiad) ar a fyddant o'r ffydd yn Nghrist." TRI. 35. A thrachefn:—"Tri Archesgobawd Ynys Prydain; Cyntaf, Llandaf, o ddawn Lleirwg ab Coel ab Cyllin, yr hwn a roddes diroedd a braint gwlad idd y rhai a gystlynynt gyntaf âg y ffydd yn Nghrist; Ail, Caer Efrawg, o ddawn Cystenyn emherawdwr, sef oedd efe y cyntaf odd yr emherodron yn Rhufain a ymgystlynwys âg y ffydd yn Nghrist; Trydydd, Llundain, o ddawn yr emherawdr Macsen Wledig; a gwedi hyny y buant, Caer Llion ar Wysg, ac y Gelliwig, yn Nghaernyw, a Chaer Rhianedd yn y Gogledd; ac yn awr y mae Mynyw, a Chaer Efrawg, a Chaer Gaint,"— TRI. 66. Y mae y ddau *Driad* dylynol yn taflu peth goleu debygid ar yr un blaenorol. Gwel *Cambro Briton, vol. ii. p.* 195.

Lleirwg, yn gwybod mai o Rufain y daethai yr Efengyl gyntaf i'r ynysoedd hyn, yn amser ei orhendaid, ac yn deall hefyd, efallai, fod yn y ddinas hono amryw o Gymry urddasol ar y pryd, yn proffesu Cristionogaeth, a anfonodd at un Eleutherius, yr hwn oedd y pryd hyny yn Esgob yr Eglwys Gristionogol yn Rhufain, gan daer erfyn arno anfon gwŷr cymhwys drosodd, i ddysgu ffyrdd Duw yn fanylach i'r Prydeiniaid; â'r hyn y cydsyniodd efe yn garedig, gan anfon dau ŵr galluog drosodd, y rhai a elwid *Dyfan* a *Ffagan*, at y rhai y mae yr Achau Cymreig yn chwanegu dau ereill, sef *Medwy* ac *Elfan;* ac wedi tirio o honynt yma, cawsant bob cefnogaeth a chynnorthwy gan Lleirwg i ddwyn yn mlaen y gwaith gogoneddus o efengyleiddio y Prydeiniaid. Y mae genym le cryf i feddwl fod un o'r pedwar cenadon hyn yn Gymro, ac o'r un gwehelyth fyth a'r hen Bran Fendigaid, er iddo gael ei ddysgeidiaeth grefyddol efallai yn Rhufain; canys fel hyn y cawn achau Dyfan, "ab Alwn Aflerw, ab Ysbwyth, ab Manadwydan, ab Llyr."

Y mae eglwys yn Morganwg yn gyssegredig i goffadwriaeth Ffagan, sef *St. Ffagan;* a gellid meddwl fod Dyfan wedi dyoddef merthyrdod yn y diwedd, canys ar ei ol ef y gelwir lle yn yr un sîr, *Merthyr Dyfan;* coffeir Medwy hefyd yn *Llanfedwy.* Dywedir fod Elfan wedi llafurio yn benaf tua Gwlad yr Haf, a Dyfneint. Y mae yn amlwg oddiwrth ansawdd crefydd yn y blynyddoedd canlynol, a'r amrywiol eglwysi a gyssegrwyd i'r gwŷr enwog hyn, eu bod yn gymmeradwy iawn gan Gristionogion, ac i'w llafur hwynt gael ei fendithio i raddau helaeth.

Y mae *Dr. W. Richards* yn barnu am y pedwar cenadwr hyn mai Cristionogion Prydeinaidd oeddynt, wedi derbyn addysg yn Rhufain, ac ymsef-

ydlu yno, fel y sylwasom eisoes mewn perthynas i un o honynt: os felly, yr oeddynt yn gymhwysach i'r gwasanaeth at yr hyn y'u hanfonid, gan y buasent yn y fan yn alluog i lefaru yn iaith y brodorion.

Gyda golwg ar drefn eglwysig y cyfnod hwn ar Gristionogaeth, dywaid y diweddar *D. Peters* o Gaerfyrddin, fel y canlyn:—"Yn y cant cyntaf o Gristionogaeth, nid oedd ond un gweinidog neu esgob yn mhob eglwys trwy y byd Cristionogol; a dewisid ef i'w swydd gan aelodau yr eglwys yn unig. Ac i'r dyben i'w gynnorthwyo ef yn y gorchwyl pwysfawr o ofalu am y praidd, dewisid rhai o'r aelodau i fod yn henuriaid, a diaconiaid, yn gyfatebol i amgylchiadau yr eglwys. Fe barhaodd eglwysi Crist yn y dull anymddibynol hwn, heb unrhyw rwymyn undeb rhyngddynt ond cariad, dros ran fawr o'r ail gant. Ond cyn diwedd yr ail gant diddymwyd y drefn apostolaidd hon, a chafodd holl gynnulleidfaoedd yr un dalaeth eu huno yn un corph eglwysig; gweinidogion pa rai a ymgyfarfyddent ar amserau gosodedig, i drefnu mesurau cymhwys, i ddwyn yn mlaen gysur ac adeiladaeth gyffredinol yr holl gorph taleithiol, a chanddo awdurdod ar holl esgobion, neu weinidogion y dalaeth hono. Y sefydliad hwn a ddechreuodd yn gyntaf yn mysg y Groegiaid, ac a ymdaenodd yn fuan oddiwrthynt hwy, dros yr holl fyd Cristionogol. Bu y cyfnewidiad hwn yn foddion i leihau rhagorfreintiau y byd yn gyffredinol, ac i gynnyddu awdurdod yr esgobion. Oblegid, er fod y gweinidogion ar eu hymddangosiad cyntaf yn y cymmanfaoedd hyn yn addef nad oeddynt ond cenhadau eu hamrywiol eglwysi, ac mai yn enw a thrwy osodiad eu pobl yr oeddynt yn gweithredu, newidiasant yr iaith ostyngedig hono yn fuan; ac a haerasant fod Crist wedi rhoddi awdurdod iddynt wneuthur rheolau ffydd a moesau i'w pobl. Pan gyfarfyddai esgobion yr amrywiol daleithiau mewn cymmanfaoedd, bernid yn gymhwys i wisgo un o honynt âg awdurdod uwch, fel blaenor y gymmanfa; a daeth y blaenoriaid hyn yn raddol i fod yn archesgobion; ac felly y diddymwyd y cystadledd ag oedd rhwng yr esgobion o'r dechreuad."*

Nid ydym yn deall fod un lle neillduedig wedi ei adeiladu at wasanaeth crefydd yn Ynys Prydain, hyd amser Lleirwg; ond yr hyn sydd yn fwyaf tebyg yw, y byddai y cynnulleidfaoedd, y rhai nid oeddynt ond bychain, yn cyfarfod mewn tai annedd, neu dan gysgod y derw tewfrig. Efallai, fel y crybwyllir yn un o'r Trioedd, mai yr adeilad gyntaf a gyfodwyd at wasanaeth crefyddol yn hollol, oedd yr un a gyfodwyd yn Llandaf, trwy haelioni, Lleirwg, brenin yr Essyllwyr, preswylwyr Morganwg a Mynwy, a'r un gŵr, "o gariad at Grist, ac eneidiau dynion," meddir, "a roddodd diroedd a breintiau" gwladol i'r rhai a broffesent y grefydd Gristionogol, fel anogaeth iddynt i helaethu achos Crist yn y wlad. Ac nid yw yn rhyfedd os darfu i Gristionogion mewn enw luosogi yn ddirfawr yn y wlad yn y canlyniad; ac y mae lle cryf i ofni fod y ffafrau breninol dywededig wedi bod yn achles gref i ragrith.

Y mae seiliau cryfion i farnu fod llawer o'r rhai a gymmerent arnynt fod yn grefyddol yn nyddiau Lleufer, er mwyn cyfranogi o'r breintiau a drefnai efe er cefnogi Cristionogaeth, wedi taflu yr hug ymaith ar ol ei farwolaeth ef; ac yn y canlyniad, y Paganiaid a gyfodasant erledigaeth lem ar y Cristionogion; ac yn yr erledigaeth hon, yn mysg ereill a gwympasant, meddylir fel y crybwyllwyd yn barod, fod Dyfan enwog, ar ol llafurio yn ddyfal i'w henill i ffydd Crist, wedi cael ei ferthyru ganddynt. Pa nifer heblaw hyny o rai mwy anghyhoedd a farwolaethwyd am eu crefydd y pryd hwn, nis gallwn feddu unrhyw fantais i amgyffred: ac yn wir, nis

* Gwel Hanes Crefydd yn Nghymru, t.d. 67, 70.

meddwn ond y nesaf peth i ddim o wybodaeth am ansawdd Cristionogaeth yn Mrydain, o'r pryd hwn, sef tua diwedd yr ail ganrif, hyd yn agos i ddiwedd y drydedd ganrif. Dioclesian a esgynodd yr orsedd yn y flwyddyn 284, ac yn mhen y pum' mlynedd, unwyd *Custeint Clorus* âg ef yn ngweinyddiad y llywodraeth. Dan y dywededig Dioclesian y bu y ddegfed erledigaeth ar y Cristionogion, yr hon oedd yn fwy gwaedlyd a dinystriol na'r naw ereill. Nid yw yn ymddangos fod rhyw lawer o rym yr erledigaethau ereill wedi cyrhaedd yr ynys hon, a thybir fod amryw o'r Cristionogion erlidiedig o Rufain, a gwledydd ereill y cyfandir, yn ffoi i Frydain am loches rhag y dymhestl, y rhai felly a allasent fod yn offerynol i fesur lled helaeth i ledaenu egwyddorion yr Efengyl yn Mrydain; ond mor benderfynol ydoedd Dioclesian i lwyr ddileu Cristionogaeth oddiar wyneb y ddaear, fel yr anfonai ei orchymyn awdurdodol, wedi ei argraffu ar ddalenau pres, at y swyddogion Rhufeinig oeddynt yn Mrydain, i erchi iddynt lwyr ddyfetha adeiladau a llyfrau y Cristionogion yn yr ynys hon; ac na adewid papuryn heb ei losgi, a gynnwysai athrawiaeth yr Iesu Grist, neu ddim o hanes bywyd y prif Gristionogion; a thyma y dystryw cyntaf y gwyddys am dano a fu ar ysgrifeniadau gwerthfawr ein hen dadau; yr hyn, efallai, yw y prif reswm fod can lleied ar gael yn bresenol o gofion crefyddol y Cymry am yr oesoedd blaenorol i hyn.

Tua dwy flynedd, debygid, y parhaodd grym yr erledigaeth hon yn Mrydain; ac yn yr adeg ddywededig, yr oedd y Swyddogion Rhufeinig Paganaidd yn ymddifyru yn y cyflawniad o orchymyn gwaedlyd eu meistr Galerius a Dioclesian; a chan gael eu cefnogi yn chwannog yn eu mileinwaith gan y paganiaid brodorawl, arferent y creulonderau mwyaf i'w harteithio a'u marwolaethu. Meddwn enwau rhai o'r merthyron hyn ar gof a chadw; ond diau fod cannoedd wedi eu rhoddi i farwolaeth, am y rhai nid oes genym unrhyw goffhad.

Cymmerth yr Archesgob Usher lawer o drafferth i gasglu yn nghyd gymmaint ag a allesid gael o grybwyllion am yr erledigaeth hon; ond y mae yn amlwg fod yr hyn a gynnullodd efe yn nghyd, lawr iawn o ffugchwedlau yn gymmysgedig â'r ffeithiau; gan hyny, ymdrechaf hyd y gallaf i grynhoi o'r crynswth, gymmaint ag a ymddengys i mi yn fwyaf tebygol i'r gwirionedd.

Yn mysg y rhai a seliasant dystiolaeth eu ffydd â'u gwaed yn Mrydain, yn ystod yr ystorm dan sylw, yr ydoedd Alban, Amphibal, Julius, ac Aaron. Meddylir fod Alban o deulu Rhufeinig; ond yn frodor o *Verulam.* Dywedir ei fod wedi gwasanaethu saith mlynedd mewn gwledydd tramor, fel swyddog milwraidd yn myddinoedd Dioclesian; ond wedi ei ddychweliad i Frydain, duwioldeb hynod gweinidog o'r enw Amphibal, a effeithiodd ar ei feddwl yn fawr, ac efe a'i cymhellodd i ymgartrefu yn ei dŷ ef yn Verulam, fel y'i dysgid yn fanylach ganddo yn ngwirioneddau Efengyl Crist. Wedi i orchymyn yr amherawdwr, Galerius a Dioclesian, yn erbyn y Cristionogion, gyrhaedd Prydain, fe'i gosodwyd mewn gweithrediad gan yr awdurdodau, yn ngwahanol barthau y wlad yn ebrwydd; a chan fod Alban yn bryderus am allu celu ei athraw duwiol rhag cynddaredd yr erlidwyr, y rhai a wyddent am dano yn dda, ac a anfonent filwyr i'w ddal, Alban a ymwisgodd fel gweinidog ei hunan, ac a aeth allan i'w cyfarfod; ac efe a ddygwyd yn y fan o flaen y barnwr, neu y *Proprætor*, yr hwn oedd ar y pryd yn offrymu aberth i eilunod Rhufain. Wedi ei gythruddo yn ddirfawr at ymddygiad Alban, y barnwr a orchymynai ei lusgo at ddelwau y gau dduwiau hyn, gan ddywedyd ar yr un pryd, "Gan dy fod di wedi llochesu gwrthryfelwr a chyssegr-yspeilydd, a'i atal ef i

ddyoddef y gospedigaeth ddyledus iddo fel diystyrwr y duwiau, rhaid i ti dy hunan fyned dan y gospedigaeth hono, os ydyw yn wirioneddol dy fod yn euog o unrhyw gamweddau." A chan fod Alban yn ymddangos yn hollol ddiarswyd yn wyneb y bygythion hyn a'u cyffelyb, y barnwr a ofynai iddo yn sarug, o ba deulu neu wehelyth yr oedd efe. I'r hyn yr atebai y pendefig Cristionogol, "Ni pherthyn i ti wybod hyny: ond os ydwyt yn ewyllysio gwybod rhyw beth am fy nghrefydd, bydded hysbys i ti fy mod yn Gristion, ac yn rhwym gan ddyledswyddau Cristionogol." Yna y barnwr a ddywedai, "Yr ydwyf yn gofyn dy enw, mynega ef i mi yn y fan." I'r hyn yr atebodd, "Fe'm gelwir Alban gan fy rhieni, ac yr ydwyf yn addoli y gwir a'r bywiol Dduw, yr hwn a greodd bob peth." Yna y barnwr, wedi ei enyn gan ddigllonedd, a ddywedai, "Os myni di fwynhau dedwyddwch ac estyniad einioes, nac oeda offrymu aberth i'r duwiau mawrion." Alban a atebodd, "Ni ddichon yr aberthau hyn fod o un gwasanaeth i'r rhai y'u hoffrymir iddynt, y rhai mewn gwirionedd ydynt gythreuliaid, ac yn hollol analluog i gyflawni dymuniadau ac ewyllysiau eu haddolwyr: ond i'r gwrthwyneb, pwy bynag a offrymont aberth i'r cyfryw eilunod, a dderbyniant gospedigaeth dragywyddol yn uffern." Y barnwr, wedi ei gythruddo yn ddirfawr gan yr ymadroddion hyn, a orchymynai i'r dihenyddwyr ffrewyllu y carcharor, gan dybied y gallasai felly siglo y dianwadalwch calon hwnw nas gallasai ffynu arno trwy eiriau. Alban a ddyoddefai y cyfan, nid yn unig yn amyneddus, ond hefyd yn llawen; gan ei chyfrif yn fraint gael dyoddef dros enw yr Arglwydd ei Waredwr. Y barnwr yn canfod nad oedd dim a siglai ei ffydd, a archai ei arwain i'r dienyddle; felly efe a arweinid allan o'r ddinas, a thorwyd ei ben ar fryn cyfagos; lle, wedi hyny yr adeiladwyd mewn oesoedd diweddarach, grefydd-dy ysplenydd, er anrhydedd i'r merthyr, yn y dref a elwir hyd heddyw ar ei enw, *St. Albans.*

Yn fuan wedi dienyddiad Alban, ymddengys bod Amphibal naill ai wedi ei rhoddi ei hunan i fyny i'r awdurdodau Rhufeinig, neu wedi ei gymmeryd yn garcharor ganddynt; a'i fod ef, yn nghyda naw o'i gyd Gristionogion, wedi eu marwolaethu yn gyfagos i St. Albans. Trwy'r un pryd, Aaron a Julius, dau ddinesydd o Gaerlleon ar Wysg, ac amryw ereill mewn amrywiol barthau o'r wlad, yn wŷr a gwragedd, a ddyoddefasant yn yr un achos gogoneddus.

Adroddaf yma ddau draddodiad lleawl, y rhai a allant daflu peth golau ar y cyfnod yma ar Gristionogaeth yn ein gwlad. Ar gyffiniau plwyfau Llanfihangel Dinsylwy a Llanddona, yn Mon, y mae diphwys ofnadwy yn nghreigiau glan y môr, a elwir "Nant Dienydd," a'r traddodiad yn y gymmydogaeth yw, y rhoddid Cristionogion i farwolaeth yno mewn rhyw oes, trwy eu rhoddi mewn barilau, trwy y rhai y byddai picellau heiyrn wedi eu gyru, a'u blaenau llymion i fewn, ac yna y'u treiglid dros y dibyn arswydol i waered i'r môr. Yn agos i'r dienyddle ddywededig, y mae hen orsaf filwraidd Rufeinig, a elwir "Dinas Sylwy," lle y cafwyd, rai blynyddau yn ol, amryw fathiadau, a rhai eilunod Rhufeinig; ac heb fod yn nepell, yn mhlwyf Llaniestyn, y mae lle a elwir "Pen yr orsedd," lle ond odid y cynnaliai y barnwr ei frawdlys.

Yr ail draddodiad sydd yn y dernyn canlynol, a nodais o Newyddiadur Caerynarfon am Gorph. 24, 1847:—"Yr wythnos ddiweddaf, fel yr oedd rhai bechgyn yn ymddifyru wrth droi rhyw gerig rhyddion ar y Mynydd Mawr, yn agos i dyddyn o'r enw Castell Goronwy, uwchlaw Nantlle. hwy a gawsant, mewn hen lestr *tin*, nifer o sylltau, o fathiad Harri VIII.; un o ba rai a welsom, ac yr oedd mewn cadwriaeth ragorol. Mae amryw leoedd teilwng o sylw yr hynafiaethydd yn y gymmydogaeth; un o'r cyfryw

yw '*Pen yr orsedd,*' yr hwn oedd unwaith yn lle o fri, fel y mae ei enw yn arwyddoccau; yn gyfagos i hwn y mae '*Cwm Cerwin,*' lle y dywaid traddodiad yr arferid cyflawni cospedigaeth yn yr hen oesoedd trwy fwrw y troseddwr mewn baril, neu gerwin bicellog, i dreiglo i waered ar hyd ystlys y Mynydd Mawr, i Gwm Cerwin. Y mae lle nodedig arall hefyd heb fod yn nepell, ar fynydd y Cilgwyn, a elwir 'Mynydd Twrog,' lle y mae amryw gerig mawrion ar eu penau, yn amgylchedig â phentwr o rai bychain, y rhai, meddir, a ddefnyddid i labyddio troseddwyr. Mae y rhan fwyaf o gerig mawrion, lled luniaidd, wedi eu symud yn ddiweddar, a'u defnyddio i adeiladu y tai lluosog sydd wedi eu cyfodi gan y chwarelwyr ac ereill ar y mynydd. Gwelir olion ffordd Rufeinig hefyd yn y gymmydogaeth hon, yn amgylchu godrau y Mynydd Mawr, gan gyfeirio o'r orsaf Rufeinig yn Ninas Dinlle, efallai, tua rhai o'r gorsafoedd oeddynt yn swydd Feirionydd, trwy Garn Farchnad, ar yr ochr arall i'r nant, efallai, lle y cyfarfyddai trigolion Meirionydd ac Arfon i gyfnewid eu nwyddau. Cafwyd rhai hen fathau hefyd yn gyfagos i'r lle dywededig, rai blynyddau yn ol. Nid yw y cyffredin yn deall, efallai, fod tŷ ffarm presenol Nantlle wedi bod unwaith yn rhan o lys breninol Iorwerth I. Y mae yn gorwedd ar wastadedd rhwng dau lyn, a'i hen enw ydoedd '*Bala Deülyn;*' ac oddiyma y dyddiai y penadur hwnw rai o'i gyfreithiau ydynt ar gael eto."

Oddiwrth y crybwyllion hyn y mae yn lled hawdd i ni gasglu bod erledigaeth hyd angeu, mewn amryw ffyrdd creulawn, wedi bod ar Gristionogion yr ynys hon yn foreu; canys nid oedd y ddulliau o farwolaethu a grybwyllir yn y traddodiadau uchod mewn arferiad, hyd y deallais i, yn yr erledigaethau Pabaidd; ond yr oeddynt yn yr erledigaethau Paganaidd. Heblaw hyny, y mae lle a elwir *Pen yr orsedd* yn agos i'r ddau le, a gorsafau Rhufeinig hefyd; ac yn agos i un man y mae mynwent, lle y cleddid cyrph maluriedig y merthyron, efallai; ond yn y fan arall, nid oedd angen claddfa, gan fod y môr yn eu cymmeryd ymaith.

Gyda golwg ar yr erledigaeth hon ar yr eglwys ieuanc egwan yn Mrydain, y dywedai yr *Archesgob Usher:* "Lluaws mawr o wyr a gwragedd mewn amrywiol ranau o'r ynys, a ddyoddefasant y poenau mwyaf creulawn, a chan orfoleddu yn eu dyoddefiadau, a orchymynasant eu hysbrydoedd i ddwylaw Ceidwad ffyddlawn. Eraill a ffoisant i'r coedwigoedd, ac a ymguddiasant mewn ogofeydd a mynyddoedd, nes i Dduw eu gwaredu hwynt oddiwrth lidiawgrwydd eu gelynion."

*Clarke* yntau, yn ei Ferthyrdaith, a ddywaid, "Er na pharhaodd yr erledigaeth greulon hon ond tua blwyddyn a haner yn Mrydain, lladdwyd cynnifer o Gristionogion, llosgwyd cymmaint o'r Ysgrythyrau, a thynwyd i lawr gynnifer o'r addoldai yn yr yspaid hyny, fel braidd na ddiwreiddiwyd Cristionogaeth o'r wlad."—Dywed eraill, i filoedd o wrrywod a benywod ddyoddef merthyrdod yn Mrydain ar yr adeg hon.*

O'r diwedd, Dioclesian a roddodd i fynu y swydd amherodrol, a chyn hir llwyddwyd i gael gan ei gydamherawdwr, Maximian Hercules, wneyd yr un peth: ac ar hyny, Galerius a'i cyhoeddodd ei hun yn amherawdwr y Dwyrain, a chafodd Custeint Clorus ei wneyd yn amherawdwr y Gorllewin; ac erbyn iddo ef gael yr arbenicter yma, efe a barodd atalfa ar yr erledigaethau trwy y gwledydd hyn yn fuan; canys er nad oes genym le i farnu ei fod ef wedi ei oleuo â goleuni yr Efengyl, yr oedd efe yn ŵr o dymher dda a hynaws, ac felly dangosodd diriondeb mawr at y Cristionogion, fel y dychwelodd y rhai a enciliasant, o'u llochesau, ac y dechreu-

* Drych y Prif Oesoedd, t. d. 132.

asant ail adeiladu yr addoldai a ddymchwelasid, a'u calonau a lanwyd o lawenydd a gorfoledd am ddaioni Duw. Gosodwyd dyddiau hefyd i'w treulio mewn ympryd a gweddi, o goffadwriaeth am y rhai enwocaf o'u brodyr a roisid i farwolaeth yn ystod yr erledigaeth.* Dyma ydoedd dechreuad y Gwylmabsaint a gynnelir mewn amrywiol leoedd yn ein gwlad, i ddybenion ac mewn dull tra gwahanol i'w gosodiad cyntaf. Y Rhufeiniaid a'u galwent, "*Fasti Memoriæ Sanctorum*," a'r Cymry a'u galwent "Gwyliau Mybyr Sant;" ac oddiwrth yr enw hwn y daeth Gwyliau Mab Sant.†

Er y myn rhai o bleidwyr Eglwys Rhufain haeru fod y llusern Gristionogol wedi ei llwyr ddiffoddi yn Mrydain dan yr ystorm grybwylledig, ac na ail oleuwyd mo honi hyd amser Awstin Fonach, y mae yn hawdd profi i'r gwrthwyneb: canys yn nyddiau Cystenyn Fawr, fab Custeint, yn y flwyddyn 314, gorchymynai yr ymherawdwr i esgobion yr amrywiol daleithiau ymgyfarfod mewn cymanfa yn Arles, tref yn Ffrainc, i gymmeryd dan eu hystyriaeth ddadl a gyfodasid yn eglwysi Affrica, gan blaid a elwid y *Donatistiaid*, ac oedd yn bresenol yn y gymmanfa hono dri o esgobion Cymreig, sef *Ifor*, esgob Caerefrog, *Rhustyd*, esgob Llundain, a *Brawdol* neu *Cadfrawd*, fel y'i gelwir mewn rhai hen gofion, esgob Caerlleon ar Wysg; a'r tri esgob hyny a law-nodasant y rheolau a wnaethpwyd yno: a chyda yr esgobion uchod yr oedd yn wyddfodol, fel cenhadon o Frydain, *Sacerdos* yr henuriad, ac *Armin* y diacon, o Gaerlleon ar Wysg. Y mae y rheolau y cytunwyd arnynt yn y gymmanfa uchod, ac a lawnodwyd gan y cenhadon crybwylledig o Frydain, yn fanteisiol i ni i ffurfio barn am ansawdd yr Eglwys Gristionogol yn Mrydain yn nechreu y bedwaredd ganrif. Dyma hwy:—

"1. Fod y Pasg i gael ei gadw ar yr un amser drwy yr holl fyd; a bod esgob Rhufain, fel arferol, i roddi gwybodaeth o'r diwrnod.

2. Nad oedd i un esgob sathru ar esgob arall.

3. Fod esgobion teithiol i gael caniatad i gyflawni eu swydd yn y dinasoedd i ba rai y deuent.

4. Nad oedd un i gael ei gyssegru yn esgob, heb fod tri esgob, o leiaf, yn bresenol.

5. Fod y gweinidogion a roddent arian allan ar log, i gael eu hysgymmuno.

6. Nad oedd y gweinidogion ddim i ymadael â'r eglwysi lle yr oeddynt wedi cael eu hurddo.

7. Na chai y diaconiaid ddim gweinyddu yr ordinhad o Swper yr Arglwydd.

8. Yn gymmaint a bod yr erledigaeth gwedi darfod, fod y rhai a wrthodent barhau yn yr alwad o filwyr, i gael eu hatal o gymmundeb.

9. Fod y rhai oedd yn gyru cerbydau mewn rhedegfeydd, ac yn dynwared mewn chwareudai, i gael eu troi o gymmundeb.

10. Fod y Cristionogion hyny a fyddai yn cael eu gosod yn llywodraethwyr mewn lleoedd pellenig, i ddwyn gyda hwynt lythyr cymmeradwyaeth oddiwrth eu hesgob eu hunain, ac na fyddai iddynt gael eu hatal o gymmundeb, oddieithr eu bod yn ymddwyn yn groes i ddysgyblaeth yr eglwys.

11. Fod y personau hyny, gwragedd pa rai a ddelid mewn godineb, i gael eu cynghori i beidio priodi drachefn tra byddent byw.

12. Fod y gwyryfon a briodent annghredinwyr i gael eu hatal o gymmundeb dros amser.

* Bede, llyfr i, pen. 8.
† Rowlands's Mona Ant., p. 184.

13. Na chai y rhai a gamgyhuddent eu brodyr, ddim eu derbyn i gymmundeb tra y byddent byw.

14. Nad oedd i neb ag oedd wedi ei ysgymmuno mewn un lle, i gael eu derbyn mewn lle arall.

15. Nad oedd i un gwrthgiliwr gael ei adferyd i gymmundeb mewn clefyd: ond bod iddo aros hyd oni wellhâi, a phrofi ei ddiwygiad.

16. Gan fod y Donatistiaid, ac ereill, yn ail fedyddio y rhai a fedyddiasid gan eu gwrthwynebwyr, penderfynwyd nad oedd y rhai oeddynt wedi eu bedyddio yn enw y Drindod Sanctaidd, i gael eu hail fedyddio."*

Bu wedi hyn gymmanfeydd yn Nicea, Sardis, ac Arminium, y rhai a elwid yn nghyd yn benaf yn achos cyfeiliornadau *Arius*, a bernir fod amryw esgobion o Frydain yn bresenol yn mhob un o'r cymmanfaoedd uchod, y rhai trwy eu pleidleisiau a brofent fod yr eglwysi Cymreig hyd yn hyn yn uniawngred.

Tua'r flwyddyn 380, ysgrifenai Crysostom, gan ddywedyd, "Tafodiaith y Prydeiniaid sydd drwsgl erchyll; ond y maent yn seinio yn hyfryd yn eu barn yn nghylch crefydd; yno y maent yn beraidd ac yn gywir. Eu hiaith yn wir sydd wrthun, hagr arw; ond eu moesau sydd lariaidd a sanctaidd." Yr oedd efe yn barnu bod eu hiaith yn drwsgl, ac yn arw, am nad oedd efe yn eu deall; neu ynte, efallai ei fod ef yn cyfeirio at ddull trwsgl yr esgobion Prydeinaidd yn llefaru mewn iaith estronol yn y cymmanfaoedd, pan yn traethu eu barn ar bynciau y ffydd: canys er eu bod yn gyfarwydd fel dysgedigion ar y Lladin a'r Groeg, nid yw yn debyg y gallasent droi eu tafodau mor rwydd i lefaru yr iaith hono yn ystwyth. Tystiai *Athanasius* a *Hilarius* fod esgobion Prydain yn rhydd oddiwrth Ariaeth: ond y mae Gildas yn dweyd i'r heresi yma gael eu dwyn drosodd i Frydain rhywfodd, a chynnyrchu yr effeithiau mwyaf niweidiol, a'r ymrysonau chwerwaf. Y mae lle cryf i feddwl fod y syniadau Ariaidd wedi llygru llawer ar eglwysi yn Mrydain, er y gellir meddwl bod yr esgobion, neu weinidogion yr eglwysi, wedi ymgadw yn lân oddiwrthynt. Yr oedd Arius a'i syniadau mewn cryn ffafr gyda Chystenyn ac yn ei lys, ac y mae genym bob lle i gasglu fod amryw o bendefigion ieuainc yr ynys hon yn treulio llawer o'u hamser yn ac o ddeutu y llys amherodrol yn amser Cystenyn; a pheth oedd yn fwy tebyg nag y buasai i'r rhai hyn ddwyn yr heresi yma "dros y môr" (chwedl Gildas) i Frydain.

Mae y sylwadau canlynol yn cael eu gwneyd gan awdwr dysgedig yr *Horæ Britannicæ*, ar ansawdd Cristionogaeth yn Mrydain yn ystod y ganrif hon, sef y bedwaredd:—"Barnwyd yn gyffredinol fod y grefydd Gristionogol wedi gwreiddio yn ddwfn yn Mrydain yn ystod teyrnasiad Cystenyn Fawr, a chyfranogi o'r nawdd breninol, fel taleithiau ereill o'r amherodraeth. Mae yn wir y gwellhâi y Cristionogion Prydeinaidd yn y gwychder allanol a ddynodai ffyniant crefydd dros yspaid y tymhor heulawg yma ar yr eglwys; yr adeiladau neillduedig i addoliad cyhoeddus a addurnid â gradd o wychder cyfaddasedig i grefydd sefydledig yr amherodraeth: a'r gwŷr llen a berchid, ac a anrhydeddid â sylw y mawrion. Ond yr archlwysiaeth a ffynai mewn gwledydd ereill, dan aden gysgodol ffafr amherodrawl, ni chyfarfyddai â daear mor gydnaws yn yr ynys hon; ac y mae yn lled anhawdd penderfynu a oedd yn y wlad hon lywodraeth eglwysig esgobawl reolaidd yn ffynu yn y canrif yma. Mae yn wir fod esgobion yn amryw o'r trefydd a'r dinasoedd mawrion; ond nid oedd y rhai hyn eto yn llwythog âg urddau tymhorol a chyllidau mawrion. Nyni a allwn ffurfio rhyw ddyfaliad o barth eu sefyllfa oddiwrth yr hyn a ddy-

* Gwel Stillingfleet's Orig. Brit., chap. 2.

wedir am yr esgobion Prydeinaidd yn nghynghorfa Arminum; canys tra yr oedd yr esgobion eraill oeddynt yn bresenol yn dwyn eu traul eu hunain, hwy yn unig a dderbyniasant o haelioni yr amherawdwr, ac y dygwyd eu traul gan y llywodraeth.

"Yr oedd yr eglwys yn cael ei gwneyd yn agored i beryglon newyddion yn nhymhor llwyddiant allanol. Yr oedd cydffurfiad â'r byd, yr hwn yn awr a wenai arni, yn dechreu cael effaith dra niweidiol ar len a lleyg. Llygrid symlrwydd crefydd, trwy ei llwytho â defodau chwyddedig, dan yr esgus teg o enill y Paganiaid drwy hyny i gofleidio croes Crist: ac felly y cafodd dynion dyeithr i rym tufewnol crefydd rywbeth yn ei le mewn ffurfiau allanol. Dygid amrywiaeth mawr o ddefodau i'r addoliad dwyfol, a meddai pob talaeth o'r bron ryw hynodrwydd o'r eiddo ei hun, yr hyn mewn amser a barodd lawer o ymrysonau chwerwon. Ond efallai fod tlodi yr eglwysi Prydeinaidd yn foddion i'w cadw i ryw fesur rhag rhedeg i'r unrhyw rysedd ag eglwysi ereill. Er hyny, os nad ymadawodd ein tadau oddiwrth y symlrwydd cyntefig can belled ag eglwysi yr Eidal a'r Dwyrain, yr oeddynt hwythau hefyd yn dra choelgrefyddol. Yn mysg y lluaws a ymdeithient i Jerusalem, i ymweled â bedd ein Gwaredwr, ar yr hwn yr adeiladai mam Cystenyn eglwys ysblenydd, yr oedd amryw o'r Brython. Crybwyllir bod rhai o honynt hwy hefyd yn mysg y pererinion a deithient i Syria, i ymweled â rhyw wallgofddyn crefyddol, a elwid Simon y Golofn, am ei fod, meddir, wedi byw ar ben colofn uchel dros ddwy flynedd ar bymtheg ar hugain. Fel hyn y dywaid *Theodoret*, 'Deuai llawer i'w weled o eithafoedd y gorllewin, yn enwedig o'r Hispaen, Gâl, a Phrydain.'

"Mae rhai awdwyr yn dal fod meudwyaeth wedi ei ddwyn i'r wlad yma cyn diwedd y ganrif hon: ond nid ymddengys ei fod wedi ffynu nemawr yma hyd y ganrif ganlynol. Dechreuwyd cymmeradwyo y rhyw yma o sefydliad yn yr Eidal a Gâl, neu Ffrainc, yn ystod y bedwaredd ganrif; ac yn Ffrainc yr oedd Martin o *Tours* yn gefnogwr galluog ar y ddysgyblaeth fonachaidd. Ond nid oedd y sefydliad monachaidd ar y dechreu yn gymmaint arwydd o adfeiliad crefydd, ac o ymlygriad yr eglwys, ag y gellid meddwl oddiwrth yr hyn y dirywiodd y sefydliad hwnw iddo wedi hyny; oblegyd nad oedd y gosodiadau hyny wedi eu llychwino â'r rhwysg a'r llygredd hyny a ymddangosodd ynglyn â hwynt dan lywodraeth Pabyddiaeth. Sefydlwyd hwynt ar y dechreu er hyrwyddo dysg, a meithriniad duwioldeb, fel y gellid dwyn i fynu ddynion addas i weinyddu yn ngwasanaeth crefydd. Y monachod a ymgynnalient drwy drin tiroedd gwylltion a roddid iddynt gan y boneddigion a'r tywysogion; gweddïent ac ymprydient yn fynych, a'u holl ymddygiad ydoedd ddiargyhoedd: ac yn wir, ymddangosai yr holl gyfundrefn yn dra chyfaddas i amgylchiadadau terfysglyd yr amseroedd hyny."

Dros ran fawr o'r bedwaredd ganriif, sef yn ol y *Dr. W. O. Pughe*, o'r fl. 328 hyd y fl. 389, yr oedd *Cunedda Wledig* yn teyrnasu. Yr oedd efe yn benadur Brython Ystrad Clwyd, a thrwy ei fam, Gwawl, ferch Coel Godhebawg, yr oedd iddo etifeddiaethau eang yn Nghymru. Pan oresgynwyd y rhai hyn, ac y'u trawsfeddiannid gan y Gwyddelod, Cunedda, gan yr hwn yr oedd teulu mawr, a anfonodd amryw o'i feibion i Gymru, i'r dyben o geisio adenill eu tiriogaethau oddiarnynt, yn yr hyn y buont yn dra llwyddiannus, a hwy a sefydlasant eu hunain yn y wlad. *Tybiawn*, ei fab henaf, a fu farw yn Ynys Manaw; ond *Meirion ab Tybiawn*, ei fab, a gafodd gantref Meirion, yr hwn a alwyd felly ar ei enw ef; *Arwystl ab Cunedda* a gafodd Arwystli; *Einion* a gafodd Caer Einion, yn sîr Drefaldwyn; *Ceredig* a gafodd Geredigion; *Dunod* a gafodd Ddunodig, yn

swydd Gaerynarfon; *Edeyrn* a gafodd Edeyrnion, yn swydd Feirionydd; *Mael* a gafodd Ddinmael, yn sîr Dinbych; *Coel* a gafodd Goeleion; *Dogfael* a gafodd Ddogfaelin; *Rhufon* a gafodd Rufoniawg, oll yn sir Ddinbych; ac *Oswail* a gafodd Osweilin, yn sîr y Mwythig. Amryw ereill o'i feibion a'i wyrion a ymroddasant i wasanaeth cyssegredig, wedi eu hamddifadu o'u tiriogaethau gan y Pictiaid a'r Sacsoniaid; am ba achos y mae tylwyth Cunedda yn cael eu crybwyll yn y Trioedd fel un o dri gwelygordd sanctaidd Ynys Prydain: y ddau ereill oeddynt eiddo Bran a Brychan. Nid yw yn annhebyg fod Cunedda wedi bod dros rai blynyddoedd cyn ei farwolaeth yn meddu arbenicter yr holl ran o'r ynys o Ystrad Clwyd hyd eithaf Gwynedd, a thybiaf mai ar y cyfrif hwnw y'i cyfenwid *Cunedda Wledig.* Yr oedd Cunedda yn gangen oddiar hen gyff Bran ab Llyr, ac fe ymddengys i mi, trwy gymmaint a allais gael o'i hanes, ei fod yn caru crefydd Crist, ac yn eiddigeddu dros ei llwyddiant; canys dywedir ei fod wedi dwyn ei blant i fynu yn egwyddorion crefydd Crist, a rhoddi tiroedd a breintiau gwladol i'r rhai a broffesent y ffydd yn Nghrist, a'r rhan fwyaf o'i feibion a ymgyflwynasant i'r Arglwydd, ac a fuant yn llafurus a ffyddlawn yn eu hoes gydag achos crefydd; ac ereill o'i hiliogaeth a fuant achlesawl i grefydd, a chymmwynasgar i Weinidogion y Gair.

Caswallon Law Hir oedd ŵyr i'r dywededig Cunedda Wledig, mab i Einion Yrth ab Cunedda. Y gŵr hwn a ymladdodd amryw frwydrau â'r Gwyddelod, ac a'u llwyr orchfygodd mewn brwydr ofnadwy, yn agos i'r fan lle y mae Caergybi yn gorwedd yn bresenol. Dywedir ei fod wedi hualu ei wŷr yn y frwydr hono, fel y gwrthsafent ruthr eu gelynion fel un gŵr, ac yno efe a laddodd eu blaenor *Serigi* â'i law ei hun, ac felly a orphenodd waredu Gogledd Cymru oddiwrth eu gormes.

Mewn canlyniad i'r fuddugoliaeth fawr hon, ac fel cydnabyddiaeth o'i ddiolchgarwch i'r Duw Goruchaf, efe a adeiladodd addoldy neu gapel yn y fan lle y cwympasai Serigi Wyddel, yr hwn a elwid "Capel y Gwyddyl," a'r ardal a elwid "Llan," neu "Glan y Gwyddyl." Wedi hyn y mae yn ymddangos i Caswallon adeiladu iddo ei hun un llys yn y bryn a elwir Mynydd Eilian, lle y mae lle a elwir hyd heddyw "Llys Caswallon;" a thebygir bod ganddo dreigle tywysogaidd arall yn y Creuddin, ar lan afon Gonwy, y lle a elwir hyd heddyw "Bod Caswallon."

Yn ei ddyddiau ef y sefydlwyd tri chor, neu dair athrofa, yn Ynys Fon, er dwyn gwŷr ieuainc crefyddol yn mlaen mewn dysgeidiaeth a'u cymhwysai i weinidogaeth y Gair; y naill yn Llan y Gwyddyl, dan lywyddiaeth *Cybi*, am ba achos y'i gelwid *Cor Cybi*, ac mewn amser Caergybi; y llall yn mharth gogleddol yr ynys, dan lywodraeth *Elian*, oddiwrth yr hwn y galwyd y lle *Llanelian;* a'r drydedd yn mharth dwyreiniol yr ynys, y lle a elwid Penmon, dan lywyddiaeth *Seiriol*, ac ar ei enw y gelwid ynys fechan gyfagos yn *Ynys Seiriol;* ond "Ynys Glanach" y'i gelwid o'r blaen.

Cybi ydoedd fab Selyf ab Geraint ab Ebrin, a Gwen ferch Gynyr o Gaer Gawch. Yr oedd ei dad yn benadur yn Nghernyw; ond efe, wedi cael blas ar wybodaeth, a adawai lys ei dad, ac a elai drosodd i Ffrainc, lle y treuliodd gryn yspaid gyda'r hybarch *Hilary*, esgob Poictiers, yr hwn, wedi cael perffaith foddlonrwydd yn ei ddysg a'i dduwioldeb, a'i hordeiniodd i weini mewn pethau cyssegredig. Efe a arosodd yn Poictiers yn gynnorthwywr i'r hen esgob da, hyd oni fu efe farw, yna y dychwelodd Cybi i'w wlad ei hun; ond mor gythryblus oedd y wlad hono ar y pryd, fel y'i gadawodd, er ei fod yn etifedd y benaduriaeth; ac wedi iddo hwylio allan i'r môr, efe a laniodd gyntaf yn *Mhenrhyn Menefia*, a alwyd yn ddiweddarach *Ty Ddewi:* ond gan nad oedd efe yn dewis aros yma, efe a

groesodd y brigwyn i'r Iwerddon, lle y dywedir iddo aros dros bedair blynedd. Gallwn gasglu oddiwrth hyny, fod Cristionogaeth wedi ei phlanu eisoes yn yr Iwerddon; gan nad yw yn ymddangos fod Cybi wedi ymfudo yno er troi y Paganiaid at Gristionogaeth, ond yn hytrach i ymofyn am le tawel i ymroddi i fywyd crefyddol mewn neillduaeth, ar ynys fechan, lle yr adeiladai grefydd-dy bychan iddo ei hun. Wedi ei aflonyddu, efallai, yn ei ddewisfan neillduedig, efe a groesodd y môr drachefn ac a ymsefydlodd yn agos i Lan y Gwyddyl, ar benrhyn gorllewinol Ynys Fôn; ac yno, medd *Leland*, efe a adeiladodd ryw le bychan iddo ei hun ar y dechreu; ond Caswallon, gan dosturio wrth waeledd ei dreigle, a roddes gastell oedd yn y gymmydogaeth iddo, a thiroedd at ei wasanaeth: ac mewn canlyniad i'r dyroddiad hael hwn, sefydlwyd monachlog fechan yn y lle, yr hwn a alwyd ar ei enw Caergybi. Dywaid *Leland* yn mhellach, fod yn ei amser ef, yn nheyrnasiad Harri yr Wythfed, Gynonwyr a Chor-weinyddion, y rhai oeddynt yn enwog am eu lletygarwch i rai ar eu taith drwy y lle i'r Iwerddon.

*Elian*, a gyfenwid *Elian Geimiad*, neu y *pererin*, ydoedd fab Gallgu Rieddawg ab Carcludwys ab Cyngu ab Ysbwys ab Cadrod Calchfynydd. Ei fam oedd Canna ferch Tewdwr Mawr ab Emyr Llydaw. Efe a ymsefydlodd, fel y crybwyllwyd eisoes ar oror ogleddol Ynys Fôn, yn y lle a elwir ar ei enw Llanelian, yn amser Caswallon Law Hir, yr hwn, debygid, oedd yn dra hoff o hono, ac a roddes lawer o diroedd a breintiau iddo, gan wneuthur ei grefydd-dŷ yn *noddfa.* Y mae llawer o draddodiadau hynod yn cael eu cadw ar gof yn y gymmydogaeth, o berthynas iddo hyd heddyw. Un o honynt yw, fod Caswallon wedi erchi i Elian ollwng ei gi ar ol carw i'r tywysog; a pha faint bynag o dir a amgylchai y carw o flaen y ci, y rhoddid hyny at wasanaeth crefydd yn y rhan hono o'r wlad; ac felly, meddir, y nodwyd allan blwyf Llaneilian yn Môn; ac y mae yno aber fechan yn agos i Borth Eilian, a elwir hyd heddyw "Llam y Carw," yn goffadwriaeth am y rhedfa uchod

*Seiriol* ydoedd gâr agos i Caswallon, debygid, canys fel hyn y cawn am dano yn "Achau y Saint:"—"Seiriol ab Owain Danwyn ab Einion Yrth ab Cunedda Wledig." Yr oedd ganddo ef gapel a elwid "Capel Seiriol" yn Mhenmon, a chrefydd-dy yn Ynys Seiriol, gerllaw; dywedir fod ganddo ef athrofa enwog, ac y byddai meibion pendefigion a thywysogion o wledydd pellenig yn dyfod i dderbyn addysg ganddo. Yr oedd y tri wŷr hyn yn dra enwog am eu duwioldeb a'u symlrwydd, ac yn treulio eu holl amser yn llwyr mewn ymprydiau, gweddïau, a llafur crefyddol. Dywedir yr arferent gyfarfod ar amserau gosodedig yn agos i Glorach, lle y mae ffynonau ar enwau dau o honynt, i ymgynghori pa fodd oreu i ddwyn yn mlaen achos crefydd yn y wlad, ac anog eu gilydd i gariad a gweithredoedd da; a chan y byddai yr haul i wyneb Cybi yn wastad wrth ddyfod yn y boreu, ac wrth ddychwelyd yn yr hwyr, a'r un modd i gefn Seiriol, gelwid y naill "Seiriol Wyn," a'r llall "Cybi Felyn," medd y traddodiad.

Tua'r cyfnod yma, neu efallai ychydig yn foreuach, yr oedd Morgan, yr hwn sydd yn fwy adnabyddus wrth ei enw Lladinaidd *Pelagius* yn blino eglwysi cred â'i athrawiaethau cyfeiliornus, a diau iddo wneuthur llawer o niwaid i wir grefydd mewn rhai parthau o Gymru. Dywedir iddo gael ei ddwyn i fynu yn Athrofa Bangor is y Coed,* a chyfrifid ef yn un o'r

* Y mae llawer yn meddwl mai Lles ab Coel a sefydlodd yr Athrofa yn Mangor is y coed yn yr ail ganrif; a bod Dunod Fawr, mab Pabo, yn nghyda'i feibion Deiniol, Cynwyl, a Gwarthan, wedi ei hadnewyddu, a rhoddi tiroedd at gynnaliaeth y sefydliad, tua'r chweched ganrif.

dynion dysgedicaf yn y byd yn ei oes. Priodolir y cyfeiliornadau canlynol iddo ef:—

"1. Fod Adda wedi ei greu yn greadur marwol, ac y buasai efe marw pe y buasai heb bechu.

2. Nad oedd pechod Adda o un anfantais ond iddo ef yn unig.

3. Fod y Gyfraith yn cymhwyso dyn i deyrnas nefoedd, ac wedi ei selio ar ogyfuwch addewidion â'r Efengyl.

4. Fod rhai dynion cyn dyfodiad Crist yn byw yn ddibechod.

5. Fod babanod yn yr un cyflwr ag Adda cyn y cwymp.

6. Mai nid anufudd-dod Adda yw yr achos o farwolaeth holl ddynolryw; ac nad yw yr adgyfodiad cyffredinol yn deilliaw trwy rinwedd adgyfodiad Crist.

7. Pe byddai dyn yn ymdrechu, y gallai efe gadw holl orchymynion Duw heb un anhawsdra; a chadw ei hun mewn cyflwr o ddiniweidrwydd perffaith.

8. Er i gyfoethogion gael eu bedyddio, a byw yn rhinweddol, nas gallant fyned i'r bywyd heb iddynt ymadael â'u holl olud.

9. Nad ydyw gras a chymhorth Duw yn cael eu rhoddi i gyflawni pob gweithred foesol; ond fod rhyddid yr ewyllys, a gwybodaeth o ddyledswydd, yn ddigonol i ateb y dyben.

10. Fod gras Duw yn cael ei roddi yn gyfatebol i haeddiant dyn.

11. Na all neb gael eu galw yn blant i Dduw oddieithr eu bod yn berffaith ddibechod.

12. Mai trwy ryddid ei ewyllys, ac nid drwy gymhorth Duw, y mae i ddyn gael buddugoliaeth ar ei brofedigaethau."*

Tybia amryw fod Morgan wedi cael llawer o'r syniadau hyn o hen athroniaeth y Derwyddon;† ond y mae eraill yn barnu mai o'r Dwyrain y daethant, ac yn haeru eu bod i'w canfod eisoes yn ysgrifeniadau *Origen*, &c. Ond er mor anysgrythyrol oeddynt, cawsant dderbyniad rhwydd a chymeradwyaeth helaeth yn y byd, fel y bu yr eglwys mewn perygl o lygriad cyffredinol oddiwrthynt. Morgan, a chyfaill iddo, o'r enw *Coelestius*, gŵr tra dysgedig o'r Iwerddon, o'r un daliadau ag yntau ei hun, a aethant i Rufain, ac a fuant mewn bri mawr yno dros amser. Wedi hyny hwy a ymadawsant o Rufain a daethant i Sicily, ac oddiyno yr aethant i Affrica, lle y lledaenent eu daliadau yn fwy eofn. Ond Awstin, yr hwn wedi hyny a fu yn esgob Hippo yn Affrica, a gyfodwyd i'w gwrthwynebu, a thrwy ei ysgrifeniadau nerthol llwyddodd i gyffroi yr eglwys i ystyried ei pherygl, a'r canlyniad fu cynnal amryw gynghorau cyffredinol o bryd i bryd i wrthladd lledaeniad y syniadau hyn o'r eiddo Morgan a'i gefnogwyr.

Nid yw yn ymddangos i Forgan ei hun ddychwelyd i Frydain, ond ei ddaliadau a daenid yma yn ddyfal, yn enwedig gan un o'r enw *Agricola*, mab i'r esgob *Ssverianus*, yr hwn efallai a orfuasai ffoi o wlad Gâl mewn canlyniad i orchymyn yr ymherawdwr Valentinianus; ac ymddengys eu bod yn ymledu mor brysur yn y wlad hon, fel y teimlai yr eglwys yn Mrydain yr angenrheidrwydd i wneyd rhyw egni annghyffredin i'w gwrthsefyll.

Efallai fod ymadawiad y Rhufeiniaid â'r ynys hon, yn nghyda mynych ruthriadau y llwythau barbaraidd, wedi peri cymmaint o niwed i achos crefydd a llenyddiaeth yn yr ynys hon, fel ag yr oedd y pryd hyn yn amddifad iawn o ddwyfyddion a dysgedigion galluog i wrthsefyll y llifeiriant

* Hanes Crefydd yn Nghymru, t.d. 111, 112.

† Dr. Richard's Account of Morgant or Pelagius, p. 105.

o gyfeiliorni oedd yn bygwth goresgyn yr holl wlad. Felly anfonid i Gâl am gynnorthy oddiwrth yr eglwys Gristionogol yno; ac yn ol eu cais, anfonwyd *Garmon* a *Bleiddyn*, y cyntaf yn esgob *Auxerre*, a'r olaf yn esgob *Troyes*, a'r ddau yn dra hyddysg yn yr holl ddadl berthynol i'r gyfundraith Forganaidd, ac yn nodedig am eu duwioldeb personol, a'u sel dros y gwirionedd. Cawn hysbysiad am Garmon, ei fod yn fab i *Rhedyw*, ac ewythr i *Emyr Llydaw*, ac felly o waedoliaeth Cymreig: ac nid yw yn annhebyg fod Bleiddyn o'r unrhyw waedoliaeth. Meddylir fod y ddau ŵr dysgedig hyn wedi tirio yn Mrydain tua'r flwyddyn 429, a dechreuasant deithio o gŵr bwy gilydd i'r wlad, gan bregethu y gwirionedd i gynnulleidfaoedd lluosawg a gyrchent i'w gwrandaw pa le bynag yr elent. O'r diwedd, blaenoriaid y Morganiaid a'u cyfarfuant mewn cymanfa gyhoeddus yn Verulam, i ddadleu ar y pynciau yr annghytunent mewn perthynas iddynt, a lluaws mawr o bobl a ddaethant yn nghyd, i wrandaw y ddadl, ac i farnu drostynt eu hunain, gan bwy yr oedd y gwirionedd. Y Morganiaid yn gyntaf a amddiffynasant eu daliadau hyd eithaf eu gallu; ond Garmon a Bleiddyn a dywalltasant y fath lifeiriant o resymau cedyrn ac ysgrythyrol yn erbyn eu hathrawiaeth, gan ddynoethi ysgelerder eu cyfeiliornadau yn y fath fodd, fel nad oedd rym yn y Morganiaid i'w hateb, a thrwy anhawsder yr atelid y bobl rhag rhuthro arnynt.*

Yn fuan ar ol y gymanfa uchod, yr oedd Garmon a Bleiddyn ar eu taith drwy y wlad i hyfforddi y Cymry, pan y daeth y Pictiaid a'r Saeson yn dorfeydd mawrion o Scotland, gan anrheithio y rhan ogleddol o Gymru. Ac fel yr oedd lluaws o'r Cymry wedi cyfarfod yn y rhan hono o'r wlad, i wrando ar y gwŷr enwog hyn yn pregethu, mynegwyd iddynt fod byddin y gelynion yn neshau; a Garmon yn llawn gwroldeb a sel, a dynodd, a'r lluaws dysgyblion yn ei ddilyn, i nant, yn agos i'r Wyddgrug, sir Fflint, yr hon a elwir hyd heddyw "Maes Garmon," ac wedi peri i'r Cymry ddysgwyl yn dawel am ddyneshad y gelynion, efe a orchymynodd iddynt gydgyfodi pan roddai efe yr arwydd iddynt, a gwaeddi "Aleluwia," dair gwaith. Felly, ar y munydyn yr oedd y fyddin elynol yn dyfod i'w golwg dros ael y bryn, ar fedr rhuthro arnynt, Garmon a roddodd yr arwydd, a'r Cymry a gyfodasant yn llu mawr, gan lefain â llef uchel, hyd oni ddadseiniau y bryniau o'u deutu, "Aleluwia, Aleluwia, Aleluwia!" Pan glybu y Pictiaid y floedd nerthol hon, hwy a ddychrynasant yn ddirfawr, fel y'u taflwyd i'r dyryswch mwyaf, rhai a fwrient eu harfau o'u dwylaw, ac eraill, yn eu ffwdan i ffoi, a laddent eu cymdeithion, a llawer o honynt a foddwyd yn afon *Alun*, yr hon oedd dra uchel y pryd hyny, a'r hon a groesasent yn y boreu. Felly, y Cymry, trwy ddaioni Duw, a gawsent y fuddugoliaeth lwyraf ar eu gelynion y pryd hyny, heb dynu y cleddyf o'r wain. Er nad ydym am ddilyn rhai o'r hen haneswyr Pabaidd, a dadleu fod yn y tro yma gyfryngiad gwyrthiol er gweini gwaredigaeth i'r Cymry, nis gallwn lai na chydnabod daioni Duw i'n tadau yn y tro.

Y mae colofn wedi ei chyfodi yn y gymmydogaeth hono, ar y lle y bernid yr enillwyd y fuddugoliaeth ddywededig, yn y flwyddyn 1736, gan Nehemiah Griffith, Ysw., ac arni yn argraffedig y mynegiad cryno a ganlyn am y tro:—"Yn y flwyddyn 420, y Saeson a'r Pictiaid, wedi uno eu lluoedd, a ymosodasant ar y Prydeiniaid, ac wedi eu cyfarfod ar y llanerch hon, yr hon hyd heddyw a elwir *Maes Garmon*, fel yr oedd blaenoriaid y Prydeiniaid, Garmon a Bleiddyn ar ddechreu y frwydr, Crist ei hunan a ymladdodd yn y gwersyll. Tair gwaith y bloeddiodd y fyddin Brydeinaidd '*Aleluwia*'! Y byddinoedd gelynol a daflwyd i derfysg; a'r Prydein-

* Bede, llyfr i. pen. 17.—Usher de Eccles. Brit. p. 328.

iaid a gawsant fuddugoliaeth ar eu gelynion heb dywallt gwaed. Felly ffydd, ac nid nerth, a enillodd y fuddugoliaeth. Er cof o'r fuddugoliaeth Aleluwiaidd, Nehemiah Griffith a gyfododd y golofn hon, o.c. 1736." Yn agos i'r lle hwn y mae ffynon, a elwir "*Ffynon Gwaed*," yr hwn enw a gafodd oud odid oddiwrth y frwydr hon. Gellid meddwl fod rhyw gofion ereill yn y gymmydogaeth o ymweliad y ddau ŵr crybwylledig, megis Llanarmon, Pont Bleiddyn, &c. Y mae hefyd amrywiol leoedd creill cyssegredig i'w coffadwriaeth yn ngwahanol barthau y dywysogaeth; megis Bettws Garmon, Capel Garmon, Llanfleiddian, &c. Mae rhai o'r hen haneswyr yn dywedyd ddarfod i *Garmon* adeiladu addoldy o gangenau y coed, y rhai a blethid â gwiail, yn yr hon y cynnaliai efe a'i ddylynwyr Wyliau y Pasg, ac y bedyddiai efe ran fawr o'r fyddin Gymreig, y rhai a fuasent yn ymlynedig wrth baganiaeth hyd yr ymweliad hwn, cyn eu harwain i gyfarfod eu gelynion; a barnai yr Athraw Rees, mai ar y fan lle y safai yr adail wial hon yr adeiladwyd *Llanarmon yn Iâl* wedi hyny.* Y ddau ŵr enwog hyn, wedi bod yn yr ynys hon tua blwyddyn o amser, a llwyddo yn eu hymdrechiadau i waredu y Cymry oddiwrth eu gelynion ysbrydol a chnawdol, i fesur mawr, a ddychwelasant i'w gwlad, ac at eu diadellau eu hunain, y rhai oeddynt yn hiraethu yn fawr am danynt.

Gan fod y ddarlith hon eisoes wedi myned yn faith, a'n bod wedi dyfod hyd y cyfnod yn hanes ein cenedl, y bydd y bummed Ddarlith i ddechreu, terfynaf gyda rhai sylwadau adolygol.

1. Gwelwn oddiwrth yr hyn a adroddwyd, mor ddirgel yw ffyrdd Duw i gyflawni ei amcanion. Ei waith yn gollwng y gwaedgwn Rhufeinaidd ar ein hynafiaid—yn peri eu bod yn fwy anniben yn goresgyn yr ynys hon nag y buasent yn goresgyn holl wledydd Ewrop, a rhanau o Asia—yn cyfodi Caradawg, a'i ddoniaw â'r fath ddewrder dihafal i sefyll cyhyd, ac mor ddewrwych, yn erbyn eu holl gadernid—yn goddef i Frenines y Brigantwys yn y diwedd ei fradychu i'r Rhufeiniaid—yn rhoddi ffafr iddo ger bron Caisar drahaus, a'i bendefigion uchelfrydig, fel y cymmerid ei dad Bran yn wystl anrhydeddus drosto i'r ddinas amherodrol—a pheri i hyn gymmeryd lle ar yr adeg yr oedd Paul, apostol mawr y cenedloedd yn y ddinas hono, fel ag y perid fod digon o atyniad mewn Cristionogaeth i enill sylw yr alltudion Prydeinaidd—oeddynt oll fel cynnifer o dorchrwyau yn y gadwyn, er dwyn Cristionogaeth yn foreu i Frydain.

2. Gwelwn anfarwoldeb yr egwyddor Gristionogol; canys, er mai mewn amseroedd blinion ar ein cenedl y dygwyd yr Efengyl i Frydain, ac i lawer gelyn dyngu mewn balchder y'i diwreiddient o'r ynys, ac o'r byd, y mae wedi gorfucheddu yr holl ystormydd, a gorchfygu yr holl wrthwynebiadau; a thra y mae ei hen erlidwyr wedi pydru yn mhriddellau y glyn, y mae Cristionogaeth yn blodeuo drwy holl Frydain, ac wedi myned yn bren mawr, gan ledu ei changau dros y byd, a dyferu ei ffrwythau i bob gwlad.

3. Gwelwn ein rhwymedigaethau arbenig ni i fod yn ddiolchgar i'r Arglwydd am yr anrhydedd hwn a roddes efe ar ein tadau, a'r caredigrwydd neillduol a ddangosodd efe tuag at ein cenedl ni, trwy anfon y gwirionedd yn ei symlrwydd mor foreu i ni, a pheri i'r Efengyl gael derbyniad mor roesawus gan ein tadau.

* Rees's Essay on the Welch Saints, sect. 7. p. 125.

# DARLITH V.

## HELYNT WLADOL Y CYMRY O YMADAWIAD Y RHUFEINIAID A'R YNYS, HYD FARWOLAETH CADWALADR FRENIN.

Wedi i'r Rhufeiniaid fod mewn meddiant o ranau o Ynys Prydain dros fwy na phedwar can' mlynedd, trwy fynych ymrysoniadau eu tywysogion uchelfrydig am yr orsedd amherodrol, a chadruthrau diorphwys yr Huniaid a'r Gothiaid ar ranau o'r amherodraeth, bu raid iddynt alw eu holl lengau milwraidd o Frydain; ac ar yr un pryd cydgorphorasant filoedd o ieuenctyd Cymru yn eu byddinoedd, er ceisio eu gwrthsefyll, a chadw calon eu teyrnas rhag syrthio yn ysglyfaeth i'r anwariaid: a thrwy hynny, gadewid yr ynys hon yn dra diamddiffyn ar y pryd, ac mewn cyflwr hynod o ddiallu i wrthladd gelynion a ruthrent arni o unrhyw barth.

Yn yr adeg yma, gallem feddwl fod y Prydeiniaid yn dychwelyd yn rhwydd i gydnabod uchafiaeth eu penau cenedl eu hunain, achyddiaeth y rhai a gedwid yn gywir yn nghaniadau eu beirdd: canys yr ydym yn cael ar ddeall bod ein cenedl, er yn foreu iawn, yn rhoddi pwys mawr ar gadwraeth achyddiaeth yn ddifylchau, fel rhwymedigaeth anhebgor ar dlawd a chyfoethog, er rhoddi hawl iddynt i fwynhau eu hiawnderau gwladol; ac fel hyn yr oedd yr hen gyfraith am benteulu neu bencenedl:

"Tri anhebgor pencenedl: bod yn ŵr cyfallwy; a bod yn hynaf o ŵyr cyfallwy ei genedl hyd yn mhen y nawfed âch; a bod yn benteulu, sef yn ŵr gwraig, a phlânt o briodas deilwng; a phob un o'r genedl a fydd yn ŵr ac yn gâr iddo; a gair ei air ef ar air pob un o'r genedl." Allan o'r penau cenedl, neu y penau teuluoedd crybwylledig, y dewisid, ar amgylchiadau o berygl, un i weithredu fel "Penteyrn," neu "Frenin Cymru oll;" felly, tebygid, y dewiswyd Caswallawn, pan oedd Iwl Caisar yn ymosod ar y wlad, a Charadawg wedi hyny yn amser Claudius Caisar; ac yn fuan wedi i'r brodorion gael eu rhyddhau oddiwrth yr awdurdod amherodrol, nyni a'u canfyddwn yn dechreu troi i ymgynghori yn nghylch y priodoldeb o ddewis brenin neu benteyrn arnynt.

Ar y cyntaf, meddyliem fod y Lloegrwys a'r Rhufeiniaid, neu y bobl estronol gymmysg a gyfaneddent barthau deheuol yr ynys, yn benderfynol i osod un o honynt eu hunain yn yr arglwyddiaeth; ac felly y bu *Marcus*, *Gratianus*, *Constantinus*, *Gerontius*, &c., yn arglwyddiaethu ar Frydain, bob un yn ei dymhor; a rhai o honynt hyd yn nod yn amcanu gwneyd defnydd o'u hawdurdod yn Mrydain, i ymgyrhaedd at yr orsedd amherodrawl. Meddylir mai Llundain ydoedd eisteddle y llywodraeth hon, yr hon ydoedd yn ddinas fasnachol enwog y pryd hyny, ac yn gorwedd yn nhiriogaethau y Lloegrwys, y rhai a ymgymmysgasent â'r Rhufeiniaid yn llawer mwy nag y gwnelsai y cynfrodorion Cymreig pur; ac efallai bod hyny yn fanteisiol iddynt dros dymhor i gael y penteyrniaid o'u plith eu hunain. Ond yr hen lwythau Cymreig, yn eiddigus o'u hanrhydedd priodol fel cynfrodorion, a ddalient bod yr awdurdod freninol yn perthyn yn naturiol iddynt hwy, fel meddianwyr cyntaf yr Ynys, y rhai yn lletygar a roddasent dderbyniad a nawdd i'r Lloegrwys i ororau eu gwlad yn eu cyfyngder. Olrheinient yr hawlfraint benteyrnol hefyd i

adeg foreu iawn, yn mhell cyn i'r Rhufeiniaid sengi ar lanau yr ynys, pan y darfuasai i Gymro o'r enw Prydain ab Aedd Mawr, uno yr holl lwythau yn yr ynys dan un penteyrn, a threfnu yn ddeddf sefydlog, fod i'r awdurdod freninol aros yn dreftadol dros byth yn ei genedl ei hun, fel y gwelir yn y Triad canlynol:—

"Tair prif ardal Ynys Prydain · Gymru, Lloegr, ac yr Alban; a braint teyrnedd a ddylid i bob un odd y tair. A than unbenaeth a rhaith gwlad ei gwladoler, herwydd dosbarth Prydain ab Aedd Mawr; ac ar genedl y Cymry y mae dodi yr *unbenaeth* wrth raith gwlad a chenedl, herwydd braint a dyled gyssefin: ac yn nawdd hyn o ddosbarth y dylid teyrnedd yn mhob gwlad yn Ynys Prydain: ac yn nawdd rhaith gwlad pob teyrnedd, sef achaws hyny y dywedir ar ddiareb, 'Trech gwlad nog arglwydd!'"

Tua'r amser yma yr oedd yn mysg y Cymry benau cenedl, y rhai, debygid, y mynasent eu rhoddi yn mlaen o bryd i'w gilydd, yn *benteyrn-iaid;* megys Cunedda Wledig, Brychan Brycheiniog, Cadrod Calchfynydd, Emrys Wledig, &c., ond y Lloegrwys a fynasant osod i fynu un o honynt eu hunain, o'r enw Gwrtheyrn Gwrthenau, yn benteyrn; a'r ymrysoniad yma am benteyrnedd yr ynys a achlysurodd ryfel cartrefol ofnadwy, trwy yr hyn y gwanheid yr holl wlad yn ddirfawr, fel yr oedd y llwythau estronol a ruthrent arni, yn ei chael yn ysglyfaeth rwyddach. Yn wyneb y rhuthriadau hyn gan y Brithwyr a'r Ysgodogiaid o'r gogledd, a'r minteioedd morladronaidd o ororau yr Almaen, anfonai Gwrtheyrn am yr holl bendefigion Prydeinaidd, i gynghorfa gyffredinol, er ceisio eu perswadio i ymuno âg ef, er gwrthladd y gelynion hyn: ond gan fod llawer o honynt, yn enwedig y pendefigion oeddynt o'r hen gyff Cymreig, yn ei annghymmeradwyo fel penteyrn, nis gallai eu cael i gytuno â'i olygiadau; am hyny efe a benderfynodd, heb gydsyniad y Cymry, logi byddin o filwyr estronol i'w gynnorthwyo i wrthladd ei elynion; a phan ydoedd newydd ddyfod i'r penderfyniad yma, dygwyddai i dair llong yn llwythog o grwydriaid Almaenaidd, dan lywyddiad dau frawd, o'r enw Hengist a Horsa, lanio ar ororau dwyreiniol Caint, yn gyfagos i'r lle y glaniasai y Rhufeiniaid o'r blaen; a'r peth mwyaf tebyg yw eu bod wedi glanio yn yr ynys yma, y pryd crybwylledig, fel trafnidwyr yn hytrach nag fel morladron. Eu henw cenedlaethol oedd *Ghetes*, neu *Jutes*, ac yr oeddynt mewn cynghrair â'r llwythau ereill a gyfaneddent y broydd arforawl o'r tu gogleddol i'r afon *Elbe;* ac ymgyfenwent yn *Sacsoniaid*, neu wŷr y cleddyfau byrion.* Pan ddeallodd Gwrtheyrn am eu glaniad, efe a anfonodd genadwri at Hengist a Horsa, i gynnyg eu llogi hwy, a byddin o'u cydwladwyr, i ymladd ei frwydrau; a chan mai rhyfel oedd eu prif alwedigaeth, nid oedd dim yn ddyeithr yn y cyfryw gynnygiad iddynt; felly hwy a gytunasant yn rhwydd i'w gynnorthwyo â byddin gref, dan yr amod o gael Ynys Danet, ar oror Caint, yn wobrwy am eu gwasanaeth. Yn fuan, hwyliai y drefedigaeth filwraidd newydd hon drosodd, mewn dwy ar bymtheg o longau; ac ymsefydlasant yn Ynys Danet, gan gael pob peth angenrheidiol i'w cynnal yno gan Gwrtheyrn; a mynych yr ymladdasant yn ddewrion a ffyddlawn drosto, yn erbyn y Brithwyr a'r Ysgotiaid, y rhai a faeddwyd yn dost ganddynt; a thrwy hyny daethant i ffafr fawr gyda Gwrtheyrn a'i bobl. Ond nid hir y parhaodd y teimlad da hwn rhyngddynt; canys ryw bryd rhwng y flwyddyn 449 a'r flwyddyn 455, y cynnorthwywyr milwraidd hyn a geisient fwy o diriogaeth, mwy o arlwy, a mwy o arian, nag a addawsid iddynt yn eu cyflogiad; gan fwg-

* Gwel "Thiery's History of the Norman Conquest."

wth tori iddynt eu hunain trwy drais, oni chyflawnid eu cais yn rhwydd; ac fel y byddent yn barod i roddi eu bygythiad mewn gweithrediad, gwahoddent ychwaneg o arfogion o'u cenedl eu hunain i ymuno â hwy yn Mrydain, fel y ffurfid yn fuan drefedigaeth gref o honynt ar ororau Caint, y rhai a droisant yn fradwrus i'w hen feistri, a chan ymgynghreirio â'r Brithwyr, hen elynion greddfol y Prydeiniaid, hwy a wnaethant gais teg am drawsfeddiannu y rhanau goreu o'r wlad: ond ar hyn, y Prydeiniaid a ymwrolasant, gan eu gwrthladd yn egnïol, ac wedi amryw frwydrau gwaedlyd, hwy a drechasant y Saeson yn deg, gan eu gyru i'r môr, fel y bu raid iddynt hwylio yn eu llongau tua'u gwlad eu hun: ond yr oeddynt wedi cael cymmaint o flas ar yr ysglyfaeth, fel y dychwelasant yn fuan drachefn, a llawer o'r un giwed drachwantus i'w canlyn; a hwy a feddiannasant wlad eang ar y tu deheuol i'r afon Tafwys, o'r hon nis gallwyd eu difeddiannu byth. Lladdwyd un o'r ddau frawd, sef Horsa, mewn brwydr, a'r brawd arall, Hengist, a ddewiswyd gan y Sacsoniaid yn frenin arnynt yn eu tiriogaeth newydd, yr hon a alwent yn eu hiaith hwy "*Kent-wara-rice*," neu "Freniniaeth gwŷr Caint."

Nid oedd gwaith Gwrtheyrn yn llogi y milwyr estronol hyn ar y dechreu yn gymmeradwy gan nemawr o'r pendefigion Cymreig; a'i waith yn rhoddi tir iddynt i ymsefydlu ar gŵr eu gwlad, a chaniatad i adeiladu dinas,* a gyffroai eu heiddigedd yn fwy. Hengist, yn ddigon cyfrwys i weled ei fantais, ac i wneyd y defnydd goreu o honi, a ymroddai i gryfhau drwgdyb ac eiddigedd y brenin yn eu herbyn; gan haeru eu bod yn awr, pan heb achos i ofni y Gogleddwyr mwyach, mor dra eofn a choledd amcan i ddwyn y goron oddiarno, a'i rhoddi i arall; a bod ganddo lawn cymmaint o achos i ofni gwrthryfel ei ddeiliaid ei hun ag ymosodiadau y Brithwyr a'r Ysgotiaid; ac mai y ffordd oreu iddo i'w ddiogelu ei hun rhag y naill a'r llall, oedd anfon am ychwaneg o Sacsoniaid drosodd i'w gynnorthwyo; felly tua'r flwyddyn 450, deuai un ar bymtheg o longau drosodd yn llwythog o fyddin newydd o ymfudwyr Sacsonaidd, am y rhai yr anfonasai Hengist trwy gydsyniad y Brenin; ac yn mysg yr ymfudolion hyn, yr oedd Escus a Rowenna, mab a merch henaf Hengist. Y Rowenna hon a elwir gan yr ysgrifenwyr Cymreig, Rhonwen, a bu wedi hynny yn fagl ac yn felldith i'r brenin. Hengist a wnaeth wledd fawr yn ei ddinas newydd, i'r hon y gwahoddai y brenin, er dangos, fel y dywedai, ei ddiolchgarwch iddo am ei garedigrwydd, a'i barch diffuant i'w fawrhydi; a pharai i'w ferch Rowenna weini ar y brenin drwy ystod y wledd, dan y rhith o'i anrhydeddu, ond mewn gwirionedd, er cynhyrfu ei nwydau, a'i lygad-dynu; a bu y fenyw ysgeler hon yn rhy lwyddiannus yn ei dichellion: canys er fod gan Gwrtheyrn wraig eisoes, yr oedd tegwch ac ystrywiau Rowenna wedi cyffroi ei drachwant mor angerddol, fel na phetrusodd ei gofyn gan Hengist yn wraig; ac er symmud pob rhwystr o'i ffordd, efe a ysgarodd â'i wraig gyfreithlawn, o'r hon y buasai iddo amryw blant; ac wedi addaw i Rowenna gyflawn ryddid i ymarfer ei defodau crefyddol ei hunan, efe a waddolodd Hengist a Horsa â thywysogaeth Caint, gan ganiatau iddynt ryddid cyflawn i'w phoblogi â Sacsoniaid fel y mynent. Pan glybu Gwrgant, iarll Caint, ac amryw o'r pendefigion Cymreig ereill,

* Dywedir fod Hengist wedi atolygu y ffafr gan Gwrtheyrn, o ganiatad i adeiladu amddiffynfa ar ryw ran o'r diriogaeth a roddasid iddo, gymmaint ag a amgylchynai croen eidion; â'r hyn y cydsyniodd Gwrtheyrn yn rhwydd. Yna Hengist a dorodd groen yr eidion mwyaf a allai gael, yn gareiau meinion, ac â'r rhai hynny amgylchodd y tir ar yr hwn yr adeiladodd ei amddiffynfa, yr hon o'r herwydd a elwid *Thong-Castor*, neu Gaer y Garrai, tua phedair milldir o Grimsby, yn swydd Lincoln

am y gweithrediadau hyn o eiddo y brenin, hwy a lanwyd o ddigofaint tuag ato; ac nid oedd neb a deimlent yn ddwysach yn y tro na'i feibion, Cyndeyrn a Gwrthefyr, y rhai yn nghyda'u mam a ddiystyrasid mor ddigywilydd. Y canlyniad a fu i'r tywysogion Cymreig ddiorseddu neu ymwrthod â Gwrtheyrn fel eu penteyrn, gan ddewis ei fab Gwrthefyr yn ei le; a bu ymladd caled rhwng y Cymry dan Gwrthefyr, a'r Sacsoniaid dan Hengist, yn cael ei gynnorthwyo gan Gwrtheyrn; ond y Sacsoniaid a lwyr orchfygwyd mewn pedair o frwydrau—y gyntaf o ba rai a ymladdwyd yn agos i'r afon Darwent; yr ail ger Rhyd y pysgod, neu fel y'i gelwir gan rai o'r hen haneswyr, Syddyn y ceubal, yr un fel y tybir ag Aylesbury ar lan y Medway, yn yr hon y lladdai Cyndeyrn fab Gwrtheyrn, a Horsa, un o dywysogion y Sacsoniaid, y naill y llall; y drydedd a ymladdwyd ar lan y môr, ar ol yr hyn y ffodd y Sacsoniaid i Ynys Danet; ond fe'u dilynid yno hefyd gan Gwrthefyr, fel y bu raid iddynt adael eu gwragedd a'u plant, a ffoi yn eu llongau tua'u gwlad eu hunain. Ond pan ddeallodd Rhonwen fod ei thad a'i phobl wedi cael eu baeddu mor drwyadl gan Gwrthefyr, hi a lwgr-wobrwyodd ŵr ieuanc o arddwr, neu o leiaf o ymrithiad felly, i wenwyno y brenin, yn yr hyn y bu efe yn rhy lwyddiannus. Y brenin yn deall ei fod wedi ei wenwyno, a bod angau yn agoshau, a alwodd y pendefigion Cymreig, a'r prif swyddogion milwraidd a ymladdasent dano, yn nghyd; ac wedi rhanu ei holl drysorau rhyngddynt, efe a'u cynghorodd i fod yn un â'u gilydd, ac yn dra phenderfynol i amddiffyn eu gwlad a'u breintiau rhag trais estroniaid. Gorchymynodd hefyd iddynt losgi ei gorph, a rhoddi ei ludw mewn delw efydd o hono yn mhorthladd *Stonar*, gan chwanegu y byddai yr olwg ar ei lun yn ddigon i ddychrynu y Sacsoniaid, a pheri iddynt ddychwelyd yn ol i'w gwlad: ond ni wnaeth y tywysogion ei gais olaf hwn, eithr claddasant ef yn Nghaerludd: ac yn fuan wedi ei farw, adferwyd ei dad Gwrtheyrn i'r orsedd drachefn, yr hyn sydd yn achos o syndod eu bod mor anwadal ag adferu un i'r benteyrniaeth, yr hwn a ddifreiniasent mor ddiweddar am fradychu eu gwlad i ddwylaw estroniaid; ond efallai fod hyn, fel llawer tro anffodus arall yn eu hanes, i'w briodoli i ysbryd ymblaid, ac anghytundeb yn eu mysg, o barth i'r un cymhwysaf i gael yr orsedd. Ni bu Rhonwen yn hir heb anfon i hysbysu ei thad Hengist o'r pethau hyn, yr hwn a ddaeth drosodd drachefn, a nifer mawr o ddilynwyr arfog yn ei ganlyn, mewn triugain o longau, yr hyn a frawychodd y Prydeiniaid yn ddirfawr, fel y taer atolygent ar y brenin Gwrtheyrn eu gyru yn ol; ond y Sacsoniaid, wedi clywed hyny, a anfonasant genadwri at Gwrtheyrn, i'w hysbysu ef a'i gynghorwyr, na ddaethent hwy drosodd gydag unrhyw amcan gelynol tuag ato ef, nad oeddynt hwy gymmaint ag wedi clywed am farwolaeth Gwrthefyr, ond gan feddwl ei fod eto yn fyw, eu bod wedi dwyn y llu mawr hwnw drosodd er hunanddiffyniad. Ond gan fod Gwrthefyr wedi marw, atolygent ar y brenin benderfynu ar yr amser a'r lle y gallent gydymgyfarfod yn heddychlawn, er penderfynu pa nifer o honynt a ganiateid i aros yn y tiriogaethau a roddasai efe iddynt am eu gwasanaeth blaenorol; ac yna y dychwelai y lleill yn ol i'w gwlad eu hunain. Yn y canlyniad, penderfynwyd i'r cyfryw gyfarfod gymmeryd lle ar ddydd Calanmai, ar wastadedd eang, lle yr arferid cynnal cynnadleddau cenedlaethol; ac er gochel unrhyw amryfusedd, cytunid eu bod oll i gyfarfod yn y lle dywededig yn anarfog. Ond Hengist, yn ol ei hen arfer fradwrus, a archodd i bob un o'i ddilynwyr ef gymmeryd cyllell hir gydag ef, wedi ei chuddio dan ei wisg, a phan y byddai iddo ef roddi y gair—*Nemht ihre Saxes*, eu bod ar unwaith i'w tynu allan, a lladd y Prydeiniaid. Wedi dyfod y dydd, y brenin a'i bendefigion a ddaethant

yno ar un tu, a'r Sacsoniaid ar y tu arall. Y Prydeiniaid a ddaethent i'r cyfarfod yn ddiarfog a diddichell, a phan oeddynt wedi ymollwng i wledda, ac i yfed yn helaeth, Hengist a roddai ei arwyddair, yn iaith ei wlad, sef "Tynwch allan eich cyllill;" ac yn y fan, pob Sais a laddai un o'r pendefigion Cymreig a eisteddai yn nesaf ato; y rhai, gan eu bod yn anarfog ac yn feddwon, ni allent amddiffyn eu hunain, ac felly cwympodd, meddir, yn y gyflafan hono, bedwar cant a thriugain o oreugwyr y Cymry, a Hengist a gymmerodd y brenin Gwrtheyrn fel ei garcharor. Dywedir na ddiangodd ond un o'r pendefigion Cymreig o'r gyflafan yma, sef *Eidiol*, iarll Caerloyw, yr hwn a gafodd drosol ar lawr dan ei draed, ac â'r trosol hwnw a laddodd ddeng ŵr a thriugain o'r Saeson, ac felly a lwyddodd i ddianc o ddwylaw y lleiddiaid, a'i fywyd yn ysglyfaeth ganddo. Bernir i hyn gymmeryd lle tua 473; mewn cyfeiriad at y bradwriaeth gwaedlyd yma, y canai Iolo Goch, gan ddywedyd—

"Gwae ddydd annedwydd nodir,
Gwae rhag yr hell gyllell hir!
Cyllell hir cuell a llem,
Callestr-fin helldrin hyll-drem.
Dagr garnwen, gethren gythrawl,
Neddai ddu a naddai ddiawl;
Yn ei efail y'th luniwyd,
Dart y diawl a'i hawl ef wyd." *

Wedi y traha yma, y Saeson a drawsfeddiannasant Gaerludd, Caerwynt, a Chaerefrog, fel pridwerth y brenin Gwrtheyrn; a chan ei alltudio ef o Loegr, hwy a feddiannasant y rhan hono o'r ynys yn gyfangwbl iddynt eu hunain. Gwrtheyrn yntau a grwydrai trwy Gymru, gan geisio rhyw gilfach ddiogel, lle y gallai adeiladu dinas ac amddiffynfa iddo ei hun. Priodolir amryw leoedd iddo, fel ei encilfeydd yn y cyfnod yma arno; megys "Nant Gwrtheyrn," yn nghesail yr Eifl, gerllaw Nefyn, un o'r lleoedd mwyaf anhygyrch o fewn Cymru, lle yr oedd hen feddrod carneddawl, yr hwn y dywedai traddodiad ei fod yn perthyn i'r hen benteyrn anffodus yma; a phan y'i hagorwyd, rai blyneddau yn ol, cafwyd cistfaen o'i fewn, yn cynnwys esgyrn gŵr o gorpholaeth hir. Mae ereill yn dywedyd mai "Dinas Emrys," ar odrau y Wyddfa, ychydig o'r neilldu i Beddgelert, oedd ei encilfa; ereill, ei fod wedi adeiladu math o gastell yn nghanol creigydd anial, ar lan afon Teifi; ac y mae lle a elwir hyd heddyw "Craig Wrtheyrn," tua haner y ffordd rhwng Castellnewydd yn Emlyn a Llanbedr pont Stephan—lle, medd y traddodiad, y disgynodd tân o'r nefoedd, gan ysu yr adeilad, a phawb o'i fewn, yn ulw.

Efallai mai y gwahanol chwedlau hyn o barth i ddiwedd Gwrtheyrn a achlysurai y sylw a gynnwysir yn un o Englynion y Beddau, yr hwn sydd fel y canlyn:—

"Y bedd yn Ystyfacheu,
Y mae pawb yn ei amheu,
Bedd Gwrtheyrn Gwrtheneu."

Tra yr oedd Hengist a'r Saeson yn ymorfoleddu eu bod wedi enill tiriogaethau mor eang a breision, a thra yr oedd Gwrtheyrn yntau yn ffoi o fynydd i nant, gan ofni ei gysgod ei hun, ac yn ei adfyd yn ymgynghori â'r dewiniaid, deuai Emrys Wledig, fab Cystenyn Fendigaid, yr hwn a etholasid yn frenin y Prydeiniaid wedi i'r Rhufeiniaid adael yr ynys, o Lydaw, lle y buasai efe a'i dylwyth dros ysbaid teyrnasiad Gwrtheyrn; ac i'w ganlyn fyddin o ddeng mil o wŷr, i waredu y Cymry

* Gwel Drych y Prif Oesoedd, t.d. 75.

yn eu cyfyngder, i arhoni ei hawl i'r benteyrniaeth, o'r hyn yr ystyriai ei hun, ac y'i hystyrid gan ereill, yn etifedd cyfiawn; ac i ddial gwaed ei genedl ar y Saeson. Can gynted ag y lledaenwyd y newydd am ei laniad, y Cymry, er mor ddigalon oeddynt cyn hyny, a gyrchent yn lluoedd i ymrestru dan ei luman: ac mewn lle a elwir Maes Beli, efe a gyfarfu Hengist a'i wyr wedi ymfyddino yn drefnus, gan obeithio gallu disgyn ar Emrys yn annysgwyliadwy: ond Emrys a drefnodd ei fyddin i ymosod arnynt, gan ffurfio corph y fyddin o'r Llydawiaid a'i ddeiliaid ei hun, a chyfleu y deheuwyr, y rhai oeddynt fedrus gyda'u gwaywffyn, ar yr uchelderau, a'r gogleddwyr, y rhai a ragorent fel saethyddion, yn y coedwigoedd, fel na byddai yn hawdd i'r Saeson ddianc un ffordd: a llawer a gwympasant o bob tu. O'r diwedd Hengist a ffodd hyd Gaer Cynan, lle y'i hymlidiwyd, a chynnifer o'i ganlynwyr ar a oddiweddwyd gan Emrys, a laddwyd; o'r diwedd llwyr ddrylliwyd rhengau y Saeson, a thaflwyd hwy i'r annhrefn mwyaf. Yn y frwydr hon, Eidiol, iarll Caerloyw, a chwiliai yn ddyfal am Hengist, gan fod yn awyddus i ymddial arno am ei holl ffalsder at y Cymry, yn enwedig cyflafan y cyllill hirion; ac wedi ei gyfarfod o'r diwedd, hwy a ymladdent mor ffrochwyllt, nes oedd y tân yn gwreichioni fel mellt oddiar eu harfwisg. Tra yr oeddynt yn ymladd fel hyn, daeth Gwrlais, iarll Cernyw, i fynu, ac a yrodd y Saeson a ymladdent oddeutu eu blaenor i ffoi; ac Eidiol, wedi ei adfywio trwy hyn, a gydiodd yn marf a llurig Hengist, gan ei lusgo i ganol y milwyr Prydeinaidd, a gweiddi, "Ymddielwch yn awr ar y Saeson ffoëdig, canys wele Hengist yma." Y rhan fwyaf o'r fyddin Sacsonaidd, dan dywysiad Octa, fab Hengist, a ffodd i Gaerefrog; ac Ossaf ei ewythr, a ffodd gyda'r rhan arall i Alclwyd. Wedi y frwydr hon, cymmerth Emrys yr amddiffynfa rag-grybwylledig, Caer Cynan, lle y gorphwysodd ei fyddin dros dri diwrnod i gladdu y meirw, i ymgeleddu y clwyfedigion, ac adgyfnerthu ei fyddin.

Yna Emrys a alwodd ei gynghoriaid yn nghyd, i ystyried pa beth a wnelid o Hengist, ac yn y gynghorfa hon yr oedd yn bresenol Eldad, esgob Caerloyw, ac Eidiol ei frawd, a phan welodd yr esgob hen elyn ei genedl yn sefyll yn y cynghor, efe a ddywedodd, Pe y buasai yr holl gynghor yn penderfynu ei ollwng yn rhydd, y buasai efe, er ei fod yn esgob, yn ei ddarnio â'i law ei hunan, megys y gwnelsai Samuel y prophwyd âg Agag gynt; ac ar hyny, Eidiol, iarll Caerloyw, a ruthrodd arno, ac a'i lladdodd.* Ond y mae awdwr "Drych y Prif Oesoedd" yn dweyd mai Dyfrig, archesgob Caerlleon ar Wysg, a gynghorai felly.

Wedi hyn, Emrys a arweiniodd ei fyddin fuddugol i warchae ar Octa a'i wŷr, y rhai oeddynt yn Nghaerefrog: ond Octa, yn deall mai ofer a fyddai iddo geisio gwrthsefyll y fath fyddin, a benderfynodd ei fwrw ei hun a'i ddilynwyr ar drugaredd y brenin, a chan gymmeryd cadwynau yn eu dwylaw, a phridd ar eu penau, hwy a'u rhoddasant eu hunain i fynu iddo. Emrys gan hynny a alwodd gynghor i ystyried pa beth a wnelid o honynt; ac yn y cynghor hwnw, un o'r esgobion (Dyfrig, medd rhai) a gynghorodd gan ddywedyd; "Pan ddaeth y Gibeoniaid i erfyn am drugaredd yr Israeliaid, fe'i caniatawyd iddynt; gan hyny, na fydded ein trugaredd ni yn llai na'r eiddo yr Iuddewon." Ac felly arbedwyd eu bywydau; a hwynt-hwy, yn gystal ag Ossaf a'r gwŷr oeddynt gydag ef, a gawsant diriogaethau dan wriogaeth yn Iscoed Celyddon.

* Gwel "The Chronicle of the Kings of Britain," gan y diweddar Barch. Peter Roberts, Rhiwabon, t.d. 124. "Hist. of the Ancient Britons," gan y Parch. John Owen, vol. i., p. 155.

Yna Emrys a drodd ei arfau yn erbyn Ella, brenin y Sacsoniaid deheuol, byddinoedd yr hwn a orchfygwyd ganddo, ac efe a adenillodd ddinasoedd Caerefrog, Caerludd, Caerwynt, a Chaer Caradog, fel yr oedd ei orsedd wedi ei sefydlu mewn heddwch. Ac wedi gwysio cynghor cenedlaethol o'r holl bendefigion a'r archesgobion i ymgyfarfod yn Nghaerefrog, ar draul y brenin, anfonwyd gorchymyn allan wedi ei law-nodi a'i selio gan y brenin, yn erchi i'r addoldai a ddistrywiasai y Sacson paganaidd trwy y deyrnas gael eu hail-adeiladu, i'r cyfreithiau gorthrymus gael eu diwygio, i'r tiroedd a ddygasid yn anmghyfiawn oddiar eu perchenogion gael eu hadferu, ac i gyfiawnder gael ei weinyddu trwy yr holl dir. Oddiyno efe a aeth i Gaerwynt, lle y gwnaeth efe yr un ffunud, gan ymholi, yn nghyda'i gynghoriaid, i gwynion ei ddeiliaid, yn y rhan hono o'i deyrnas. Ac oddiyno, yr un ffunud, symudodd ef a'i gynghorwyr i Gaer Caradog, lle y buasai cyflafan y cyllill hirion: yn gyfagos i'r hwn le y buasai teml Dderwyddol fawr unwaith, ond wedi i Gristionogaeth oresgyn y wlad, ymddengys fod addoldy Cristionogol wedi ei gyfodi yn y lle. Y pryd hwn efallai y darfu iddo ef gyfodi Gwyddfa y tywysogion yn y lle, er cof am gynnifer o honynt a gwympasant yn trwy frad Hengist. Yn y gymmanfa a gynnaliwyd yn y lle hwn, y coronwyd Emrys yn benteyrn Prydain, ac y gosodwyd Dyfrig yn Archesgob Caerlleon ar Wysg, ac un o'r enw Samson yn Archesgob Caerefrog.

Yn y cyfamser, yr oedd Pasgen, trydydd mab Gwrtheyrn, yr hwn ar ddiorseddiad a gwarthruddiad ei dad, a enciliasai yn llawn soriant i'r cyfandir, wedi llwyddo i gynnull byddin yn yr Almaen, er adenill Prydain oddiar Emrys fab Cystenyn; ac efe a laniodd gyda'i fyddin ar ororau Iscoed Celyddon, gan ddysgwyl y buasai y Saeson a gyfleasai Emrys yn y broydd hyny yn ymuno âg ef: ond can gynted ag y clywodd Emrys am ei ddyfodiad, efe a gynnullodd ei wŷr yn nghyd i fyned i gyfarfod âg ef, ac efe a yrodd Pasgen a'i wŷr ar ffo yn fuan; a chroesi y môr i'r Iwerddon a wnaeth Pasgen, lle y'i derbynid yn roesawus gan y brenin Cilamwri, yr hwn a gytunodd i'w gynnorthwyo â byddin drachefn, i geisio goresgyn Prydain, ac wedi cydhwylio drosodd i'r deheubarth, hwy a anrheithiasant Dŷ Ddewi, a'r wlad oddiamgylch.

Y pryd hyn yr oedd Emrys yn gorwedd yn glaf yn Nghaer Went, ac am hynny efe a anfonodd ei frawd Uthr gyda byddin i'w gwrthwynebu; hwythau wedi clywed am afiechyd Emrys, a logasant ddyhiryn o'r enw Eppa, yr hwn, er ei fod yn Sais o waedoliaeth, oedd yn gyfarwydd yn iaith a defodau y Cymry, ac yn hyfforddus yn y gelfyddyd feddygol, i ymrithio megys mynach, a chynnyg ei wasanaeth i Emrys, fel meddyg medrus, fel y caffai gyfleustra trwy hynny i wenwyno y tywysog: yn yr hyn y bu y bradwr yn llwyddiannus; ac wedi rhoddi y ddiodlyn wenwynig iddo, efe a ddiangodd o'r llŷs, dan y ffug o fyned allan i'r maesydd i gasglu llysiau meddygol. Ond Uthr a ymladdodd frwydr galed a gwaedlyd â Phasgen a Chilamwri, y rhai o'r diwedd a lwyr orchfygwyd ganddo: ac yntau, ar farwolaeth ei frawd, a goronwyd yn frenin ar yr ynys. Claddwyd Emrys o fewn "Cylch yr Arwyr," yn agos i Gaer Caradog, a thrwy gydsyniad yr holl bendefigion a'r llenorion, etholwyd ei frawd Uthr yn benteyrn yn ei le. Oddeutu yr amser hwnw, ymddangosai rhyw seren wib aruthrol, yr hon a ddychymygid gan y lluaws ofergoelus ei bod yn gyffelyb i ddraig, ar yr hyn yr ymgynghorai Uthr â Merddin ddewin; yr hwn a ddywedai, "O! feibion Prydain, yr ydych chwi wedi cael colled anadferadwy; canys yn awr yr ydych wedi eich gwneyd yn weddw o Emrys: er hyny chwi a gewch frenin. Brysia di Uthr gan hyny i ymosod ar y gelyn; canys yr holl ynys a fydd eiddot ti. Canys tydi, Uthr, a ddynodir drwy y seren hon

a'r pen draig," &c. Ac Uthr, wedi ei goroni yn frenin, gan gofio geiriau Merddin, a barodd wneuthur dwy ddraig ysplenydd o aur, ar lun y seren a ymddangosasai, ac a gyfleodd un o honynt yn yr eglwys benaf yn Nghaer Went, a'r llall a wnaeth efe yn lluman i'w chludo o flaen ei fyddinoedd; ac ar y cyfrif hwnw, medd hen haneswyr, y'i gelwid o hyny allan yn "Uthr Bendragon."

Yn y cyfnod yma, Octa, fab Hengist, ac Ossa, gan eu hystyried eu hunain yn rhydd oddiwrth eu hymrwymiad i Emrys, a ddechreuasant ymgynhyrfu, gan anfon i'r Almaen, ac at Pasgen, am gyfnerthiad i geisio adenill arglwyddiaeth ar yr ynys; ac wedi cynnull byddin gref, gwnaethant gadruthiad ar Loegr, a daethant yn lled ddiwrthwynebiad can belled a Chaerefrog: ond tra yr oeddynt yn ymosod ar y ddinas hono, daeth Uthr a'i fyddin ar eu gwarthaf, lle y'u llwyr orchfygasant, gan eu gyru i fynydd *Dannet*, neu *Damen*, fel y'i gelwir yn rhai o'r hen goflyfrau. A'r noson hono Uthr a alwodd ei gynghorwyr yn nghyd i ystyried pa beth a wnelent yn mhellach, i'r hyn y cynghorai Gorlais, iarll Cernyw, gan fod y nos yn dywell, a'r fyddin Brydeinaidd yn llai ei nifer na'r fyddin elynol, bod iddynt wneyd ymosodiad annysgwyliadwy ar wersyll y Saeson y noson hono; â'r hyn y cydsyniwyd; ac wedi cyrhaedd o honynt ben y mynydd, gwnaethant laddfa fawr yn eu mysg, gan gymmeryd llawer o honynt yn garcharorion, yn mysg y rhai yr oedd Octa ac Ossaf, a'r gweddill o'u byddin a wasgarwyd.*

Wedi y fuddugoliaeth hon cafodd Uthr beth seibiant, yr hwn a ddefnyddiodd efe i ymweled â gwahanol ranau ei deyrnas, er cadarnhau ei lywodraeth, a sicrhau gweinyddiad barn a chyfiawnder yn mysg ei ddeiliaid. Ond cyn pen hir cymmerwyd Uthr yn glaf; a'r penaethiaid Seisnig trwy lwgr-wobrwyo eu ceidwaid, a ddiangasant o'r carchar, ac wedi llwyddo i gyrhaedd drosodd i Almaen, cyfodasant fyddin newydd o'u cydgenedl, gyda'r hon yr hwyliasant drosodd i Frydain, a bu brwydr waedlyd drachefn rhyngddynt a'r Cymry yn agos i ddinas Ferulam, yn yr hon y cludid Uthr mewn gwely i lywyddu ei fyddin; canys nid oedd gan y milwyr ymddiried digonol yn ei fab yn nghyfraith, Llew ab Cynfarch, yr hwn a bennodasai efe yn faeslywydd yn ei le, o herwydd ei afiechyd ei hun: ac yn y frwydr hon lladdwyd Octa ac Ossaf; a'r lleill o'r penaethiaid Seisnig a yrwyd ar ffo: ond hwy a gynnullasant eu byddin yn nghyd drachefn ar ffiniau yr Alban, ac a adnewyddasant y rhyfel. Dymunai Uthr eu herlyn yno; ond cynnyddai ei anhwyldeb yn gymmaint, fel nas gallai oddef ei gludo o amgylch mwyach, a'r Saeson wedi deall ei fod yn arfer yfed dwfr bob boreu o ryw ffynon neillduol, a anfonasant genhadon ato, dan y rhith i ofyn amodau heddwch ganddo; ond mewn gwirionedd fel y caffent gyfleustra i wenwyno dwfr y ffynon hono; yr hyn hefyd a wnaethant. Yn y canlyniad, bu farw Uthr, ac ereill o dylwyth ei lŷs, y rhai a yfasant o'r dwfr. Fel hyn y terfynwyd einioes Uthr, wedi bod o

* Y mae rhai haneswyr yn dweyd mai ger Caerbaddon yr ymladdwyd y frwydr hon, a meddylir mai ati y cyfeiriai Taliesin yn y llinellau canlynol:—

" Gwae hwynt-hwy yr ynfydion.
Pan fu waith Faddon;
Arthur ben haelion,
(Y llafnau bu gochion)
Gwnaeth ar ei alon
Gwaith gwŷr gewynion."

Ond o'm rhan fy hun, y mae yn haws genyf goelio eu bod yn cyfeirio at un o frwydrau ei fab Arthur, am yr hon y cawn grybwyll eto.

hono ddwy flynedd ar bymtheg yn llywodraethu ei genedl mewn llwyddiant ac anrhydedd mawr; ac efe a gladdwyd yn "Nghylch yr Arwyr," lle y claddesid ei frawd o'r blaen. Y Saeson a gawsant gyfnerthiad ychwanegol o'r cyfandir, ac a ddechreuasant anrheithio y wlad, gan feddwl mai prin y byddai calon na grym gan y Cymry i'w gwrthsefyll mwyach, wedi marwolaeth Uthr. Nid oedd Arthur fab Uthr ond bachgen ieuanc, pymtheng mlwydd oed, pan fu farw ei dad; ond yr oedd yn feddiannol ar gynneddfau tywysogaidd: gan hyny, wedi i bendefigion y Cymry ymgynnull i gynghorfa yn Nghaerfydau *(Silchester,)* hwy a benderfynasant ei wneyd yn frenin yn lle ei dad, ac efe a goronwyd gan Dyfrig, archesgob Caerlleon.

Y mae yn dra anhawdd rhoddi hanesiad cywir am Arthur a'i weithrediadau, gan fod myneich y canoloesoedd wedi llunio pentyrau o chwedlau celwyddog, a'u tadogi ar ei enw ef, y rhai ydynt daenedig, a hygred i fesur mawr, yn mysg gwerin holl wledydd y cyfandir o'r bron. Yn y ddeuddegfed ganrif, dywedai un ysgrifenydd o'r cyfandir fel y canlyn am dano:—"Canys i ba le ni ddygpwyd ac ni chyhoeddwyd enw Arthur y Prydeiniaid, gan glodforedd hedegawg belled ag y cyrhaedd ymherodraeth Cristionogrwydd? Pwy, meddaf, ni siarada am Arthur y Prydeiniaid, gan braidd nad ydyw yn fwy adnabyddus i genedloedd yr Asia nag i'r Prydeiniaid, megys y traethir i mi gan ein pererinion, yn dychwelyd o'r ardaloedd dwyreiniol? Y dwyreiniaid a siaradant am dano, ac felly y gwnant y gorllewinwyr, a hwynthwy yn ranedig oddiwrth eu gilydd led y ddaiar oll. Yr Aipht a siarada am dano, a'r Bosphorus nid yw ddystaw; Rhufain, arglwyddes y dinasoedd, a gana ei orchestion ef; ac nid ydynt ryfeloedd Arthur yn guddiedig oddiwrth ei chydymgeisydd gynt, Carthage. Ei weithredoedd ef a folychir gan Antiochia, Armenia, a Phalestine."*

Ond nid ei wir hanes, eithr y ffugchwedlau am dano, a daenid felly drwy yr holl wledydd: ac yn y rhai hyny efe a ddarlunid, nid fel blaenor ar ryw lwyth bychan o bobl, mewn rhyw gŵr neilldnedig o'r ddaear; ond fel penadur goruchel annghydmarol, yn tramwy trwy y gwledydd gyda rhwysg goresgynydd anwrthladdadwy; ei lŷs yn ymgynnullfa i ddewrion y byd; ei farchogion ef yn ddewraf o honynt, ac yntau ei hun yn rhagori arnynt oll mewn dewrder a phob camp filwraidd. Gwelwn ef hefyd yn cael ei amgylchynu gan fodau tra annghyffredin eu hanianawd—dewinion, ellyllon, a'r tylwyth teg. Ei enw a geir yn nglŷn a chestyll, mynyddoedd, a meini, yn y fath fodd na ddigwyddodd i unrhyw ddyn arall erioed.†

Parai hyn i amryw haneswyr sobr ameu a fu y fath un a'r gwir Arthur erioed; ac o ameu, haeru na bu, cyn gwneyd yr ymchwil briodol i'n hen gofion hanesyddol, trwy y rhai y gellir profi i foddlonrwydd fod y fath un, a'i fod yn rhyfelwr dewr a medrus, ac iddo gael ei ethol yn benteyrn tua'r flwyddyn 517, fel yr arweiniai fyddinoedd unedig y Cymry yn erbyn y Saeson a'u cynghreirwyr: ac y mae NENNIUS, hen hanesydd o'r nawfed ganrif, yn crybwyll am ddeuddeg brwydr a ymladdodd efe yn fuddugol yn erbyn y Saeson. Yn y Trioedd hefyd, darlunir ei nodwedd filwraidd fel y canlyn:—

"Tri rhuddfanogion Ynys Prydain; Arthur, Morgan Mwynfawr, a Rhun fab Beli: sef, pan ydd elynt i ryfel, ni fynai neb aros gartref, rhag maint y'u cerid; ac nid oedd na rhyfel na maes nas enillynt, lle ni bai frad na chynllwyn; am hyny, diareb yw—Tri gŵr a wnaint wŷr lle'dd elynt; Arthur, Morgan Mwynfawr, a Rhun fab Beli. Tri wŷr a wnaint

* Gwel "Hanes Cymru," gan y Parch. T. Price, t.d. 258, 259. † Ib. t.d. 262, 263.

wŷr lle i byddynt; gwŷr Arthur, gwŷr Morgan Mwynfawr, a gwŷr Rhun fab Beli."*—31. Ac er prawf o'i rwysg a'i benteyrnedd, gallem grybwyll a ganlyn o'r Trioedd:—Tair priflys Arthur; Caerlleon ar Wysg, yn Nghymru; Gelliwig yn Nghernyw; a Phenrhyn Rhionydd yn y gogledd: ac yn y tair hyny, cynnal y tair prifwyl arbenig—nid amgen, y Nadolig, y Pasg, a'r Sulgwyn."† Yn y fan, wedi ei goroni, Arthur a gynnullodd lu mawr, ac a'i harweiniodd tua Chaerefrog, yn erbyn ei elynion; ac ar lan afon a elwid y Dulas, ymladdwyd brwydr galed, lle yr enillodd y Cymry y maes; a'u gelynion a enciliasant i Gaerefrog, lle y gwarchaeai Arthur arnynt yn ddyfal, gan atal pob arlwy oddiwrthynt. Pan glybu Baldolff, brawd y blaenor Sacsonaidd, am hyn, efe a ddaeth rhagddo, gyda chwe' mil o wŷr, hyd o fewn tua deng milldir i Gaerefrog, ar fedr ymosod ar y Cymry yn y nos; ond Arthur, wedi clywed am ei amcan, a anfonodd Cawdor, iarll Cernyw, a chwe' chant o feirch-filwyr, a thair mil o wŷr traed, i'w wrthladd, yr hyn a wnaed yn dra llwyddiannus; yna Baldolff, wedi methu yn ei ymgais hwn i ryddhau ei frawd, a amcanodd wneyd hyny trwy ystryw; ac wedi ymrithio fel telynor, efe a aeth drwy y fyddin Gymreig, a'i delyn yn ei law, a hyd at furiau y ddinas, lle y canai yn uchel, rai o hoff donau ei genedl, trwy yr hyn y'i hadnabyddid gan y gwarchaedigion, ac felly hwy a'i tynasant i fynu â rhaffau i'r ddinas, lle yr ymgynghorai â'i frawd yn nghylch rhyw ffordd o ddiangfa iddo. Yn y cyfamser, dygid hysbysiad i Arthur, fod Cledric, tywysog Sacsonaidd, wedi glanio ar gororau yr Alban, a byddin gref ganddo, i gynnorthwyo ei gydgenedl yn Mrydain; am hyny, barnodd Arthur a'i gynghoriaid yn ddoeth iddynt encilio o Gaerefrog i Gaerludd, a gwysio cynghor cenedlaethol yn nghyd, i ystyried pa beth a wnelid yn y cyfwng hwn; a'r penderfyniad y daethpwyd iddo oedd anfon cenadwri at Howel, fab Emyr Llydaw, o chwaer i Arthur, i erfyn ei gynnorthwy; ac hefyd, bod iddo erchi cymhorth Caron, brenin yr Alban; Maelgwyn, brenin Gwynedd; Meirig, brenin y Deheubarth; a Chattwr, duc Cernyw. Dywedir bod Howel wedi dwyn pymtheng mil o'r Llydawiaid gydag ef i gynnorthwyo ei ewythr, er llawenydd mawr i Arthur a'i wŷr. Yna, wedi cael ei gyfnerthu fel hyn, efe a arweiniodd ei luoedd hyd Gaer-lwyd-coed (*Lincoln,*) lle yr ymladdwyd brwydr waedlyd, yn yr hon y lladdwyd chwe' mil o'r Saeson; a'r rhai a ddiangasant a ffoisant i Goed Celyddon, lle y'u dilynid gan Arthur, ac yr ymladdwyd brwydr waedlyd arall; ac yn fuan fe'u gorfodwyd i roddi eu harfau i lawr i Arthur, a rhoddi gwystlon iddo y rhoddent eu holl feddiannau a'u hysbail i fyny iddo, ac y dychwelent i'w gwlad eu hunain. Ond wedi eu myned allan i'r môr, hwy a edifarhasant am yr amodau a addawsent i Arthur, a throisant yn ol i Frydain, gan lanio yn Totness, ac anrheithio y wlad, oddiyno hyd at yr Hafren, ac o Hafren hyd at Gaerbaddon, ar yr hon y gwarchaeasant. Ond pan glybu Arthur hyn, efe a ddychwelodd o'r gogledd ar frys, ac wedi peri crogi y gwystlon yn ddioed, prysurodd tua Chaerbaddon, i ymofyn y gelynion; ac wedi ymladd caled dros ben, fe'u llwyr orchfygwyd unwaith eto, gan ladd Colgrin a Baldolff ei frawd, a miloedd o'u gwŷr. Yna efe a ddychwelodd ar frys yn ol tua'r gogledd, i gynnorthwyo ei gâr Howel, a'i fyddin Lydawaidd, y rhai oeddynt yn ymladd â'r Pictiaid a'r Ysgotiaid: ac wedi llwyddo i ddarostwng y gelynion hyn hefyd, yn gystal a Chilamwri a'i wŷr a ddaethent drosodd i'w cynnorthwyo, efe a ranodd eu tiriogaethau rhwng ei swyddogion, sef Arawn, Llew, ac Urien ab Cynfarch: a'i nai Howel a'i wŷr a ddychwelasant i'w gwlad eu hunain.

* Myfyrian Archaiology, vol. ii., p. 63. † Ib. p. 73.

Ond nid hir y mwynhaodd Arthur a'i deyrnas heddwch; canys Cerdic, yr hwn, er pan y'i baeddasid yn mrwydr Caerbaddon, a fuasai yn dra llonydd yn ei diriogaethau ei hunan yn Ynys Danet, o'r diwedd a dderbyniodd gyfnerthiad o'r Almaen, ac a ddechreuodd anrheithio tiriogaethau y Cymry eto; ac Arthur, er ei fod wedi ei wanychu yn fawr trwy ei ryfeloedd blaenorol, a ymdrechodd trwy bob moddion yn ei allu i wrthladd y fath elyn cadarn; a thros hir amser yr ydoedd yn dra anhawdd dirnad pa blaid a fyddai drechaf; ond o'r diwedd, Cerdic a enillodd fuddugoliaeth drwyadl; a'r Cymry ar hyny a lwfrhasant yn ddirfawr, gan lwyr anobeithio y gallent byth ddarostwng y Saeson. Yn wyneb hyn, ac yn ofni llwyr drenlio nerth y gweddill o'i filwyr, gwelodd Arthur yn angenrheidiol iddo ddyfod i amodau heddwch â Cherdic, a chaniatau rhan o'i diriogaethau iddo, yn hytrach na pheryglu y golled o'r cyfan trwy ryfel: ac felly y terfynwyd y rhyfel, a Cherdic a sefydlodd y freniniaeth a elwid *Wessex*, neu y Sacsoniaid Gorllewinol.

Yn fuan ar ol hyn, daeth haid fawr o bobl oedd a'u trigias yn fwy dwyreiniol tua glenydd y *Baltic*, y rhai a elwid *Anghels*, neu *Angles*, drosodd, dan dywysiad rhyfelwr o'r enw *Ida*, a'i ddeuddeng mab; a glaniodd eu llynges fawr rhwng genau y *Forth* a'r *Tweed;* ac er gwneuthur eu llwyddiant yn eu hymosodiad ar Brydeiniaid y rhan hono o'r ynys yn sicrach, hwy a ymgyngrheiriasant â'r Brithwyr; a chan fyned rhagddynt o'r dwyrain tua'r gorllewin, parasant y fath arswyd ar y brodorion, trwy ladd a llosgi, ac anrheithio y wlad y ffordd y cerddent, fel y galwai yr hen feirdd Cymreig eu tywysog yn *Fflamddwyn*. Ond er creuloned oedd Ida, a chryfed ei fyddin, efe a gyfarfu âg arwr digon dewr i'w wrthladd yn Ystrad Clwyd, sef Urien, tywysog Rheged, neu *Cumberland*, fel y tybir. Y mae yn ngwaith Taliesin awdl ar frwydr *Argoed Llwyfain*, yr hon a ymleddid rhwng Urien ac Ida; oddiwrth yr hon y gallwn weled fod yr ymladdfa grybwylledig wedi bod yn un galed iawn. Bernir fod Arthur y pryd hwn drosodd yn Llydaw, yn cynnorthwyo ei gâr cymmwynasgar Howel, i ddarostwng gwrthryfel a dorasai allan mewn rhyw ranau o'i diriogaethau.

Gan fod yr Awdl grybwylledig yn ddernyn o farddoniaeth hanesyddol hen a gwerthfawr, ac yn anadnabyddus i'r nifer fwyaf o ddarllenwyr y Darlithiau hyn, dodaf hi i fewn yma, yn nghydag aralleiriad o honi mewn iaith ddiweddarach. Dyma fel y mae hi—

"Y bore Dduw Sadwrn, cad fawr a fu,
O'r pan ddwyre haul hyd pan gynnu:
Dygrysowys Fflamddwyn yn bedwar llu,
Goddeu a Reged i ymddullu,
Dyfwy o Argoed hyd Arfynydd,
Ni cheffynt eiryoes hyd yr undydd.—
Atorelwys Fflamddwyn, fawr drybestawd,
A ddodynt yn ngwystlon, a yn parawd.
Yr atebwys Owain ddwyrain ffossawd,
Nid dodynt, nid y'nt parawd;
A Cheneu mab Coel, byddai cymwyawg lew.
Cyn ataliai o wystl nebawd.—
Atorelwys Urien, Udd yr echwydd,
O bydd yn nghyfarfod am garenydd,
Dyrchafwn eidoed odduch mynydd,
Ac ymporthwn wyneb odduch emyl,
A dyrchafwn beleidr odduch ben gwŷr,
A chyrchwn Fflamddwyn yn ei lyydd,
A Laddwn ag ef a'i gyweithydd.

A rhag gwaith Argoed Llwyfain
Bu llawer celain,
Rhuddei frain rhag rhyfel gwŷr,
A gwerin a gysswys gan ei newydd.
Arinaf y blwyddyn, nad wyf cynydd,
Ac yna y fallwyf hen,
Ym dygn angeu, angeu;
Ni byddif ym dyrwen
No molwyf Urien!"

Nid oes un amheuaeth nad yw yr Awdl uchod o gyfansoddiad Taliesin, ac felly yn gynllun teg o'r iaith a arferid yn Ngwynedd dri chant ar ddeg o flynyddoedd yn ol. Ond er ei gwneyd yn fwy dealladwy i'r cyffredin o'n darllenwyr, dodwn yr aralleiriad canlynol o honi:—

"Boreu ddydd Sadwrn, brwydr fawr a fu,
O godiad haul hyd oni fachludodd:
Cyrchodd Fflamddwyn gyda phedair byddin,
I ymladd â gwŷr Goddeu a Rheged.
Cyrhaeddent o Argoed hyd Arfynydd,
Ond ni chawsant einioes yn hwy nag undydd.
Crochlefai Fflamddwyn mewn mawr ffrwst,
'A roddant hwy wystlon? A y'nt parawd?'
Atebws Owain loyw gledd,
'Ni roddant wystlon—nid ydynt parawd;
A Cheneu ab Coel a fyddai lew cyffröedig
Cyn y talai o wystl i nebun.'
Crochalwodd Urien, blaenor y llu,
'Bydded ymgynnulliad carenydd,
A dyrchafwn ein baniar oddiar y mynydd,
A chodwn ein wynebau tua'r gororau,
A dyrchafwn ein gwaywffyn uwch benau gwŷr,
Rhuthrwn ar Fflamddwyn a'i luoedd,
Dystrywiwn ef a'i gynnorthwywyr.'—
A rhag brwydr Argoed Llwyfain y bu llawer celain,
Y brain a liwiwyd yn goch gan waed rhyfelwyr,
A'r werin a daenasant y newydd drwy y wlad.
Nodaf y flwyddyn hon hyd fy nhranc,
Ac hyd oni phallwyf gan henaint,
A bod fy angeu yn anocheladwy,
Na wenwyf, oni folaf Urien."

Tra fu Urien Rheged fyw, ni chafodd yr Eingyl dan Ida, a'u cynghreirwyr, ond y gwaethaf yn mhob brwydr; ond o'r diwedd llofruddiwyd Urien trwy frad un Llofan. Wedi marwolaeth Urien, dywedir i'w fab Owain ladd Ida â'i law ei hun mewn brwydr. Oddiwrth yr Eingyl, am y rhai y buom yn son uchod, y cafodd y Saeson eu galw *English*. Ond dychwelwn i roddi bras olwg ar ddiwedd hanes Arthur. Ymddengys iddo gael ei daer gymhell i fyned eilwaith i Lydaw, i gynnorthwyo ei gâr Howel i wrthladd rhyw elynion yr ofnai iddynt oresgyn ei wlad; ac iddo, cyn hwylio drosodd, appwyntio ei nai, Modred ab Llew ab Cynfarch, i gymmeryd gofal ei deyrnas, a pherson ei wraig Gwenhwyfar. Ond Modred yn anffyddlawn, wedi ei faglu gan degwch Gwenhwyfar, a'i priododd yn gyhoeddus; a chan ymgynghreirio gyda Cherdic, a rhoddi arglwyddiaeth Cernyw a holl ddeheubarth Lloegr iddo, efe a gymmerth arno ei hun yr enw o frenin y Cymry.

Wedi bod yn absenol o'i wlad bum' mlynedd, dychwelai Arthur yn ol; ond nid oedd yma fawr o gysur yn ei aros; canys ei nai ei hun, yr hwn a

osodasai efe yn rhaglaw ei deyrnas, ac i'r hwn yr ymddiriedasai ei drysorau penaf, ydoedd wedi troi yn dwyllodrus iddo—wedi dwyn ei wraig, a thrawsfeddiannu ei orsedd—ac er ei hunanamddiffyniad, wedi myned i gyngrhair â'r Brithwyr ac â'r Saeson, i wrthladd Arthur pan ddychwelai. Gan hyny, pan y daeth efe drosodd, yr oedd yn rhaid iddo â'r ychydig wŷr oedd ganddo wrthladd byddinoedd unedig Modred a'i gynghreirwyr; ond trwy ei athrylith anhysbyddawl, galluogid ef i ddwyn y rhyfel yn mlaen yn lled lwyddiannus yn erbyn yr holl elynion hyn; ond o'r diwedd, wedi erlyn ei elynion o fan i fan, efe a'u gyrodd i Gernyw, ac yno yr ymladdwyd brwydr waedlyd Camlan. Yn y frwydr hon, cyfarfu Arthur â'r bradwr Modred, ac ymladdent â'u gilydd gyda chynddeiriogrwydd ofnadwy; lladdwyd Modred ar y maes gan Arthur ei hunan; ond archollwyd yntau mor dost fel y bu farw yn mhen ychydig ddyddiau.

Ni allodd y Cymry wneyd ond gwrthsafiad egwan i ymsefydliad y Saeson yn y parthau deheuol o'r ynys byth mwyach; a'r peth mwyaf tebyg yw, i'r rhan fwyaf o'r Lloegrwys ymostwng iddynt yn lled rwydd, ac ymgystlynu â hwy, fel y gwnaethent â'r Rhufeiniaid o'r blaen.

Y mae y Trioedd canlynol yn cyfeirio at ymsefydliad y Saeson yn y wlad hon, ac yn rhoddi gradd o oleuni ar yr amgylchiadau, am hyny dodwn hwy i lawr yma.

"Tair brad ormes Ynys Prydain; cyntaf, y Gwyddyl Coch oc y Werddon, a ddaethynt idd yr Alban; ail, y Llychlynwys; a thrydydd, y Saeson. Sef y daethynt idd yr ynys hon yn nhanc a chenad cenedl y Cymry, ac yn nawdd Duw ac ei wirionedd, ac yn nawdd gwlad a chenedl, ac a wnaethynt ossawd o frad a direidi ar genedl y Cymry, a dwynt i arnynt a ellynt o gyfoeth teyrnedd Ynys Prydain, a chyd ymwerinaw âg eu gilydd a wnaethynt yn Lloegr ac yr Alban, lle yr arosasant hyd yr awr hon: ac yn oes Gwrtheyrn Gwrtheneu y bnad hyny."—Tri. 9.

"Tair gormes gadarn Ynys Prydain, a gystlynynt yn un, ac o hyny ydd aynt yn un ormes a ddygai oddiar y Cymry eu braint, ac eu coron, ac eu tiroedd: sef cyntaf y Coraniaid, ac ymgystlynu a wnaynt âg y Caisariaid onid aynt yn un; ac ail odd y tair y bu y Caisariaid; trydydd oeddynt y Saeson, ac ymgystlynu âg y ddwy ereill a wnaynt yn erbyn y Cymry. Ac o Dduw y bu hyn, er dial tair traha gadarn cenedl y Cymry: can nas gellid o gyfiawnder eu cynghyd."—Tri. 13.

Cawn grybwylliad hefyd yn yr unrhyw awduriaeth am frad Medrod:—

"Tair bradgyfarfod Ynys Prydain: * * * trydydd, cyfarfod Medrawd ac Iddawc Corn Prydain a'u gwŷr yn Nanhwynain, lle y gwnaethant frad Arthur, ac o hyny cadernid i'r Saeson yn Ynys Prydain."—Tri. 20.

"Tri charnfradwr a fuant achaws i'r Saeson ddwyn coron Ynys Prydain oddiar y Cymry: * * * ail ydoedd Medrawd, a roddes ei hun a'i wŷr yn un â'r Saeson, er cadarnhau iddaw y deyrnedd yn erbyn Arthur; ac achaws hyny o frad, ydd aethant laweroedd iawn o'r Lloegrwys yn Saeson."—Tri. 45.

"Tair aerfa ddrud Ynys Prydain: cyntaf, pan aeth Medrawd i Gelliwig, ni edewis ef yn y llys na bwyd na diawd a borthai wybedyn, eithr ei ysu a'i dreuliaw i gyd, ac a dynes Wenhwyfar o'i rhiein-gadair, ac a wnaeth anniweirdeb â hi; ail ydoedd, pan aeth Arthur i lys Medrawd, ac yno ni adewis na bwyd na diawd nas difethai, ac a leddis bob byw yn y cantref, yn ddyn ac yn ysgrubl."—Tri. 52.

Trachefn, cawn grybwylliadau am frwydr anffodus Camlan yn y Trioedd.

"Tair ofergad Ynys Prydain: * * * trydydd fu y gad Gamlan, rhwng Arthur a Medrawd, lle y llâs Arthur, a chydag ef can' mil o wŷr, yn oreuon cenedl y Cymry; ac achaws y tair ofergad y bu i'r Saeson ynill

gwlad Loegr i ar genedl y Cymry, sef achaws nad oedd wŷr rhyfel a allai wrthosod y Saeson."—Tri. 50.

* * * "Ymgystlynu â'r Saeson a orug Medrawd, a pheri ymladd y gâd Gamlan, lle y llas Arthur a'i wŷr namyn tri; ac o hyny allan ydd aethant y Saeson yn ormesgyrch ar deyrnedd Ynys Prydain, a lladd a deol o genedl y Cymry y neb nad elai ganthynt, ac ni chaid namyn ciwdodau gwlad Cymru a fynynt wrthladd gormes y Saeson."—Tri. 100.

Bellach dychwelwn i fwrw golwg yn fwy neillduol ar helynt y Cymry yn y rhan o'r Ynys a elwid "gwlad Cymru," ac yn enwedig y rhan ogleddol o'r wlad hono.

*Cunedda Wledig* oedd fab i Edeyrn ab Padarn Beisrudd, o Gwawl, ferch Coel Codhebawg. Yr oedd efe yn frenin Prydeiniaid Ystrad Clwyd, lle y dechreuodd efe deyrnasu tua'r flwyddyn 328, ac yn hawl ei fam meddai etifeddiaethau eang yn Nghymru. Pan oresgynwyd rhan fawr o Wynedd gan y Gwyddelod, y rhai a drawsfeddiannent diriogaethau Cunedda yn y wlad hono, gan fod ganddo lawer o feibion, efe a roddes fyddinoedd o arfogion dan lywodraeth rhai o honynt, ac a'u hanfonodd i'r wlad hono, i yru y goresgynwyr o honi, ac i adfeddiannu ei diriogaethau, yn yr hyn y buant yn dra llwyddiannus; a hwynthwy eu hunain a ymsefydlasant yn y wlad, gan feddiannu arglwyddiaeth rhandiroedd eang o honi, y rhai a elwir ar eu henwau hyd heddyw. Ei fab henaf, Tybiawn, a fu farw yn Ynys Manaw: ond ei fab ef, Meirion ab Tybiawn, a feddiannodd gantref Meirion, ac ar ei enw y gelwir un o siroedd Gwynedd hyd y dydd hwn, "Sir Feirionydd;" Arwystl ab Cunedda a gafodd Arwystli; Einion a gafodd Gaer Einion, yn sir Drefaldwyn; Ceredig a etifeddodd Geredigion, yn sir Aberteifi; Dunod a gafodd Dunodig, yn sir Gaerynarfon; Edeyrn a gafodd Edeyrnion, yn sir Feirionydd; Mael a gafodd Dinmael; Coel a gafodd Coeleion; Dogfael a gafodd Dogfaelin; Rhufon a gafodd Rhufoniawg, yn sir Ddinbych; ac Oswal a gafodd Osweilin, yn sir yr Amwythig.

Mab i Einion Yrth, arglwydd Caer Einion, oedd Caswallawn, a gyfenwid Llaw hir, am orchestion yr hwn, a'i ymsefydliad yn Mon, y rhoddais beth hanes yn y bedwaredd Ddarlith. Ynddo ef y dechreuodd goruchafiaeth unbenaethol teulu Cunedda yn Ngwynedd, ac efe a deyrnasodd o'r flwyddyn 443 hyd y flwyddyn 517, fel y bu efe yn frenin y Cymry, a chanddo hawl i wisgo yr hualau aur, fel anrhydedd a gwobrwy am ei wrhydri yn Ngherig y Gwyddel, pan y gorfododd y gweddill o'r Gwyddelod a flinent y wlad, i groesi Môr y Werydd yn ol i'w gwlad eu hunain; a mwynhaodd yr anrhydedd dros y tymhor maith o 74 o flyneddoedd.

Efe a ddilynid yn y llywodraeth gan ei fab, Maelgwyn Gwynedd; ac efe a deyrnasoedd dros dair a deugain o flyneddoedd—naw neu ddeg ar hugain o ba rai y bu efe yn frenin Gwynedd; a'r gweddill, debygid, sef o gwymp Arthur, yn benteyrn y Cymry oll. Y mae amryw o'r haneswyr yn rhoddi gair da iddo, fel gŵr synwyrol, dewr, a chyfiawn; ac iddo ddarostwng amryw freninoedd, fel yr oedd ganddo chwech o deyrnasoedd tramor yn cydnabod ei uchafiaeth, sef y Werddon, Ynys yr Iâ, yr Alban, Orkney, Norway, a Denmark. Dywaid Gildas am dano, mae yn wir, ei fod yn ŵr creulawn, a chyhudda ef o fod yn euog o Sodomiaeth: ond y mae rhai yn haeru fod yr hen Gildas wedi ei ddigio yn fawr gan Faelgwyn, am ei fod yn dangos mwy o dueddgarwch at y Beirdd nag at y gwŷr crefyddol.

Gellir golygu dyddiau Maelgwyn yn ddyddiau genedigaeth yr awen Gymreig; canys cyfarfyddwn âg enwau Aneurin, Taliesin, Llywarch Hen, &c.; Aneurin a Llywarch Hen oeddynt feirdd tywysogaidd o fysg Prydeiniaid

Ystrad Clwyd; ond Taliesin ydoedd fardd o Wynedd, ac y mae lle i feddwl iddo fod dros yspaid o leiaf yn fardd y llys i Faelgwyn. Dywedir y chwedl draddodiadol a ganlyn am ddygiad Taliesin i sylw Maelgwyn:—"Gwyddno, un o bendefigion llys Maelgwyn, oedd yn preswylio yn y gymydogaeth, a chanddo gored ragorol, yr hon a elwir *Gored Gwyddno* hyd heddyw, ac a berthyna i Fod Caswallon. Elphin ab Gwyddno oedd ŵr ieuanc uchelfrydig ac afradus, ac felly daeth tlodi i wasgu ar ei gôd, fel y bu raid iddo atolygu i'w dad ganiatau yr hyn a ddelid yn y gored am un noswaith iddo: ond pan aed i edrych pa beth a gynnwysai y gored, er siomiant blin Elphin, ni chaed un pysgodyn o'i mewn; ond mewn rhyw gongl o honi, canfyddai un o'r gweision fath o gorwgl, neu gwch croen, ac o'i fewn ŵr ieuanc, yr hwn ar gyfrif tegwch ei wedd, a alwai Elphin, pan y'i dygid ato, yn *Daliesin:* ac yn athrist o herwydd ei aflwydd, cymmerth Elphin y gŵr ieuanc dyeithr wrth ei sgîl, ar ei farch ei hun adref; ac ar y ffordd, medd rhai, y canai y bardd ieuanc y llinellau a elwir "Dyhuddiant Elphin:" ac Elphin, wedi eu clywed, a feddyliai nad llwyr ddiwerth a fuasai ei helfa. Gan fod y "*Dyhuddiant*" yn ddyeithr i lawer o ddarllenwyr y Darlithiau hyn, dyma efe iddynt:—

"Elphin deg, taw a'th wylo,
Na chabled neb yr eiddo;
Ni wna les drwg obeithio,
Ni wyl dyn ddim a'i portho,
Ni bydd coeg weddi cynllo,
Ni thyr Duw ar addawo:—
Ni chaed yn ngored Gwyddno
Erioed cystal a heno.

Elphin deg, sych dy ddeurudd,
Ni weryd bod yn rhy brudd;
Cyd tybiaist na chefaist fudd,
Ni wna les gormod cystudd.
Nac ameu wyrthiau Dofydd,
Cyd bwyf bychan, wyf gelfydd,—
O foroedd, ac o fynydd,
Ac o eigion afonydd,
Y daw Duw a dâ i ddedwydd.

Elphin, gynneddfau diddan,
Anfilwraidd yw dy amcan,
Nid rhaid it ddirfawr gwynfan,
Gwell yw Duw na drwg ddarogan;
Cyd bwyf eiddil a bychan,
A'r gorferw mor dylan,
My a wnaf yn nydd cyfyrdan,
Yt well na thrychau Maran.

Elphin, gynneddfau hynod,
Na sorr ar dy gaffaelod:
Cyd bwyf gwan ar lawr fy nghôd,
Mae rhinwedd ar fy nhafod.
Tra fwyf fi i'th gyfragod,
Nid rhaid yt ddirfawr ofnod;
Drwy goffau enwau'r Drindod,
Ni ddichon neb dy orfod."

Ond i ddychwelyd at ein traddodiad.—"Yn ngwyliau y Nadolig, pan oedd Maelgwyn yn cael ei amgylchynu gan ei bendefigion oll, a'i bedwar prif fardd ar hugain ger ei fron, yn ymorchestu am y goreu i wenieithio iddo, gan gyd dystiolaethu ei fod yr harddaf, y doethaf, a'r galluocaf o

benaduriaid; a bod ei frenines yn tra rhagori ar bob gwragedd, mewn tegwch a lledneisrwydd; mewn gair, bod ei filwyr y dewraf, ei feirch a'i gŵn y cyflymaf, a'i feirdd y dysgedicaf a'r goreu yn y byd, &c.: Elphin yn wylaidd a ddywedai, nas dylai neb ond brenin ymgystadlu â brenin, pe amgen y buasai efe yn beiddio haeru mai ei fardd ef, *Taliesin*, oedd "ben beirdd," &c. Maelgwyn, yn chwyddedig gan y gweniaith a gawsai, ac efallai dan ddylanwad mêdd, neu win hefyd, pan glywodd y geiriau hyn a ffromodd yn ddirfawr, ac a archodd rwymo Elphin, a'i fwrw yn ngharchar, hyd oni phrofid gwirionedd ei haeriad; yr hyn pan glybu Taliesin, efe a benderfynodd ryddhau ei gyfaill a'i noddwr; ac felly, yn an-adnabyddus, efe a aeth i lys Maelgwyn, yr hwn oedd yn Deganwy, ar lan afon Conwy, a thrwy ei awen rymus, a'i arabedd dihafal, efe a orfuodd holl feirdd y llys, ac a enillodd y fath ffafr yn ngolwg Maelgwyn frenin, fel y rhyddhawyd Elphin, ac y'i hadsefydlwyd yn ffafr ei dywysog yn fuan; ac am hyny y gelwid Taliesin mwyach yn "Daliesin ben beirdd."

Mae Hanes Taliesin yn y Mabinogion rywbeth yn debyg i'r un uchod, ond ei bod yn cyfleu llys Gwyddno tua thiriogaethau Cantref y Gwaelod, a'r gored crybwylledig yn agos i arllwysiad yr afon Dyfi i'r môr. Rhaid addef fod yn gysylltiedig â hanes Taliesin lawer o ffugchwedlau, o ddyfais myneich y canoloesoedd; ond yr ydwyf yn credu fod gwir hanesiaeth yn rhedeg fel edefyn euraidd drwyddynt oll, ac y byddai ceisio ei holrhain a'i thynu allan o'r pentwr dyryslyd yn ddyddorawl, ac efallai na byddai yn anmhossibl.

Dywedir i Maelgwyn adeiladu cestyll Deganwy; Digoll, a elwir yn awr Amwythig; Cyffin, neu Gonwy; a Chollwyn, a elwir yn awr Harlech. Efe hefyd a waddolodd esgobaeth Bangor â thir ac âg amryw ryddfreiniau, ac a adeiladodd dref Bangor.* Heblaw hyny, priodolir iddo seiliad priordy Penmon ac athrofa Caergybi yn Mon; ond gan fod y rhai hyn wedi eu sefydlu yn amser ei dad Caswallon, ac o dan ei nawdd, y mae yn fwy tebyg mai eu gwaddoli a wnaeth â thiroedd ac â breintiau. Efe a fu farw yn y flwyddyn 560, yn eglwys Llandrillo yn Rhos, lle yr enciliasai, meddir, i ochel y fâd felen—rhyw fath o haint dra angeuol a gynniweiriai y wlad y pryd hyny: ond er ei fod ef yn ddigon ofergoelus i ddysgwyl y buasai cysegredigaeth y lle yn ei gadw, mae yn ymddangos iddo farw o'r haint yn y noddfa a ddewisasai. Dywaid rhai mai yn eglwys Llanrhos y'i claddwyd; ond haera ereill mai yn Ynys Seiriol y dodwyd ei lwch i orwedd; ac er cadarnhad o hyny, crybwyllir y dyfyniad canlynol o Gronicl Abatty Basingwerc:—"Maelgwyn, brenin y Brytanied, sydd yn gorwedd yn Ynys Seiriol, a wnaeth Briordy Penmon, a Chlaswrdy Caergybi."

Meddylir yn gyffredin mai yn ystod teyrnasiad Maelgwyn yn Ngwynedd, ac Arthur yn y Deheubarth, y gorlifai y môr dros y rhan oreu o Geredigion, a elwid Cantref y Gwaelod—tiriogaeth fras a gyrhaeddai o dref bresenol Aberteifi hyd Sarn Badrig. Dywedir mai prif ddinas y rhandir hon oedd Caer Wyddno, ar derfyn Sarn Cynfelyn, ac oddeutu deuddeng milldir o Aberystwyth. Priodolir yr aflwydd yma i feddwdod Seithinyn fab Sandde, ceidwad y dyfrddorau; brawd, fel y tybir, i'r esgob Dewi ab Sandde. Tywysog Ceredigion, pan orlifwyd y rhan yma o'r wlad, oedd Gwyddno Garan Hir. A'r hynafiaethydd enwog Lewis Morris, neu Lewelyn Ddu o Fon, a gafodd gareg ar oror swydd Feirionydd, yn y tywod, tua chan' llath goris distyll, ac arni yn doredig mewn

* Gwel "Warrington's History of Wales," 4to, p. 80. "The Chronicle of the Kings of Britain, by the Rev. P. Roberts," 4to, p. 173.

llythyrenau Rhufeinaidd y geiriau canlynol—"*Hic Jacit Calixtus Monedo Regi*,"—"Yma y gorwedd Cychwr y brenin Gwynddo:" ac oddiwrth hyn gellid meddwl mai *Gwynddo*, ac nid *Gwyddno*, oedd enw priodol Garanhir.* Mae rhyw sylwadau lled wahanol ar y gareg hon i'w gweled yn y trydydd cyflyfr o'r *Archæologia Cambrensis*, gan Mr. Jones o Madryn, a Mr. Westwood. Ac nid yw yn annhebyg mai tua'r un adeg y gorlifid y gwastadedd maith oedd rhwng y Conwy a'r Menai, a elwir yn bresenol Traeth y Lafan.

Y mae y traddodiad canlynol, yn gysylltiedig â'r amgylchiad uchod, yn cael ei gadw yn fyw oddeutu y lle, yn Mon ac Arfon :—"Helig ab Glanog, arglwydd y gwastadedd bras hwn, ydoedd ŵr tra annuwiol; ac yn nodedig fel gormeswr y gweddwon a'r amddifaid. Ond fel yr oedd yn dychwelyd tua'i lŷs, un noswaith, ar draws y gwastadedd maith yma, efe a glywai ryw lef ryfedd yn yr awyr yn ei gyfarch, gan ddywedyd, "*daw dial, daw!*" Wedi ymdrechu i ymgaledu, a bwrw y peth heibio yn ddisylw dros dro, ei gydwybod a ymgynhyrfai ynddo, ac efe a ofynai yn gyffrous, "*Pa bryd y daw?*" Yna y llef a atebai, "Yn oes dy feibion, dy wyrion, dy orwyrion, a'th yscynyddion." Yntau a wenieithiai iddo ei hunan, oni ddeuai y dialedd hyd oes ei yscynyddion, y byddai efe oddiar y ffordd yn ddiogel: ond efe a gaffai hir ddyddiau, ac wedi annghofio y rhybudd difrifol, efe a barhai yn ei annuwioldeb rhyfygus, ac a ymlawenhai yn lluosogiad ei hiliogaeth yn genedl gref o'i ddeutu; ac ar un achlysur, fel yr oeddid yn cynnal gwledd ar enedigaeth yscynydd iddo, a'i holl hiliogaeth, hyd bedair neu bump o genedlaethau, wedi ymgynnull er boddhad yr hen batriarch. Fel yr oeddynt yn y gyfeddach feddwol ganol nos, un o'r llawforwynion, wrth fyned i'r feddgell i gyrchu ychwaneg o ddiod, a welai y llawr yn orchuddiedig gan ddwfr, a chan ofni yn y fan fod y môr yn dechreu gorlifo y lle, rhoddai amnaid i'r telynor teuluaidd, yr hwn oedd ei charwr, a chydffoisant tuag ucheldiroedd y Penmaen; o'r lle, wedi ei myned yn ddydd, y gwelent yr holl wastadedd wedi ei orchuddio gan y dyfroedd mawrion; a dialedd dwyfol, er hirymaros, wedi goddiweddyd Helig ab Glanawg.

Wedi marwolaeth Maelgwyn, daeth ei fab Rhun i'r llywodraeth, yr hwn o ran ei gynneddfau rhagorawl ydoedd fab teilwng i fod yn olynwr y fath dad. Gelwir ef yn gyffredin Rhun ab Maelgwyn; a chartrefai, fel y bernir, yn Nghaer Rhun, heb fod yn mhell o lŷs ei dad. Efe a ddaeth i'r llywodraeth yn y flwyddyn 560, ac a fu farw yn y flwyddyn 586; a bu rhyfeloedd blinion rhyngddo a'r Saeson o barthau gogleddol yr Ynys. Yn rhai o'r rhyfeloedd hyny, ymddengys i wŷr Arfon, trwy eu dewrder, enill iddynt eu hunain lawer o glod a breintiau gwerthfawr, fel gwladwyr; at yr hyn y cyfeiriai Taliesin yn un o'i bryddestau :—

"Cyglyw wrth wres eu llafnau,
Gan Run, yn rhudder byddinau,
Gwŷr Arfon rhuddion i'w rhyddhau."

Ac y mae coffadwriaeth anrhydeddus am Rhun yn y Trioedd hefyd, fel hyn :—

"Tri aur-hualogion Ynys Prydain, Rhiwallon wallt Banhadlen, a Rhun mab Maelgwyn, a Chadwaladr Fendigaid; sef y rhodded iddynt wisgaw hualeu euraidd am eu breichiau, ac am eu gluniau, ac am eu gyddfau; ac ar hyny y rhodded braint teyrnedd yn mhob gwlad a chyfoeth yn Ynys Prydain." Wrth hyn gallem gasglu bod Rhun wedi ei ddewis yn benteyrn ar ol marwolaeth ei dad.

* Gwel "History of Wales," gan John Jones, Yswain, p. 38.

Wedi teyrnasu o RUN AB MAELGWYN dros chwe' blynedd ar hugain, efe a fu farw, er galar cyffredinol y genedl, a'i fab BELI a'i dilynodd yn y freniniaeth, ac a deyrnasoedd am oddeutu tair blynedd ar ddeg. Nid wyf yn gwybod fod dim hynodrwydd yn ei nodweddiad na'i hanes ef, ac nid yw yn debyg ei fod ef yn benteyrn, na dim amgen na brenin ar Wynedd.

Dilynwyd ef yn y freniniaeth gan ei fab Iago, a elwid IAGO AB BELI, yr hwn a adeiladodd fonachlog Bangor, ac a gyfranodd yn dywysogaidd tuag at ei chynaliaeth. Wedi teyrnasu o hono dros dair neu bedair blynedd, efe a laddwyd trwy ddyrnod bwyall yn ei ben, gan un a gyfenwid "Cadafael Wyllt." Ni ellais i gael allan pa beth a achlysurai y gyflafan yma, ond gallem gasglu oddiwrth un o'r Trioedd nad oedd Cadafael o waedoliaeth Gymreig; canys fel hyn y dywedir am dano:—

"Tri eilldeyrn Ynys Prydain, Gwrgai fab Gwrien, yn y gogledd; a Chadafael fab Cynfedw, yn Ngwynedd; a Hyfaidd Hir fab Bleiddan Sant, yn Morganwg; sef y rhodded teyrnedd iddynt am eu campau, a'u cynneddfau clodforion a rhadforion."—TRI. 26.

A chyda golwg ar yr adwyth grybwylledig uchod, dywedir yn un o'r Trioedd:—

"Tair anfad fwyelldawd Ynys Prydain: bwyelldawd Eiddyn ab Einygan yn mhen Aneurin Gwawdrydd; a bwyelldawd a roddes Cadafael Wyllt yn mhen Iago ab Beli; a'r fwyelldawd a rodded yn mhen Golyddan Fardd, achaws y balfawd a roddes efe ar Gadwaladr Fendigaid."—TRI. 48. Y mae lle yn Mon yn dwyn enw y lleiddiad hwn, sef "Bryn Cadafael," yn agos i Lanallgo.

Yn y flwyddyn 603, debygid, y lladdwyd Iago, a'i fab CADFAN a etifeddodd ei anrhydedd ef. Yn nheyrnasiad y tywysog hwn, y Saeson, dan flaenoriaeth Edelffrid, neu Ethelfrith, brenin Northumberland, trwy anogaeth Awstin Fonach, fel y tybir, balchder yr hwn a gawsai archoll tost drwy ymddygiad annibynol yr Esgobion Cymreig mewn cynnadledd ychydig ddyddiau cyn hyny, a ymosodasant ar diriogaethau Brochmael Ysgythrog, tywysog Powys. Myneich Bangor is y Coed, wedi eu brawychu wrth ddyneshad y fath fyddin o baganiaid, ac yn cofio bygythion Awstin, ond odid, a ffoisant at Brochmael, yr hwn yn nghyda'i fyddin a wersyllai yn Nghaerlleon Gawr: ond yr oedd byddin Ethelfrith yn llawer lluosocach na'r eiddo Brochmael, ac felly yn fuan efe a yrwyd i ffoi, ac erbyn hyn yr oedd myneich Bangor wedi eu gadaw yn hollol ddiamddiffyn. Y brenin yn gweled nifer mawr o wŷr anarfog, ac o ymddangosiad tra dyeithriol, a ymholai pwy oeddynt, ac wedi cael hysbysiad mai dynion crefyddol oeddynt, y rhai a weddient am lwyddiant eu cydwladwyr, efe a ddywedai—"Os ydynt hwy yn llefain ar eu Duw yn ein herbyn, yna y maent yn ymladd yn ein herbyn â'u gweddiau." Yna efe a archodd i'w wŷr ruthro arnynt, a'u lladd yn ddiarbed; a dywedir i ddeuddeg cant o honynt gael eu lladd; ond ereill a ddywedant mai dau cant oedd eu nifer, ac y mae hyny, debygid, yn fwy hygoel. Ar ol hyny, Ethelfrith a aeth hyd at athrofa Bangor is y Coed, ac a lwyr ddiffeithiodd y lle, gan losgi a dinystrio y cyfan, yn nghyda'r llyfrgell odidog a gwerthfawr. Yna wedi cyflawni y gorchwylion ysgeler hyn, yn chwyddedig gan lwyddiant, efe a geisiai ymwthio yn mlaen i ganol Cymru; ond erbyn hyn yr oedd byddin gref o'r Cymry wedi ymgynnull i'w groesawu, gan benderfynu dial ei draha a'i greulonder ar ei ben ei hun. Y fyddin hon a roddid dan lywyddiad Cadfan, brenin Gwynedd, fel penteyrn, ac yn ei gynnorthwyo yr oedd Meredydd, brenin Dyfed, Bledrws, tywysog Cernyw, a Brochmael Ysgythrog; ac mor bybyr yr ymosodasant ar fyddin Ethelfrith, fel y lladdasant ddeng mil o honynt, ac y gyrasant y gweddill i ffoi

tua'u gwlad eu hunain can gynted ag y gallent. Yn y canlyniad i'r frwydr hon bu Cadfan yn meddu penteyrniaeth Cymru weddill ei oes: a chan y cyfrifid y baeddiad amserol yma a gafodd Ethelfrith, gan grefyddolion yr oes hono, yn ddialedd cyfiawn am gyflafan yn myneich, perchid Cadfan a Meredydd yn fawr dros ben; ac y mae maengofion am danynt ar gael eto.* Prif drigias Cadfan ydoedd Caerseiont, sef Caerynarfon, ac efallai fod iddo lys arall yn Mon; canys fe addefir yn gyffredin iddo gael ei gladdu yn Llan Ael, yr hon wedi hyny a alwyd Llangadwaladr, gan ei chysegru i'w ŵyr ef, Cadwaladr Fendigaid; ac y mae yno gareg, yn gappan y drws deheuol i'r eglwys hono, ar yr hon y mae yn gerfiedig, mewn hen lythyrenau o'r fath a arferid yn y seithfed ganrif, eiriau a ddynodant hyny. Haera ereill, mai yn Ynys Enlli y claddwyd Cadfan, ond darfod i Cadwaladr symud ei gorph ef i'r fan yma, gan adeiladu yr eglwys ar ei fedd, tua'r flwyddyn 650.

Yn y flwyddyn 630, y bu farw Cadfan, a'i fab CADWALLAWN a ddaeth i feddiant o'r orsedd fel brenin Gwynedd, ac a'i dilynodd yn mhenteyrniaeth y Cymry oll, debygid, hefyd; a chan belled ag y meddwn ni fantais i ymgydnabod â'i nodweddiad, yr ydym yn rhwym i gasglu fod ynddo lawer o deilyngdod i lenwi y sefyllfa urddasol hono; ond bu blyneddau cyntaf ei deyrnasiad yn dra chymylawg ac ystormus; canys cyfododd rhyw ymrafael rhwng Edwyn, brenin Deifyr, âg ef, er eu bod yn gyfeillion calon yn nyddiau eu hieuenctyd; canys dywedir mai yn llys Cadfan y magesid Edwyn, pan yn ddeoledig o'i wlad ei hun trwy drais Ethelfrith; ac y mae yn dra thebyg ei fod yn ddyledus am ei adferiad i'w orsedd hefyd i Gadfan tad Cadwallawn; ond wedi i ymrafael dori rhyngddo â Chadwallawn, efe a gafodd amryw o freninoedd y Saeson a'r Ysgotiaid yn ddigon parod i ymunaw âg ef yn erbyn brenin y Cymry; a'i guro yn dost a wnaethant mewn brwydr waedlyd a ymladdwyd mewn lle a elwir Dinwydr, yn Neifyr; a chan fod ei elynion mewn nerth mawr, wedi cau rhyngddo a'i wlad ei hun, efe a orfuwyd i ffoi ar draws yr Alban, a chroesi y môr i'r Iwerddon, lle y bu ef a'i gymdeithion yn alltudion dros saith mlynedd, am yr hyn y coffeir yn y TRIOEDD.

"Tri theulu diwair (neu ffyddlawn) Ynys Prydain: Teulu Cadwallon eil Cadfan, a fuant gydag ef saith mlynedd yn y Werddon; ac yn hyny o amser, ni ofynasant na thâl nag iawn yn y byd, rhag gorfod arnaddynt ei adaw, ac nis gallai efe yr iawn a ddylesynt."

Ni wyddys pa faint a ddyoddefodd y Cymry ar yr adeg yma, pan oedd eu brenin a'u goreugwyr yn alltudion, a'u gwlad yn sathrfa i'w gelynion: ond aeth yr ystorm hon heibio, a Chadwallon wedi cael cymhorth gan ei gâr, Solomon, brenin Llydaw, ac wedi gorchfygu Peuda, brenin y Mers, yr hwn yn y canlyniad a ymrwymodd i'w wasanaethu yn ei ryfeloedd, efe a aeth rhagddo yn erbyn Edwyn, yr hwn, yn nghyda'i fab Osfrith, ac agos ei holl fyddin, a laddwyd mewn brwydr ofnadwy a ymladdwyd gerllaw Hethfield, neu *Hatfield*, fel y bernir, yn swydd Gaerefrog; a thros yspaid mwy na blwyddyn, bu yn arllwys ei lid ar ei gaseion yn ddiarbed, gan anrheithio holl Ogledd Lloegr; ond o'r diwedd Cadwallon ei hunan a laddwyd, mewn brwydr âg Oswald, yr hwn a ddaethai i orsedd Deifyr a Bryneich, yr hon a ymleddid, fel y bernir yn Denisbourne, yn *Northumberland;* a'i fyddin a yrwyd ar ffo. Digwyddodd hyn tua'r flwyddyn 634, medd y Parch. T. Price. Ond y mae hen Gronicl Tyssilio yn rhoi ar ddeall iddo orfucheddu Oswald flyneddoedd, a marw mewn heddwch.

* Gwel "History of Wales," gan John Jones, Ysw., p. 41.

Cyfansoddai Llywarch Hen farwnad odidog iddo, yr hon a egyr drwy grybwyll ei amrywiol frwydrau:—

"Cadwallawn cyn noi ddyfod,
A'i gorug a'n digonod, pedair prifgad ar ddeg,
Am brifdeg Prydain, a thriugain cyfarfod."

Yr oedd y Dr. W. O. Pughe yn barnu mai tua'r flwyddyn 646 y cwymp odd Cadwallawn; os felly, gellir ystyried y cyfansoddiad hwn yr olaf o eiddo yr hen fardd hybarchus, gan iddo ef ei hunan farw yn fuan ar ol hyny.

Crybwyllir yn y Bryddest am bedwar ar ddeg o leoedd, megys gwersyllfadau lluoedd Cadwallawn:—

"Lluest Cadwallawn ar *Gaint*,
Lloegyr ardres ormes ar naint,
Llaw dillwng ellwng oed fraint.

Lluest Cadwallawn ar *Yddon*,
Afar anwar ei alon,
Llew llwyddaw ar Saeson.

Lluest Cadwallawn ar *Hafren*,
Ac o'r tu draw i *Ddygen*,
A breiaid yn llosgi *Meigen*.

Lluest Cadwallawn ar *Wy*,
Maranedd wedi mordwy,
A ddylynad cad cylchwy.

Lluest Cadwallawn ar *Ffynawn Fedwyr*,
Rhag milwyr magai dawn,
Dangosai Gynon yno haeru iawn.

Lluest Cadwallawn glodrydd
Yn ngwarthaf *Digoll Fynydd*,
Seithmis, a seithgad beunydd.

Lluest Cadwallawn ar *Dyffyrdd Afon*,
Gwnaeth eryron yn llawn;
Gwedy trin dywyneu dawn.

Lluest Cadwallawn ar *Deifi*,
Cymmysgai waed a heli;
Angerdd Gwynedd, gwynygai.

Lluest Cadwallawn ar *Gowin*,
Llew lluddedig ar awin;
Gwŷr Lloegr, lluosawg eu cwyn.

Lluest Cadwallawn heno
Trathir yn nhymmyr *Penfro;*
Am nawdd fawr, anhawdd i ffo."

Wedi dyfynu y rhanau uchod o farwnad Cadwallawn, y mae CARNHUANAWC yn sylwi, "fod agos yr holl leoedd a enwir yn y Farwnad yn Nghymru, mor belled ag y maent yn adnabyddus; ac nad oes un crybwylliad am frwydrau Cadwallawn yn Neifyr a Bryneich, nac am y lle y syrthiodd. Ac oddieithr bod *Caint* yn arwyddocau yr afon Kent, yn Ngogledd-dir Lloegr, nid oes dim yn cyfeirio at ei gadrwysg yn erbyn Osric. Ond gan fod y Farwnad hon, megys pob cyfansoddiad o eiddo Llywarch Hen, yn dwyn arnodiadau ei bod yn cyfeirio at wir amgylchiadau, ac nid yn ffugiad prydyddol, y mae yn ddilys fod y mynegiadau, y rhai a gynnwysa yn gysson â gwir hanesyddiaeth. Ac yn ganlynol i'r egwyddor hon, os ceisir

cyfrif am y cyfyngiad hyn o sylwadau y Farwnad, at weithredoedd Cadwallawn yn Nghymru, yr unig ateb a allaf ddychymyg yw, fod sylw y bardd wedi ei droi mewn modd neillduol at y rhyfeloedd a gynnaliwyd gan y blaenor hwn yn ei wlad ei hunan. Ac y mae yn ddilys genyf bod Edwin, ar ol gyru Cadwallawn ar ffo, wedi cymmeryd meddiant o amrywiol leoedd o fewn i gyffiniau Cymru; a bod Cadwallawn, ar ol ei ddychweliad, yn gorfod ymladd ei ffordd bob yn droedfedd, i feddiant o'i deyrnas drachefn, ac ymlid y byddinoedd Seis'nig allan o'r lleoedd y rhai yr oeddynt wedi gafaelyd arnynt, neu i'r rhai y cilient rhag ei ddialedd." Tua'r flwyddyn 654 y bernir farw Cadwallawn, a'i fab Cadwaladr a'i dilynodd yn y llywodraeth. Efe oedd yr olaf o'r tywysogion Cymreig a elwid yn benteyrniaid, neu freninoedd Cymru oll. Yn un o'r Trioedd, efe a elwir yn "un o'r tri Aur-hualogion," neu un o'r tri thywysogion a wisgent yr hualau aur, y rhai oeddynt nodau o'r awdurdod benaf; ac a wisgid am y gwddf, y breichiau, a'r gliniau. Mewn Triad arall efe a gyfenwid yn "un o'r tri menwedigion teyrnedd," neu y tri penadur bendigaid, o herwydd y nawdd a roddai i'r ffoaduriaid Cristionogol, pan y'u halltudid o'u hetifeddiaethau, ac y'u hysbeilid o'u meddiannau, gan y Saeson paganaidd.

Gan iddo gael y deyrnas mewn cyflwr mor flodeuog mewn canlyniad i wrhydri ei dad, y mae yn ymddangos iddo fwynhau tangnefedd dros y rhan flaenaf o'i deyrnasiad. Ond y mae yn ymddangos i haint dinystriol dori allan yn yr Ynys tua'r flwyddyn 664, trwy yr hwn yr anrheithiwyd y wlad, sef holl Ynys Brydain a'r Iwerddon; ac yn mysg ereill a laddwyd ganddo, yr oedd Cadwaladr yn un, medd Nennius. Ond y mae tystiolaeth y Brutiau Cymreig yn dra gwahanol; yno fe'n hysbysir fod yr haint wedi parhau i anrheithio y wlad, a newyn tost yn ei ddilyn, tros un mlynedd ar ddeg, fel y ciliai pawb a allent o'r ynys, gan ymofyn am nodded yn rhai o wledydd y Cyfandir. Yn mysg ereill, dywedir i Gadwaladr gilio at Alan, frenin Llydaw; lle y cafodd loches groesawus dros yspaid adfyd ei wlad: a darfu i'r Saeson, ar ymadawiad yr haint, anfon at eu ceraint i'r Almaen, i'w gwahodd i ddyfod drosodd, a meddiannu yr ynys yn ei gwendid presenol, tra yn deneu ei thrigolion, ac heb frenin arni. Cadwaladr, wedi deall bod y Saeson yn dyfod drosodd fel mintai o fwystfilod rheibus i oresgyn ei wlad, a barotodd fyddin o'i ddeiliaid ei hun a giliasent i'r Cyfandir, ac o gynnorthwywyr Llydawaidd, gyda'r bwriad o hwylio drosodd i waredu ei wlad o grafangau ei gelynion: ond tra yr oedd y llynges yn cael ei pharotoi, efe a ddychymygodd neu a freuddwydiodd ei fod yn cael ei rybuddio gan angel o'r nef i roddi gofalon a rhwysg bydol o'r neilldu, ac encilio i Rufain, fel y derbyniai urddau sanctaidd gan y Pab. Efe a fynegodd y dychymyg neu y breuddwyd hwn i Alan, brenin Llydaw, yr hwn yn y fan a gymmerth fantais ar feddwl coelgrefyddol Cadwaladr, a hygoeledd ei bendefigion, gan ei anog i ufuddhau i'r cymhelliad nefol. Felly Cadwaladr a aeth i Rufain, lle y'i derbynid yn roesawus gan y Pab Sergius; ac wedi eillio ei ben, a'i dderbyn i urdd y myneich gwynion, efe a fu byw yn Rhufain wyth mlynedd o fywyd meudwyaidd; tra yr oedd Alan, brenin Llydaw, yn chwerthin yn ei ddyrnau, ac yn gobeithio y llwyddai i enill penaduriaeth yr ynys i'w fab Ifor, gan fod Idwal Iwrch, mab ac etifedd Cadwaladr, dan oed. Dyna y peth tebycaf i wirionedd, o hanes Cadwaladr, a ellais i ei gasglu o ganol y chwedlau mynachaidd a bentyrwyd ar ei goffadwriaeth.

Yn gyssylltiedig â'r enciliad hwn o eiddo Cadwaladr, y diffoddwyd unbenaeth y genedl Gymreig; a'r rhai a'i dilynodd yn llywodraeth y Cymry, nis gelwid mwyach yn freninoedd, ond tywysogion Cymru; ac

oddeutu yr un amser, cyfyngwyd terfynau Cymru yn agos i'r peth ydynt hyd y dydd hwn, a sefydlwyd cyffiniau gwlad y *Mers* neu *Mercia*.

Yn gyssylltiedig â'r tymhor a fu dan ein sylw, y cyfansoddai y Beirdd amryw bryddestau hanesyddawl, y rhai ydynt ar gael eto, ag ydynt o werth mawr yn eu cyssylltiad â hanesyddiaeth ein cenedl.

O'r rhai hyn y mae dwy yn rhagori — y gyntaf yw y *Gododin*, o gyfansoddiad Aneurin Gwawdrydd, ac y mae yn dda genyf ddeall fod y Parch. J. Williams, A. C. *(Ab Ithel,)* yn bwriadu cyhoeddi y Gododin, yn nghyda chyfieithiad o honi, a nodiadau arni; ac nis gwn am neb cymhwysach i'r gwaith na'r gŵr parchedig sydd wedi ymgymmeryd âg ef: a gobeithiaf y caiff ei lafur ei werthfawrogi yn deilwng gan ei gydgenedl. Yr ail ydyw Arymes Prydain Fawr, yr hon fel y tybir a gyfansoddwyd gan Golyddan, bardd Cadwaladr: a chan fod y Bryddest hon, er ei hened a'i gwerthfawroced fel dernyn hanesŷddol, yn dra dyeithr i'r cyffredin o ddarllenwyr Cymru, hyderaf na fydd ddrwg gan neb i mi ei dodi i fewn yma, yn nghydag aralleiriad, ac ychydig nodiadau wedi eu cymmeryd yn benaf o'r *Cambrian Register*.

Bernir fod y Bryddest hon wedi ei chyfansoddi tua'r flwyddyn 630, er cyffroi cenedlgarwch y Prydeiniaid gogleddol i ddyfod allan i ymunaw â'r fyddin unedig o amryfal lwythau Celtaidd, oedd yn dyfod rhagddi dan dywysiad Cadwallawn, a'i raglaw Cadwaladr, i wrthladd gormes y Saeson, arhoni eu hannibyniaeth, ac ymysgwyd oddiwrth iau y goresgynwyr. Cyfansoddwyd y Bryddest hon, fel y Gododin, yn nhafodiaith y Prydeiniaid gogleddol, ac am hyny y maent yn fwy annealladwy i ni na rhai Pryddestau cyfoesol ereill.

## ARYMES PRYDAIN FAWR.

Dysgogan awen! dygobryssyn!
Maranedd a meuedd, a hedd genhyn,
A phenaeth ehelaeth, a ffraeth unbyn;
A gwedy dyhedd, anhedd yn mhob mehyn.
Gwŷr gwychyr yn trydar casnar dengyn:
Escaud yn gnofud ryhyd dyfin.
Gwaethyl gwŷr hyt Gaer Wair gwascarawdd allmyn.
Gwnahawnt gorfoledd gwedy gwehyn;
A chymmod Cymry â gwŷr Dulyn,
Gwyddyl Iwerddon, Mon, a Phrydyn,
Cernyw, a Chludwys, eu cynnwys genhyn.
Atporion fydd Brython pan dyorphyn.
Pell dysgoganer amser dybyddyn
Teyrnedd, a bonedd eu goresgyn,
Gwŷr Gogledd ynghyntedd yn eu cylchyn,
Ymherfedd eu rhagwedd a ddisgynyn,
Dysgogan Merddin. Cyferfydd hyn.
Yn Anber Peryddon, meirion mechdeyrn,
(A chyn ni bai unrhaith) llaith a gwynyn:
O un ewyllys bryd, ydd ymwrthfynnyn.

## CYNGHRAIR ARFOG MAWR PRYDAIN.

Rhagfynega yr awen ddyneshad prysur
Y llu sydd yn meddu cyfoeth a hedd,
Arglwyddiaeth helaeth, a ffraeth unbenaethiaid;
Ond wedi tawelwch, bydd terfysg yn mhob man.

Gwŷr gwychion yn ymryson â chas anwar:
Ysgodogiaid yn penderfynu gwneyd cadgyrch,
Yr aflonyddwyr hyd Gaer Wair gwasgarai'r ellmyn;
A gwnant orfoledd wedi eu gwehynu allan;
A chymmodent y Cymry â gwŷr Dulyn,
Gwyddyl y Werddon, Mon, a Phrydyn,
Cernyw, ac Ystrad Clwyd, i'w derbyniad i'n mysg.
Yn y diwedd, y Brython fyddant arbenicaf,
Er ys talm y rhagfynegwyd y deuant
Yn dywysogion; a bonedd eu goresgyniad,
Pan fyddo i wŷr y Gogledd, y rhai a gyfaneddant ar eu ffiniau,
Ddisgyn i berfedd eu gwyddfod.
Darogan Merddin. Fe fydd hyn.
Yn Aber Peryddon, cenhadon y tywysog,
Hyd yn nod cyn bod cytundeb, a gyffroisant alanas,
Trwy un ewyllysfryd y gwrthdynasant.

Meirion eu trethau, dychynnullyn,
Yngnedoedd Cymry nad oedd a delyn:
Y sydd ŵr dyledawg a lefair hyn—
"Ni ddyfai a dalai yngheithiwed."
Mab Mair, mawr ei air! Pryd na thardded
Rhag penaeth Saeson, ac eu hoffed!
Pell bwynt cychmyn i Wrtheyrn Gwynedd!
Ef gyrhaut Allmyn i alltudedd.
Nis arhaeddwy neb, nis dioes daear;
Ni wyddynt py dreiglynt ymhob aber.
Pan brynasant Danet, trwy ffled calledd,
Gan Hors a Hengys oedd yn eu rhysedd;
Eu cynnydd bu y wrthym yn anfonhedd;
Gwedi rhin dilein, ceith ym ynfer.
Dychymmydd meddawd mawr wirawd o fêdd!
Dychymmyn angeu angen llawer!
Dychymmydd anaelau, dagrau gwragedd,
Dychyffroy edgyllaeth penaeth lledffer!
Dychymmydd tristyd byd a ryher,
Pan fydd cechmyn Danet an teyrnedd!

Gan ofyn a chynnull teyrnged,
Ond y Cymry a benderfynent na thelynt.
Gŵr awdurdodawl a lafarai fel hyn—
"Ni ddaw a dalo i gaethiwed."
Mab Mair, mawr ei air! Gwae'r pryd na ddaethom
I wrthladd arglwyddiaeth y Saeson, ond y'u hoffed.
Yn mhell y bo cochwyr Gwrtheyrn Gwynedd!
Gallasai ef alltudio yr Ellmyn oddiyma,
Ni chyrhaedd neb ddim nas dioesa daear ef,
Nis gwyddent beth oedd yn cymmeryd lle yn mhob aber.
Pan brynawdd yr Ellmyn Danet trwy arfer dichell,
Yn yr hyn y rhagorai Hors a Hengist,
Eu cynnydd hwy a fu yn warthruddiad i ni:
Gwedi cydlunio ein dilead, dychwelai y caethion.
Adgofiwch y meddwdod yn y fêdd loddest fawr!*
Adgofiwch gyflafan llawer o'r gwesteion!
Adgofiwch y creulonderau, a dagrau gwragedd.
Pan gyffrowyd galar penadur egwan!†
Dwyn tristyd byd fydd orflin,
Pan gaffo llechwyr Danet y deyrnedd arnom!

* Cyfeiriad at frad y cyllill hirion. † *Gwrtheyrn* efallai a elwir "*penaeth lledfer.*"

Gwrthoted Trindawd dyrnawd a bwyller—
I ddilein gwlad Frython, a Saeson yn anedd!
Poet cynt eu rheges yn alltudedd,
Na myned Cymry yn ddifröedd.
Mab Mair, mawr ei air! Pryd nas terddyn
Cymry, rhag göeir breyr ag unbyn!
Cyneircheid, cyneilweid, unrhaith cwynyn!
Un gôr, un gynghor, un eisor ynt.
Nid oedd er mawredd nas lleferynt;
Namyn er hepcor göeir nas cymmodynt.
I Dduw ac i Ddewi ydd ymorchymynynt;
Taled gwrthoted ffled i Allmyn!
Gwnawnt hwy aneireu eisiau trefddyn;
Cymry a Saeson cyferfyddyn,
I amlan ymdreuliaw ag ymwrthryn.
O ddirfawr fyddinawr pan ymbrofyn,
Ag amallt lafnawr a gawr a gryn,
Ag am Gwy gair cyfergeir, y am Peurllyn,
A lluman a ddaw, a garw ddisgyn;
A mal balaon Saeson syrthynt.

Gwrthdröed y Drindawd y dyrnawd crybwylledig—
I ddileu o'n gwlad Frython, a'i haneddu gan Saeson!
Boed cynt eu tynged hwy yn alltud,
Na myned o'r Cymry yn ddifroydd.
Mab Mair, mawr ei air! Gwae y pryd nas gwrthsafodd
Y Cymry gynghorion gwaelion breyrion a thywysogion!
Cydwysier, cynnuller, cyfodant yn unfryd.
Un gôr, un gynghor, ag un achos cyffredin iddynt ynt.
Nid mawredd a'u hataliai i lafaru;
Ond er atal eu cydsyniad â ffol gynghor nas cymmeradwyynt.
Gorchymynant eu hunain i Dduw a Dewi;
Taled, ond gwrthoded gorlan i Allmyn.
Dyrysed ein gelynion o eisiau llywydd.
Ond cyfarfydded y Cymry a'r Saeson yn y maes,
I derfynu eu holl ymrysonau egniol.
Pan brofo y gelyn ein byddin alluog,
Pan grynai y gelltydd gan floedd y rhyfelwyr,
Pan gydier y cyfergyr am Gwy, a Gwlad y llynnau,
Y lluman a ddaw, a garw ruthriad;
Ac mal blodeu coed y syrth y Saeson.

Cymry cynnyrcheid cyfun Ddullyn,
Blaen wrth fôn granwynion, cyfyng oeddyn,
Meirion, yngwerth eu gau, yn eu creinhyn.
Eu byddyn yngwaedlin, yn eu cylchyn;
Ereill ar eu traed trwy goed Cilhyn,
Trwy fwrch y ddinas fforas ffoyn:
Rhyfel heb ddychwel i dir Prydyn,
Attor, drwy law gynghor, mal morlithryn.
Meirion Caer Geri ddifri cwynant,
Rhai i ddyffryn a bryn nis dirwadant;
I aber Peryddon ni mad ddoethant;
Anaelau drethau dychynullant:
Naw ugain cannwr a ddisgynant;
Mawr watwar, namyn pedwar nid atcorant.
Dyhedd i eu gwragedd a ddywedant;
Eu cryseu yn llawn creu a aroclant.
Cymry cynyrchaid, enaid dichwant,—
Gwŷr dehau eu trethau a amygant.

Llym llifeid llafnawr, llwyr y lladdant:
Ni bydd i feddyg mwyn o'r a wnäant.

Y Cymry a ymnerthent trwy gyfun fyddiniad,*
Blaenfyddin yr estroniaid a fwrid ar draws y fonfyddin,
Nes y gwelwent mewn cyfyngder, ac y'u tybaeddid yn eu gwaed,
Yn wobr eu twyll; a'u byddin a orweddai o'u cylch mewn llyn o waed.
A'r gweddill ar draed trwy goed Cilhyn,
A thrwy adwy yn amgaer y ddinas a fföynt.
Ni ddychwel y rhyfel hwn mwyach i dir Prydyn,
Treigla ymaith wrth amnaid fel tôn y môr.
Meibion Caer Geri a gwynant yn alaethus,
Rhag y rhai ni wadant eu hawl i'w dyffrynoedd a'u bryniau.
Nid da fu eu dyfodiad i Aber Peryddon;
A blinion oedd y trethi a gynnullent.
Naw ugain cannwr a gadgyrchent,
Er mawr warthrudd, ni chaid ond pedwar a ddychwelodd.
Dywedent i'w gwragedd fod heddwch,
Ond hwy a aroglent eu crysau yn llawn gwaed.
Cynnuller y Cymry, yn ddibris o'u heinioes,—
Gwŷr y Dehau a'u diffynant eu hunain rhag trethau.
Llifer y cleddyfau yn llymion; llwyr ddystrywiant.
Ni bydd elw i feddyg ar a wnant hwy.†

Byddinoedd Cadwaladyr cadyr i deuant,
Rhyddyrchafwynt Cymry, cad a wnant—
Llaith, anolaith, ryddysgyrchasant.
Yn gorphen eu trethau, angeu a wawdant.‡
Ereill ar osgail ryphlanasant.
Oes oeseu eu tretheu nid esgorant.
Ynghoed, ym maes, ym mryn,
Canwyll yn nhywyll a gerdd genhyn—
Cynan yn rhagwan ymhob disgyn.
Saeson rhag Brython gwae a genhyn.
Cadwaladyr yn baladyr gan ei unbyn,
Trwy synwyr yn llwyr yn eu dychlyn,
Pan syrthwynt eu clas dros eu herchwyn,
Ynghystudd a chreu rhudd ar rudd Alhnyn.
Yn gorphen pob angrheith, anrheith dengyn,
Seis ar hynt, hyd Gaer Wynt, cynt pwy cynt techyn.

Byddinoedd Cadwaladr a ymgadresant,
Ymddyrchafed y Cymry, a lladdfa a wnant—
Cyflafan dra dinystriol a dra chwennychasant;
Yn niwedd eu traha, angeu a brofasant.
Mewn ereill, mynych blanasant eu picellau.§
Ond yn oes oesoedd ni thelir iddynt eu teyrnged.
Yn y goedwig, yn y maes, yn y mynydd,
Canwyll a'u dilyn yn y tywyllwch,
Cynan yn flaenrhed yn mhob rhuthr.
Y Saeson, rhag y Brython, a ganant eu gwaegan;
Cadwaladr fydd golofn yn mysg ei dywysogion;
Trwy synwyr y'u llwyr wasgara,
Pan ddisgynont dros ffiniau eu cyssegrfa,
Yn gystuddiol, a'r cochwaed ar eu gruddiau.
Ac fel hyn y rhydd efe derfyn i'w trais a'u hanrhaith annynol;
A'r Saeson, yn eu hynt tua Chaer Wynt, a ffoant am y cyntaf.

* Neu—"Y Cymry a gyfnerthid trwy gyfunwyr o Ddulyn."
† Am na adawent rai wedi eu harcholli yn ysgafn iddynt i'w meddyginiaethu.
‡ *Wddant*, Dr. W. O. Pughe. § Neu—Traphlanasant estroniaid yn y tir.

Gwyn eu byd hwy Gymry pan adroddynt
Rymgwarawd y Drindawd o'r trallawt gynt.
Na chryned Dyfed na Glywysyg,
Nis gwnaho molawd meirion mechdeyrn;
Na chynghorion Saeson cefyn ebryn.
"Gwnaw, meddut, meddawt genhyn,
Heb dalu o dynged." Maint a geffyn
O ymddifeid feibion, ac ereill ryn.
Trwy eiriawl Dewi a seint Prydyn,
Hyd ffrwd Argelo ffohawr allan.
Dysgogan awen. Dyddaw y dydd
Pan ddyffo i wŷr, i un gyssul,
Un gôr, un gynghor—a Lloegr llosgyd;
Yr gobaith Arreiraw ar yn phrydaw llüydd;
A cherdd arallfro, a ffo beunydd;
Mi ŵyr cwdd yn dda, cwdda cwdd fydd.
Dychyrwynt gyfarth, mal arth o fynydd,
I dalu gwynieith, gwaed eu henydd.
Atoi peleidral dyfal dyllydd,
Nid arbetwy car corph eu gilydd.

Gwyn eu byd y Cymry pan adroddant
Fel y gwaredodd y Drindawd hwynt o'u trallod gynt.
Na frawyched Dyfed na Glywysyg,
Ni bydd i genhadon y brenin ennill dim mawl;
A blaenoriaid y Saeson ni chant ebran.
"Nid ennillwn feddiant yn eu mysg," meddynt,
"Heb dalu teyrnged tynged." Lluaws a gaffont
O feibion amddifaid—o ereill ychydig iawn!
Trwy gyfryngaeth Dewi a saint Prydyn,
Hwy a ffoant o'r tir can belled a ffrwd Argelo.
Dywaid y gân brophwydoliaethol, y daw y dydd
Pan ymgynnulla gwŷr unol mewn cynghor,
Ag un galon, un amcan—a Lloegr a anrheithir â thân;
Arreiraw a ymddibyna ar ein lluoedd llifeiriawl;
Yr estroniaid a symudant—hwy a yrir i ffoi;
A da y gwn bod llwydd yn ein haros, pa beth bynag a ddygwydda.
Rhuthred y Cymry i'r gâd, fel arth o fynydd,
I ddial llofruddiad bradwrus eu henafiaid;
Ac wrth grynhoi y picellau dyfal dreiddiol,
Nac arbeded ceraint gyrph eu gilydd.

Atoi pen gafflaw heb emenydd:
Atoi gwragedd gweddw, a meirch gweilydd;
Atoi'r brein uthr rhag uthr cedwyr,
A lluaws llaw amhar cyn gwascar llüydd.
Cenhadau angeu dychyferfydd,
Pan safwynt galanedd wrth eu henydd.
Ef dialawr ar werth ei dreth beunydd,
A'r mynych genadau, a'r gau lüydd.
Dygorfu Cymry trwy gyfergyr,
Yn gywair, gydair, gydson, gydffydd:
Dygorfi Cymry i beri cad,
A llwyth lluaws gwlad a gynnullant,
A lluman glân Dewi a ddyrchafant,
I dywys Gwyddyl drwy Lieingant:
A gynheu Dulyn genhyn a safant,
Pan ddyffont i'r gad nid ymwadant.

Lluosogant benau diymenydd Allmyn,
Lluosogant eu gweddwon a'u meirch difarchogion,
Lluosogant y brain gwancus o flaen y cadwyr glewion,
A bydded llawer llaw anafus cyn gwasgar ein lluoedd.
Cenhadon angeu a gyfarfyddant y gelyn;
Pan bentyrer celaneddau ei wŷr o'i amgylch,
Fe'n dielir arno am ei dreth ormesol,
Ei fynych genhadon a'i fyddin fradwrus.
Y Cymry a orfuant yn y gadrwysg
Yn gywir i'w hachos, unair, uniaith, unffydd.
Y Cymry a orfyddant eto, gan ofyn cad,
A'u llwythau, lluaws y tir a gynnullant,
A lluman glân Dewi a ddyrchafant,
I dywys y Gwyddyl drwy y Mor-gylch:
A phenaethiad Dulyn a safant gyda ni,
Pan ddelont i'r frwydr, ni wadant yr achos.

Rhag y grwgnacha ein darllenwyr am gymmeryd o honom ormod o'n gofod i fynu â'r Bryddest hon, er ei hened a'i rhagored, ymataliwn ar hyn; ond nis gallaf lai na datgan fy ngobaith y bydd i'r Parch. J. Williams (*Ab Ithel,*) yr hwn sydd yn parotoi y "Gododin" i'r Wasg yn bresenol, gael y fath gefnogiad, fel ag y'i cymheller i gyhoeddi amryw o'r hen Bryddestau, yn nghydag aralleiriad, er eu gwneyd yn ddealladwy i gyffredin yr oes hon, a nodiadau hanesyddol yn eu canlyn.

---

# DARLITH VI.

## LLYGRIAD YR EGLWYS GYMREIG GAN BABYDDIAETH.

Yn y bedwaredd Ddarlith rhoddais ychydig o hanes dygiad Cristionogaeth i Frydain, a'i ffyniant yn y canrifoedd cyntaf yn mysg ein tadau; ac yn awr yr ydwyf yn cynnyg ymgymmeryd â'r gorchwyl o olrhain llygriad Cristionogaeth yn mysg ein cenedl gan Babyddiaeth.

Mae genym y seiliau cryfaf i gredu fod symlrwydd mawr yn gydfynedol â sefydliad cyntaf Cristionogaeth yn mysg y Cymry; canys er bod y grefydd newydd wedi ei derbyn gan rai o'r penaethiaid ar y dechreu, nid oes genym un lle i feddwl bod y rhai hyny wedi cynnyg defnyddio eu hawdurdod dywysogaidd i orfodi eu deiliaid i gydffurfio â hwy; ond yn unig noddi y rhai a'i pregethent, ac ymdrechu i ddiogelu i'r rhai a'i proffesent, eu rhyddid, a'u hiawnderau gwladol.

Y cenhadon a ddaethant drosodd gyda *Bran* i gyhoeddi yr Efengyl yn Mrydain, oeddynt *Ilid*, *Cyndaf*, ac *Arwystli Hen*, tri o wŷr enwog am eu duwioldeb, a'u sel dros ledaeniad y gwirionedd. Y ddau gyntaf, meddir, oeddynt Iuddewon crediniol; a'r olaf oedd Rufeiniad, yr un, fel y tybir, ag *Aristobulus*.

Mewn hen gyfysgrif o "ACHAU SAINT YNYS PRYDAIN," a gyfodai *Iolo Morganwg* o lyfr Thomas Hopcin o Langrallo, a hwnw yn un o lyfrau Thomas ab Ifan o Dre' Bryn, yn yr un plwyf, a ysgrifenwyd gantho yn nghylch y flwyddyn 1670, cawn y crybwyllion canlynol am y ddau gyntaf—"Cyndaf Sant, gŵr o'r Israel, a ddaeth i Ynys Prydain gyda Bran Fendigaid ap Llyr Llediaith."

"Ilid Sant, gŵr o'r Israel, a ddaeth i Ynys Prydain gyda Bran Fendigaid, a'i eglwys ef, Llanilid, yn Ngwent."

Gan mai yn Neheubarth Cymru yr oedd cartref *Bran*, yr hen dywysog a'u dyg drosodd i'w ganlyn, y mae yn dra thebyg mai yn y rhan hono o'r ynys y pregethwyd yr efengyl gyntaf; ac nid yw y dyb yn anhygoel mai Llanilid, rhwng Llantrisaint a Phenybont, yn swydd Forganwg, oedd y lle yr adeiladid rhyw fath o dŷ gyntaf at wasanaeth y grefydd Gristionogol o fewn yr ynys: a'r hyn a rydd radd o gadarnhad i'r golygiad yna yw, fod yn agos i'r lle hwnw dyddyn a elwir *Trefran*, lle y'n hysbysir gan draddodiad, fod Bran ei hun yn cartrefu. Meddylia rhai hefyd fod *Llantrisaint* wedi ei chyssegru i goffadwriaeth y tri wŷr uchod; a hyny, efallai, am mai yn agos i'r llanerch hono y dechreuent ar eu llafur cenhadol.

Dywaid rhai hen ysgrifenwyr am Ilid, mai efe oedd yr *esgob* cyntaf ar yr eglwys yn Mrydain; a'r Groegiaid a ddywedant am *Aristobulus*, ei fod yn frawd i *Barnabas*, ac yn un o'r deg dysgybl a thriugain—iddo gael ei urddo yn esgob gan *Barnabas*, neu *Paul*, yr hwn a ganlynodd efe yn ei deithiau—iddo gael ei anfon i Frydain, lle y llafuriodd efe yn helaeth, gan fod yn offeryn bendithiol i droi llawer i'r ffydd.

Oddiwrth yr amryfal grybwyllion uchod, gellid casglu mai yn agos i drigias y tywysog duwiol *Bran* y sefydlid yr eglwys, neu y ffurfid y gynnulleidfa Gristionogol gyntaf yn Mrydain—bod *Ilid* wedi ymgartrefu yno, a chymmeryd arno fugeiliaeth yr eglwys hono yn arbenig, ac mai ar y cyfrif hwnw y dywedid, "mai efe oedd yr esgob cyntaf ar yr eglwys yn Mrydain," neu, yn hytrach, *mai efe oedd esgob yr eglwys gyntaf yn Mrydain;* ac y gelwid yr addoldy a gyfodid at wasanaeth Cristionogaeth yn agos i lys yr hen *Fran*, *Llanilid*, o barch i goffadwriaeth y cyn-athraw hwn: ond ymddengys bod *Arwystli* a *Chyndaf* yn esgobion mor wirioneddol ag yntau; ond eu bod, efallai, yn fwy teithiol yn eu llafur, fel cenhadon. Mae tuedd yn ein haneswyr eglwysig i gymmeryd y gair *Esgob*, wrth ysgrifenu am y prif Gristionogion yn aml, yn yr ystyr a roddir iddo fynychaf yn yr oesoedd diweddaraf hyn, ac felly y maent yn myned ar gyfeiliorn eu hunain, ac yn arwain eu darllenwyr ar gyfeiliorn yr un ffunud. Arwyddocad priodol y gair *esgob* yw *arolygwr* neu *fugail;* ac ar y dechreu, cyn llygru Cristionogaeth gan rodres ddynol, a defodau cnawdol, arferid y gair i ddynodi arolygwr neu fugail eglwys yn unig, ac nid arolygwr gweinidogion talaeth; ac y mae pob gweinidog sydd yn arolygwr neu fugail ar eglwys, pa un bynag ai bechan neu luosawg fyddo, o ran nifer ei haelodau, yn meddu cystal hawl o'r enw *esgob*, a gwell na neb o'r rhai a gyfenwir yn Arglwyddi ysbrydol, y rhai ni chyflawnant unrhyw swydd ddarluniedig yn neddflyfr yr eglwys Gristionogol. Fel na feddylio neb mai rhyw haeriad disail yw yr un uchod, crybwyllir y rhesymau canlynol er profi ei wirionedd:—

1. Y nifer fawr o esgobion y dywedir eu bod yn gynnulledig mewn rhai o'r cynghorau boreuol—*chwech* neu *saith gant* o honynt wedi eu cynnull o gylch heb fod yn llawer mwy nag ychydig o'n siroedd mwyaf ni yn nghyd; a phan ystyriom gyfynged oedd ffyniant Cristionogaeth ar y pryd, y mae dychymygu bod y rhai hyn oll yn esgobion taleithiol, tra nad oes namyn chwarter cant yn Mrydain Fawr oll yn bresenol, yn hollol afresymol.

2. Y nifer fach o eneidiau a ystyrid dan ofal esgob. Yr oeddynt yn byw yn aml mewn pentrefi bychain, agos i'w gilydd, fel na allasent feddu mwy nag ychydig gannoedd o eneidiau dan eu gofal. Sonir am un *Gregory Thaumaturgus*, yr hwn nid oedd ganddo fwy na 17 o Gristionogion proffesedig dan ei ofal; ac er hyny, gelwid ef yn esgob!

3. Byddai y gynnulleidfa yn cydgyfarfod ar etholiad esgob, ac ordeinid ef yn eu gwydd, yr hyn sydd ffaith hollol annghysson âg esgobyddiaeth taleithiol.

4. Darlunir yr holl henuriaid perthynol i esgob, yn perthyn i'r un gynnulleidfa ag ef, ac yn cydeistedd âg ef, pan ddelai y gynnulleidfa yn nghyd i'r addoliad cyhoeddus; yr hon sydd ffaith arall mor annghysson â'r cyfryw esgobyddiaeth.

5. Mae yr ysgrifenwyr boreuol yn darlunio yr esgob megys yn cydgyfaneddu â'i henuriaid. A yw hyn yn gysson â'r golygiad diweddar a roddir i'r gair esgob?

6. Y mae natur y gwasanaeth y'i darlunid yn ei gyflawni, yn ein harwain i wneyd yr unrhyw gasgliad. Yn lle bod fel yr esgobion diweddar, yn brysur yn unig yn nghylch llywodraeth eglwysig, arholiad, ac ordeiniad gwŷr ieuainc i'r weinidogaeth, &c., efe a ddarlunir yn pregethu yn rheolaidd, yn gweinyddu y sacramentau, yn ymweled â'r cleifion, yn gweinyddu yr ordinhad o briodas; ac, mewn gair, yn cyflawni holl swyddau arferol gweinidog cynnulleidfaol neu blwyfol.

Oddiwrth y ffeithiau eglur uchod, a all un dyn diduedd wneyd unrhyw gasgliad amgenach nag mai gweinidog cynnulleidfa, neu fugail eglwys yn unig, a olygid wrth esgob ar y dechreu?

Yn mhenderfyniadau Cymmanfa *Arles* hefyd, yr hon a gynnelid yn nechreu y bedwaredd ganrif, pan oedd yr eglwys wedi dechreu llygru yn hyn, sonid am *esgobion teithiol*, y rhai oeddynt i gael caniattad i gyflawni eu swydd yn y dinasoedd lle y delent; a phenderfynid "nad oedd i un esgob sathru ar esgob arall." Yn wir, gellir profi o ysgrifeniadau y Tadau, a'r prif Ddiwygwyr Protestanaidd, mai trwy lygriad graddol yr Eglwys gyda chyfodiad Anghrist, y daeth esgobion i'r uchafiaeth rwysgfawr a arhonant yn bresenol; ac mai parhad o'r cyfryw lwgr er y Diwygiad, yn Eglwys Loegr, ydyw ei ffurf esgobyddol, cystal ag amryw bethau gofidus ereill a berthynant iddi. *

Ar y cyntaf, fe debygid mai arfer y Cristionogion yn Mrydain, fel yn Jerusalem a Rhufain, oedd cyfarfod i addoli Duw mewn tai anedd: a chan fod y grefydd Gristionogol yma, fel mewn llawer o wledydd ereill, yn gweithio ei fford drwy anfanteision mawrion, tra yr oedd y brodorion mewn rhyfeloedd parhaus â'r Rhufeiniaid, a than arglwyddiaeth gref eu hen syniadau a'u defodau coelgrefyddol, mae yn amlwg mai yn dra araf y gweithiai ei ffordd yma ar y cyntaf, ac o ganlyniad, gellid meddwl nad oedd cynnulleidfaoedd y Cristionogion yn lluosawg, fel ag y gallesid eu cynnwys mewn lleoedd bychain.

Ychydig iawn a feddwn ni o hanes Cristionogaeth dros y can' mlynedd cyntaf wedi ei dygiad i'r ynys hon; ond gallwn gasglu ei bod mewn cyflwr isel a nychlyd tua'r flwyddyn 156,† pan ddarfu i Lleirwg ab Coel, ab Cyllin, ab Caradog, ab Bran Fendigaid (yr hwn hefyd a gyfenwir Lleufer Mawr, a Lles ab Coel, gan y Prydeiniaid, a *Lucius* gan y

* Gwel Dr. Miller's Letters on the Christian Ministry, pp. 130—134.

† Barna ereill mai tua y flwyddyn 167 neu 170 y bu hyn. Gwel *Usher, Stillingfleet.*

Lladinwyr) anfon at esgob Rhufain, i ddeisyf am gynnorthwy oddiyno, i adferu Cristionogaeth yn mysg ei ddeiliaid.

Mae yr haneswyr Pabaidd, oddiwrth y ffaith yna, wedi ceisio profi bod yr eglwys Gristionogol yn Mrydain, yn ymddibynol ar, a darostyngedig i eglwys Rhufain o'r dechreuad; ac er ceisio ategu y cyfryw haeriad, casglasant gruglwyth o ddychymygion mewn cyssylltiad â hyn, fel y mae yn anhawdd dethol y gwirionedd allan o'r fath gymmysgfa.—Dyma enghraifft allan o Frut *Gruffudd ab Arthur*:—"Ac wedi hyny, mab a aned iddaw, ac y sef oedd enw hwnw, Lles fab Coel; ac wedi marw y tad, a chymmeryd o honaw yntau goron y deyrnas, holl weithredoedd da ei dad a efelychws ef eu gwneuthur, megys y dywedid mai ef oedd Coel: ac oddiyna ef a fynnes geisiaw gwneyd y diwedd yn well no'i dechreu; ac wrth hyny, cenhadau a ollyngws ynteu hyd yn Rhufain at Eleuter Pap, i erchi iddaw anfon attaw, gwŷr ffyddlawn, dysgedig yn Nghristionogawl ffydd, trwy bregeth a dysg y rhai y gallai yntau gredu yn Nghrist, canys y gwyrtheu a'r anrhyfeddodau a gylywei ef trwy pregethwyr Crist ar led y bydoedd rydaroedd iddynt eglurhau a golchau i galon ynteu wrth gredu i Grist iachwydawl. Ac wrth hyny o'i war ddeisyfedigaeth ef, ufuddhau a orug y Pab hwnw, ac anfon a orug ddau ddysgawdwr credyfus, ac ysef oeddynt y rhai hyny Dwyfan a Phagan; a'r rhai hyny a bregethasant iddaw ef ddyfodedigaeth Crist yn y cnawd; ac a'i golchasant ef o'r lân ffynawn fedydd, ac a'i hymchwelasant ef at Grist. Ac yna, heb un gobyr o bob gwlad, y bobloedd, o angrheifft eu brenin, a ymgynnullent, ac o'r unrhyw ffynawn fedydd hono, ymlanhau ac ymgyssylltu â theyrnas nef.

Ac wedi darfod i'r gwynfydedig ddysgodrion hyny, olchi a dileu anghred drwy holl Ynys Prydain, hayach y temlau, y rhai oeddynt aberthedig yn anrhydedd y gau dduwiau, y rhai hyny a roddes yntau ac a gyssegrws i'r Hollgyfoethawg Dduw, ac i'w saint ynteu; ac yn y temlau hyny, amrafaelion genfeinoedd urddasedig, i dalu cynefodig wasanaeth dyledus i Dduw a osodasant. Ac yn yr amser hwnw yn Ynys Prydain yr oeddynt wyth esgobty ar hugain, a thri archesgobty; ac i'r tri archesgobty hyny ydd oeddynt yr wyth esgobty ar hugain yn ddarostyngedig weddawl i dalu dyledus ufudd-dawd iddynt. A'r rhai hyny trwy orchymyn ac awdurdod Pab Rhufain, gwedi dileu yr anghred oddiarnynt, a gyssegrasant megys y dywedpwyd uchod, yn anrhydedd Duw a'r saint. Ac yn y tri dinas boneddicaf yn Ynys Prydain ydd oeddynt y tri archesgobty, nid amgen, Llundain, a Chaerefrog, a Chaerllion ar wysg; ac wrth hyny, y tri lle hyny a ranwyd yr wyth esgobty ar hugaint. Ac i archesgobty Caerefrog y dygwyddws Deifyr a Bryneich, a'r gogledd oll, megys y gwahana Hymyr iwrth Loegyr; ac i archesgobty Llundain y parthwyd Lloegyr i gyd, a'i therfyneu, a Chernyw gyda hi: a'r ddwy archesgobawd hyny a wahana Hafren a Chymru, i'r hon y parthwyd archesgobawd Caerllion ar Wysg.

Ac o'r diwedd, wedi darfod i'r gwŷr da hyny luniaethu ac urddaw, a gosod pob peth yn weddus yn herwydd Cristionogawl ffydd, y ddau esgob hyny a ymchwelasant drachefn hyd yn Rhufain; a phob peth ar a wnaethant, hwy a'i datganasant i Bab Rhufain; a chwedi cymryt cadernid a theilyngtawd y gan y Pab i'r pethau hyny oll, hwy a ymchwelasant, a llawer o gymdeithion ereill gyda hwynt hyd yn Ynys Prydain: ac o ddysg y rhai hyny ar fyr yspaid y cadarnhawyd ffydd a Christionogaeth yn mhlith y Brutaniaid. Enwau hagen a gweithredoedd y gwŷr, pwy bynag a fyno eu gwybod, ceisied yn y llyfr a ysgrifenws Gildas

o fuddugoliaeth Emrys Wledig; a'r peth a draethws y gŵr hwnw mor eglur a gloyw a hyny, nid rhaid i minau ei adnewyddu. * * * *

Ac oddiyna, yn mhlith y gweithredoedd da hyny, y gogoneddus ac ardderchawg Frenin hwnw, LLES AB COEL, wedi gweled o honaw ef ddiwyll gwir ffydd a Christionogaeth yn echdywynnygu yn ei deyrnas, dirfawr lawenydd a gymmerth ynddaw; a'r cyfoeth, a'r breiniau, a'r tiroedd a berthynent i demlau y gau dduwiau, y rhai hyny a ymchwelws yntau yn arfer a oedd well, ac a gadarnhaws i'r eglwyseu ac i'r saint. A chan ys mwy o anrhydedd ac addurn a ddyleid i'r gwir Dduw, ac i'w saint a'i ebystl, ynteu a achwanegws roddion o dir a daiar, ac eisteddfaeu, ac o holl ryddyd eu heddychu ac eu cadarnhau, ac eu harddyrchafael trwy bob rhyddyd gan y breninawl anghendawd."

Pwy oedd Awdwr y Brut uchod, ni wyddys; ond ei fod wedi ei gyfieithu gan offeiriad Pabaidd dysgedig, a gyfenwid Sieffry o Fynwy, o'r Gymraeg i'r Lladin, yn y ddeuddegfed ganrif, sydd sicr; ac nid yw yn annhebyg iddo ychwanegu peth at y gwir hanes a gynnwysai, er mwyn ei wneuthur yn fwy darllenadwy yn mysg dysgedigion Pabaidd.

Y mae y chwedl uchod yn peri i LLES AB COEL ymddangos yn benadur llawer galluocach nag y gallasai fod mewn gwirionedd, pan oedd y Rhufeiniaid yn eu rhwysg mwyaf yn yr ynys hon. Nid amheuaf nad oedd efe yn dywysog ar ryw ran fechan o'r Ynys, megys Gwent a Morganwg, gwlad yr Essyllwyr, dan warrogaeth i'r Rhufeiniaid; ac efallai ei fod, fel *gorwyr* y dewrwych Garadawg, yn cael edrych arno gyda gradd o barch gan benaethiaid y man lwythi cymmydogawl: ond nid oedd ef, nag un Cymro arall yn yr oes dan sylw, yn meddu y fath awdurdod gyffredinol ar Ynys Brydain, ag y gellid casglu oddiwrth yr hanes uchod, fod *Lles* yn ei feddu.

Paham yr anfonasai i Rufain yn hytrach nag i ryw wlad neu ddinas arall, am addysg fanylach ei hunan yn y grefydd Gristionogol, ac am y cymhorth angenrheidiol i'w lledaenu yn mysg ei gydgenedl, sydd ymholiad teilwng o'n sylw. Mae y Pabyddion yn ceisio cyfodi prawf oddiyma dros uchafiaeth a rhagoriaeth esgob Rhufain; ac amcenid at hyny gan yr hen hanesydd yma, "Sieffry o Fynwy," fel y mae yn yr hanes a ddyfynasom yn son am *Eleuter* fel *Pab*, ag awdurdod gyffredinol ganddo yn yr Eglwys Gristionogol: ond y gwir yw, nad oedd gan esgob Rhufain, o ganol i ddiwedd yr ail ganrif, unrhyw awdurdod ar eglwysi ereill, allan o'r Eidal, fel y gwelir oddiwrth y dystiolaeth ganlynol am ffurf y llywodraeth eglwysig yn yr ail ganrif:—"Dygid y ffurf lywodraeth eglwysig, yr hon y gwelsom ei dechreuad yn y ganrif flaenorol, i radd fwy sylweddol a sefydlog yn hon. Un arolygwr neu *esgob* a arlywiai ar bob cynnulleidfa Gristionogol, i'r hon swydd y'i hetholid drwy lais yr holl bobl. Yn y swydd yma yr oedd efe i fod yn wyliadwrus a darbodus, gan fod yn effro i angenion yr eglwys, a gofalus am eu gwneyd i fynu. Er ei gynnorthwyo yn ei swydd lafurus hon, efe a ffurfiai gynghor o *henaduriaid*, yr hwn nid oedd i gael ei gyfyngu i unrhyw nifer pendant, ac i bob un o'r rhai hyn y trefnai efe ei orchwyl, ac y pennodai ei orsaf, yn yr hon yr oedd i ddwyn llesion yr eglwys yn mlaen. I'r esgobion a henaduriaid, yr oedd y gweindogion neu *ddiaconiaid* yn ddarostyngedig; a dosbarthid yr olaf yn amryfal ddospeirth, fel yr oedd gwahanol amgylchiadau yr eglwys yn gofyn.

Dros y rhan fwyaf o'r ganrif yma, yr oedd yr eglwysi Cristionogawl yn anymddibynnawl y naill ar y llall, ac nid oeddynt yn gydiedig a'u gilydd drwy gymdeithasiad, cyngrheiriad, nac unrhyw rwymau ond car-

fad. Yr oedd pob cynnulleidfa Gristionogawl yn fath o deyrnas fach, llywodraethedig gan ei chyfreithiau ei hunan, y rhai a weithredid, neu o leiaf, a gymmeradwyid gan y gymdeithas. Ond, yn nghwrs amser, holl eglwysi Cristionogawl talaith a ffurfid yn un corph eglwysig mawr, y rhai fel taleithiau cyngrheiriedig, a ymgyfarfyddent ar amserau gosodedig i ymgynghori mewn perthynas i lesion cyffredinol y cyfan, &c. &c." * A chan mai dyma ydoedd ansawdd gyffredinol yr eglwysi Cristionogol yn yr ail ganrif, a yw yn debyg y buasai cenhadon esgob Rhufain yn cynyg sefydlu glwyslywiaeth mor drefnus a rhwysgfawr yn Mrydain, ar ddygiad Cristionogaeth i mewn iddi, hyd yn nod pe caniataem y meddai Lles ab Coel ddylanwad digonol ar yr holl ynys, i awdurdodi y fath raniad eglwysig arni. Un o freuddwydion mynachaidd Sieffrey yn ddiau yw y glwyslywiaeth godidog uchod o dri archesgobty ac wyth esgobty ar hugain, wedi eu trefnu yn Mrydain gan genhadon y Pab yn amser Lles ab Coel, ac yn ei freuddwyd cam amserai ei ffeithiau amryw gannoedd o flynedd-oedd.

Ond gallasai Lles ab Coel gael ei dueddu i anfon i Rufain yn hytrach nag i un man arall am gymhorth yn wyneb cyflwr isel Cristionogaeth yn Mrydain, gan amryw ystyriaethau.

1. Am fod Rhufain yn eisteddle y llywodraeth wladol yr oedd Lles ei hun dan warogaeth iddi, ac felly yn eisteddle dysg a gwybodaeth yr ymherodraeth.

2. Am fod trafnidiaeth mynychach, a mwy uniongyrchol, rhwng Ynys Brydain â Rhufain nac âg un ddinas fawr arall allan o'r ynys y pryd hyny, yn gymmaint a bod swyddogion Rhufeinaidd, a rhyw gynnifer o'r milwyr Rhufeinaidd yma yn barhaus; a'r un ffunud, yr oedd amryw o ieuenctyd Prydain yn cael eu hanfon i Rufain i dderbyn addysg.

3. Gwyddai Lles ab Coel yn dda, mai o Rufain y dygasid yr Efengyl gyntaf i Frydain, yn amser ei hynaif, Bran ab Llŷr, a bod amryw o'r Pryd-einiaid wedi bod yn amlwg ac yn enwog yn yr eglwys yn Rhufain, o'r pryd hyny hyd ei ddyddiau ef: ac yn enwedig, os gwir yr hyn a haerir yn gryf gan rai haneswyr, mai Cyllin ab Caradawg, taid Lles ab Coel, a fuasai yr *esgob* cyntaf yn Rhufain, nid rhyfedd fod yn haws gan y brenin Cristion-ogol hwn anfon i Rufain, nag i un man arall, am gymhorth i efengyleiddio ei wlad.

4. Yn olaf, fe ddywedir yn y Brutiau, am Coel, tad Lles, "ac yn Rhuf-ain y magesid Coel, a moes gwŷr Rhufain a'u defawd a ddysgasai, ac wrth hyny ydd oedd ei fron yn rhwymedig o'u cariad hwynt, ac yn talu teyrn-ged iddynt heb ei warafun; canys yr holl fyd a welsai yr amser hwnw yn ddarostyngedig iddynt: ac ar fyrder, ni fu yn Ynys Prydain frenin gwell, a anrhydeddai dylyedogion y deyrnas, na Choel, nac a'u cadwai yn hedd-ychach; ac un mab a aned iddaw, sef oedd ei enw Lles. †

Y mae y rhesymau uchod yn ddigonol, debygid, am waith Lles yn anfon am gymhorth i efengyleiddio Prydain o Rufain, heb feddwl am wneyd hyny mewn un modd yn brawf o uchafiaeth eglwys Rhufain yn mysg yr eglwysi Cristionogol, a rhagoriaeth ei hesgob hi ar esgobion ereill, fel Pab.

Nid yw yn debyg i eglwysi Cymru gael eu llygru i nemawr o raddau gan y cyfeiliornadau oeddynt yn ffynu yn eglwysi y Dwyrain a'r Gorllewin dros y tri chan' mlynedd cyntaf wedi dygiad yr efengyl yma: ond, yn y

* Mosheim's Eccl. Hist., *Cent.* II., *part* 2, *sect.* 1, 2.

† Myv. Arch., vol. ii., p. 195.

bedwaredd ganrif, y mae yn ymddangos i'r eglwysi yn Mrydain gael eu blino i raddau, trwy fod amryw yma wedi cofleidio athrawiaeth Arius. Pa un ai rhyw rai o esgobion Prydain a fuasent drosodd yn Nghymmanfa *Ariminum* (lle, trwy ddylanwad yr amherawdr, y cymmeradwyasid cyffes a dueddai i ffafrio Ariaeth,) ai ynte rhyw rai ereill, a fuont yn offerynol i'w dwyn yma, sydd ry anhawdd ei benderfynu yn bresenol. Ond bod Ariaeth wedi ffynu yma dros rai blyneddau, a pheri blinder mawr i Gristionogaeth a Christionogion uniawngred, sydd amlwg oddiwrth dystiolaethau *Gildas* a *Beda*. Y cyntaf, yr hwn a ysgrifenai fel y bernir yn y chweched ganrif, sef yn mhen tua dau can' mlynedd wedi y cyfnod dan sylw, a ddywedai—"Mewn llai na deng mlynedd wedi yr erledigaeth uchod (sef yr un dan Dioclesian,) a phan oedd y cyfreithiau gwaedlyd hyn yn dechreu myned yn ddirym mewn canlyniad i drancedigaeth eu hawdwyr, holl ddysgyblion ieuainc Crist wedi y fath noswaith anafaidd faith, a ddechreuasant weled gwerthfawr oleuni y nef: ail adeiladasant yr addoldai a wnelsid yn gydwastad â'r llawr, ac adeiladasant eglwysi newyddion i goffadwriaeth y merthyron sanctaidd; ac yn mhob lle, dangosasant eu llumanau fel arwyddion o'u buddugoliaeth; cynnalient eu gwyliau, a derbynient y sacramentau, â chalonau a gwefusau dihalog: a holl feibion yr eglwys a orfoleddent, megys yn mynwes mam laethog; canys ffynai yr undeb sanctaidd hwn rhwng Crist, eu pen, âg aelodau ei eglwys, hyd oni ddaeth y brad Ariaidd, yn niweidiol fel sarph, gan fwrw ei wenwyn o'r tu hwnt i'r môr; gan beri ymrysonau marwol rhwng brodyr a gydgyfaneddent, ac fel hyn, mal pe y gwnelsid ffordd ar draws y môr, fel gwylltfilod o bob math, ac yn ergydio gwenwyn pob heresi o'u safnau, hwy a barasant archollion ofnadwy i'w gwlad, yr hon sydd yn chwannog yn wastad i glywed rhyw beth newydd, a heb lynu yn ddianwadal yn hir wrth ddim." *

*Beda* yntau, yr hwn oedd yn ei flodau tua diwedd y seithfed ganrif, a ddywaid—"Yn ei amser ef (sef Cystenyn,) y torai yr heresi Ariaidd allan, ac er ei nodi a'i chollfarnu yn Nghymmanfa Nicea, er hyny hi a lygrodd, nid yn unig holl eglwysi y cyfandir, ond eglwysi yr ynysoedd hefyd, â'i hathrawiaethau gwenwynig a marwol." †

Y cyfeiliornad mawr nesaf a fu yn blino eglwysi Cymru oedd *Morganiaeth*. Dadleuir yn gryf gan lawer mai Cymro ydoedd Morgan, a ddygasid i fynu yn Athrofa Bangor Is-y-coed; ond y mae yn lled anhebyg fod yr athrofa hono mewn bod mor foreu a'r bedwaredd ganrif. Pa le bynag y'i cyfodwyd, y mae yn ymddangos ei fod yn ŵr o athrylith gref, ac o ymarweddiad moesol diargyhoedd. Efe a adawodd wlad ei enedigaeth, ac a aeth i Rufain, lle derbyniodd addysg helaethach, ac yno efe a gyfarfu â Gwyddel a gyfenwid *Celestius*, yr hwn wedi hyny a fu ei gydweithiwr penaf. Yr oedd hwn wedi bod ddeng mlynedd ar hugain yn y Dwyrain, lle y llyncasai gyfeiliornadau *Origen*; ac os oedd *Morgan*, neu fel y'u galwai y Lladinwyr ef *Pelagius*, yn Gymro, ac o ganlyniad yn adnabyddus o hen athrawiaethau y Derwyddon, gallem feddwl ei fod o gymmaint a hyny yn fwy parod i dderbyn syniadau Origen. Prif wrthwynebydd daliadau Morgan ar y cyfandir, a fu Awstin, nid y mynach; ond yr hwn wedi hyny a fu yn esgob Hippo yn Affrica. Ysgrifeniadau nerthol y gŵr hwn a fuant yn effeithiol i gyffroi yr eglwys i ystyried ei pherygl oddiwrth athrawiaeth Pelagius a Celestius; a galwyd amryw gynghorau cyffredinol er ceisio rhoddi attalfa ar ledaeniad yr athrawiaeth gyfeiliornus hon: ond er collfarnu ei ddaliadau, eto Morgan ei hun, trwy ei atebion cyfrwys, a ddiangai yn ddigerydd dros hir amser.

* Gildas's History, sect. 12. † Bede's Ecclesiastical History, b. i., c. 8.

Nid ymddengys i Forgan ei hun ddychwelyd i Frydain: ond efe a aeth o Rufain i Affrica, ac oddiyno i Jerusalem; a dywedir ei fod yn gyfaill mawr âg Ioan, esgob Jerusalem. O'r amryfal leoedd hyn, ac hyd yn nod drwy yr amryfal gymmanfaoedd a gynnelid ar ei achos, cafodd gyfleusdra i enill duwinyddion gwledydd lawer i'w farn, ac felly i daenu ei syniadau yn mhell ac yn agos. Yr oedd llawer o Gristionogion goludog o Frydain, a gwledydd gorllewinol eraill, yn arfer cyrchu i Jerusalem y pryd hyny, ar fath o bererindod, er gweled y llanerchau lle y gwnelsid pethau rhyfedd gan Awdwr ein iachawdwriaeth; a gellid casglu ar seiliau cryfion, mai drwy y rhai hyn y dygid Morganiaeth i Frydain; ac efallai fod rhai Morganiaid selog o Lydaw wedi bod a llaw ganddynt yn y gwaith hwn hefyd; canys fel hyn y dywaid Beda ar hyn—"Dygid heresi Morgan drosodd gan Agricola fab Sefer, esgob o Gâl, yr hwn oedd Forganiad, a llygrwyd ffydd Cristionogion Prydain â'i dylanwad heintus. Ond er nad oedd y Cymry yn barod i dderbyn yr athrawiaeth ŵyr hon, oedd yn rhoddi y fath sarhad ar Ddwyfol ras, gan nad oeddynt yn feddiannol ar y pryd ar ddwyfyddion digon galluog i wrthateb dadleuon cyfrwys ei chefnogwyr, hwy a benderfynasant yn ddoeth anfon at eu brodyr uniongred yn Llydaw am gymhorth; mewn canlyniad i'r hyn y gelwid cymmanfa yn nghyd yno, er ymgynghori pwy a fyddai gymhwysaf i'w hanfon drosodd ar y fath genadwriaeth; a'r etholiad a ddisgynodd ar Garmon, esgob Auxerre, a Bleiddyn, esgob Troyes." A thrwy gymmaint a feddwn o hanes llafur a llwyddiant y cenhadon uchod, ar eu hymweliad â'r ynys hon, er fod llawer yn ddiau o chwedlau Pabaidd wedi eu llunio yn yr oesoedd tywyll, a'u tadogi arnynt, y mae genym seiliau da i gasglu eu bod yn ddynion tra chanmoladwy am eu dysg, eu doniau, a'u duwioldeb. Teithiasant trwy Gernyw a Chymru, gan bregethu y gwirionedd gyda nerth a goleuni awdurdodol; nes oedd cefnogwyr Morganiaeth yn gorfod tewi a chywilyddio, a'r holl wlad yn cael ei chyffroi i ystyriaeth o bethau Dwyfol: ac y mae cofion o'u cymmeradwyaeth yn mysg ein tadau i'w cael yn ein gwlad hyd y pryd hwn. Yn mro Morganwg y mae addoldy cyssegredig i goffadwriaeth Bleiddyn, sef *Llan Bleiddian*, ac y mae amryw yn gyssegredig i goffadwriaeth Garmon, megys Llanarmon yn Rhaiadr, swydd Faesyfed; Llanarmon Dyffryn Ceiriog, a Llanarmon yn Iâl, yn swydd Dinbach, yn nghydag amryw leoedd a elwir Capel Garmon.

Y mae hefyd yn gyfagos i'r Wyddgrug le a elwir Maes Garmon, ar un ochr i'r dref; ac ar yr ochr arall, ar y ffordd i Gaergwrley, y mae Pant Bleiddyn. Mae Beda yn rhoddi hanes am dro rhyfedd a fu yn y lle a elwir Maes Garmon; sef bod i'r Cymry, dan arweiniad yr esgob duwiol hwnw, gael buddugoliaeth hynod yno ar fyddin o'r Brithwyr a'r Gwyddelod a ddaethent o'r gogledd i anrheithio eu gwlad, yn unig trwy floeddio "HALELUWIA:" ac y mae yno golofn, a gyfodwyd yn y ganrif ddiweddaf, er coffa am y tro, yr hon a welir ar fryncyn, ar y llaw aswy i'r hen ffordd o'r Wyddgrug i Ddinbach, tua haner milldir o'r dref flaenaf.

Bernir fod Lles ab Coel wedi sefydlu athrofeydd mewn rhai manau, er cymhwyso gwŷr ieuainc i fod fel cenhadon dros Grist at eu cydgenedl; megys yr un yn *Nghaer Worgorn*, yn ei diriogaethau ei huuan yn Morganwg; a'r un yn Mangor Is-y-coed, er meithrin y weinidogaeth Gristionogol yn mysg y Gordofigwys: ac wedi ei amser ef, bu Theodosius yr amherawdr yn noddwr da i'r cyfryw sefydliadau, a chyfranwr haelionus tuag at eu cynnaliaeth. Ond yn y dyddiau blinion a ddilynai ymadawiad y Rhufeiniaid oddiyma, trwy ymosodiadau parhaus y llwythau barbaraidd ar ein henafiaid, a'u hymrysonau gwaedlyd yn eu mysg eu hunain, cafodd gwir grefydd ei nychu, a'r athrofeydd eu hesgeuluso i raddau mawr; felly

gan hyny, un o orchwylion naturiol y ddau genhadwr uchod, heblaw gwrthladd cyfeiliornadau, a cheisio adnewyddu crefydd trwy y wlad, oedd adnewyddu yr athrofeydd, er meithriniad dynion cymhwys i'r weinidogaeth. Fel hyn y dywedir am lafur Garmon yn hyn gan un o olygwyr y *Myfyrian Archaiolog*, o hen lyfrau yr Achau:—"Yn yr amseroedd hyny, ydd oedd cyfeiliorn mawr ar grefydd yn ein ynys ni, achos hud a thwyllfarn un o'n gwlad ein hunain, a elwid *Pelagius* yn Lladin, ac yn Gymraeg *Morgan*. Bu hyn yn achos i rai o'r ychydig nad aethant ar gyfeiliorn, ddanfon am ŵr duwiol a dysgedig, o'r tu draw i'r môr, a elwid *Garmon Sant*. Efe a ddaeth i'n gwlad ni, ac a bregethwys yr efengyl yn ei phurdeb; ac er dysgu ereill yn y pethau angenrheidiol idd eu gwneuthur yn ddysgodron gwirionedd, efe a ddodwys ysgolion da i fyny mewn llawer man. Y penaf o honynt oedd rhai *Caerllion ar Wysg*, a *Llancarfan*, a *Llanilltyd Fawr*. Enw y gŵr cyntaf a ddodwys Garmon ar ysgol Llancarfan oedd *Dyfrig Sant*. Fe ddywedir mai yn y *Garnllwyd* yr oedd e yn byw; ac y mae ffynon yno fyth a elwir *Ffynon Dyfrig*. Wedi hyny gwnaethpwyd *Dyfrig* yn esgob *Llandaf*, ac ar hyny dodwyd *Catwg* yn ben ar ysgol Llancarfan. Enw y fonachlog oedd *Llanfeithyn*, a'r enw hyn y sy fyth ar y lle. Fe ddywedir i *Gatwg* fyw yno nes oedd yn gant ac ugain oed; yn hynod dros ben am ei ddysg, ei ddoethineb, a'i dduwioldeb."

Yr athrofeydd hyn mewn amser a dröed yn fynachlogydd; ac oddiwrthynt, efallai, y cafodd Pabyddiaeth yr achles grefaf i wreiddio yn mysg ein cenedl, fel y gwelir rhagllaw. Ond yma caniataer i mi ddodi y dyfyniadau canlynol o hen gofion Cymreig, y rhai a daflant ryw gymmaint o oleu ar y cyfnod dan sylw o hanes ein cenedl.—

"O amser Lles ab Coel hyd amser Coel Godhebawg, saith ugain mlynedd; a'r Coel Godhebawg hwnw a fu frenin, a merch iddaw, a elwid Elen Lueddawc, a hono a aeth i Gaersalem, ac yno hi a gafas y groes fendigaid, ac a'i dyg i Ynys Prydain; sef y dodes bardd hyny ar englyn yn llynn:—

Diboen ferch Coel Godeboc
I gred a ddyges y Groc:
Ugain, trichant, a'i w'rantu,
Oedd oed Iesu, Dduw d'wysoc.

O amser Coel Godebawc hyd amsèr Macsen Wledig, can' mlynedd a deuddeg; a'r Macsen hwnw a fu yn amherawdr Ynys Prydain, ac yn Rhufain; ac a ddodes fraint teyrnedd freiniawl ar Ynys Prydain, ac a wnaeth lawer o eglwysi a gwyndai crefydd yn yr ynys hon, ag addysg gwybodau dwyfolion a gwladolion ynddynt. Ac efe a ddodes diroedd a breiniau i genedl y Cymry yn Llydaw, a Chynan Meiriadawc yn dywysawc arnynt; ac yno ydd aethant ugain mil o genedl y Cymry, yn amgen gwragedd a phlant, ac yno ydd arhosasant hyd y dydd heddyw.

O amser Coel Godebawc hyd amser Cysteint ab Aldwr Brenin Llydaw trugain mlynedd, ag achaws nad oedd ef Tywysog o baladr rhai o genedl y Cymry, nis mynnent ef yn Frenin arnynt, ac nis ymwrhaent iddaw, a Gwrtheyrn Gwrtheneu yn dywysawc iddynt, a'r Gwrtheyrn hwnw a wnaeth frad a chynllwyn, a lladd Cysteint, ag a wahoddes y Saeson yn gyfnerth iddaw i Ynys Prydain, ag a ddodes diroedd a däoedd, a breiniau iddynt yn yr Ynys hon, nid amgen no thiroedd gwyr o fonedd Rhufain yn Ynys Daned a gwlad Cent, ac ereill o wledydd; a'r Saeson a arosasant yn yr ynys hon hyd heddyw, yn un o dair gormes anrhaith Ynys Prydain. Ac yn amser Cysteint y bu Teilaw sant yn benesgob Ynys Prydain, ac a ddug lawer o'r paganiaid i'r ffydd yn Nghrist, ac a ddug dan nawdd a

dawn y Brenin, dau esgob duwiol i'r ynys hon, nid amgen na Garmon a Bleiddan i wellhau ac adnewyddu cred a bedydd a gwybodau dwyfolion." *

A thrachefn y cawn a ganlyn—Bl. O. C. 380, "Cyfergyd a'r amseroedd hyn y bu Cwstenin Amherawdr yn ymherodraethu yn Ynys Prydain, ac yn gwared y ffydd yn Nghrist rhag a'i gwaharddai. A goreu a golychwydoccaf o'r holl amherodron y bu ef; ac Elen, ferch Coel Godebog, Brenin Penrhaith Ynys Prydain oedd ei fam ef, yr hon a gafas y Groes fendigaid y dan y garn a fwriesid arni gan yr anffyddloniaid, yn Iddewon a phaganiaid.

"Cyfergyd a'r amseroedd hyn y bu Morien ap Argad Fardd yn ddysgediccaf o neb yn y byd, ac efe a fu yn ammau bedydd ac aberth corph Crist, ac achos hyny y bu casineb ac ymrysonau ac ymladdau nid bychain, ac Hud Morien a fu un o dri hud ddargoll Ynys Prydain; cyntaf oedd Hud Urb Luyddawg o Lychlyn, a ddug agos bawb a fedraint wrth arf a rhyfel o Ynys Prydain, a'u dwyn ar ddargoll yn Ngwledydd y Môr Marw; ail y bu Hud Morien, sef o'i achos y colled bedydd ac aberth yn Ynys Prydain, ac ydd aeth holl werin yr ynys yn Iddewon difedydd. Trydydd Hud oedd Gwydion ap Don yn Ngwynedd, a gafas o dwyll fraint coron a phendefigaeth ar Fon, ac Arfon, a'r Cwmmwd, y gan amherawdr Rhufain, am yru cenedl y Cymry o'u tiroedd, a rhoddi y tiroedd hyny i'r Gwyddelod a gwŷr Llychlyn.

390.—Cyfergyd a'r amseroedd hyn y bu Cwstenyn ymherawdr yn gyfnoddwr y ffydd yn Nghrist, ac y bu Martin escob yn gwrthammau Hud Morien yn yr Eidal, ac yn ynys Prydain; ac yn dysgu bedydd ac aberth, modd a'u dysgwyd gan Bawl Abostol, sef y dywed Pawl wrth yr esgyb a'r offeiriaid, bedyddier pob dyn yn y byd yn enw y Tad o'r nef, ac yn enw y Mab rhad, ac yn enw yr Ysbryd glan, yr hwn a fydd fal terydr y tes yn gyru goleuni Duw i'r man y delo, a'r man ydd agorer calon a chydwybod iddo, &c. &c.

410.—Cyfergyd a'r un amseroedd y dodes yr Amherawdr Tewdws fraint ar ddysg a gwybodau anrhydeddus yn Ynys Prydain, ac y bu Badric Sant yn benathraw cenedl y Cymry yn nawdd y freint hono; a'r gwyddyl gaflachog a ddaethant am ben y lle ydoedd, ac a'i dygasant yn anrhaith i'r Werddon, lle y bu ef yn Sant gloywaf yn y byd, yn dysgu'r ffydd yn Nghrist i'r gwyddyl, a chyn hyny paganiaid difedydd oeddynt.

425.—Y daeth Garmon Sant o dir Gâl, a chydag ef Bleiddian Sant, i Ynys Prydain, i adnewyddu bedydd ac aberth, a chred gyfiawn ar y ffydd yn Nghrist, ac lle ydd oedd wedi myned ar edwin.

430.—Daeth y gwyddyl Fitchi i Fon ac Arfon, a gwyddyl y gwledydd hyny yn ymuno â nhwy yn erbyn coron Ynys Prydain, a breninoedd a thywysogion Cymru yn eu herbyn, a gyda nhwy y ddau Sant, nid amgen Garmon a Blaiddan; a gweddio Duw a wnaethant, a Duw a wnaeth erddynt eu nerthu yn erbyn y brad a'r estroniaid yn hyglwydd, a rhoi y gorau iddynt ar eu gelynion; a bu mawl gorfoledd yn archlod i Dduw am y fuddugoliaeth hono yn holl Ynys Prydain gan genedl y Cymry, er gwaethafoedd gwŷr Rhufain yn cyfarddal y Gorddwy brad ac estrawn.

Cyfergyd a'r un amser y llosgwyd Caerllion ar Wysg, ac y gwnaethpwyd Llancarfan, a hono a fu'r Fonachlog freiniol gyntaf a gad yn Ynys Prydain, sef nid Monachlog Bangor Dewdws yn Nghaerworgorn, eithr ysgol freiniol i ddangos a dysgu gwybodau anrhydeddus, a chelfyddydau

* O "Amseroedd cof a chyfrif."—Iolo Manuscript, p. 39.

ardderchogion, fel ag ydoedd yn ninas Rhufain, a chan y Rhufeiniaid yn Nghaerlleon ar Wysg.

Cyfamser a hyn y bu morlif mawr, a colled holl forfaoedd Gwynedd a Dyfed, a Chernyw, a Dyfnaint, a gwlad yr Haf, a Morganwg, a Gwent, a llawer iawn yn y gogledd.

436.—Gwnaethpwyd Dyfrig Sant yn Archesgob yn Llandaf, ac Illtud Sant yn ben athraw yn Mangor Dewdws, a elwid o'i enw ef, Bangor Illtud, yn awr Llanilltud Fawr, a Llanilltud y Frô; ac am hyn o amser y bu haint mawr yn Ynys Prydain, yn ddial Duw am bechodau y Cymry, ac ereill o genhedloedd Ynys Prydain, a'r gwyddyl Fichti a ddaethant i Gymru; ond drwy weddiau Saint caffad y goreu arnynt, a gwared da.

448.—Y gwnaed Gwrthefyr Fendigaid yn frenin coronog Ynys Prydain; ac y doded Dyfrig yn Archesgob yn Nghaerlleon ar Wysg; ac wedi hyny lladd Gwrthefyr Fendigaid, a gwisgaw coron y deyrnas am ben Gwrtheyrn Gwrtheneu, a hanpu gwaeth o hyny i genedl y Cymry, sef y bu achos cyn pen diwedd, dwyn braint coron y deyrnas oddiarnynt, lle y bu yn eu braint er pan ddaethant gyntaf i Ynys Prydain, pymtheg can' mlynedd cyn dyfod Crist yn nghnawd.

450.—Dug Gwrtheyrn Gwrtheneu y Saeson i Ynys Prydain yn bleidyddion iddaw yn erbyn a ddylit y goron iddaw, nid amgen nag Uthr Bendragon mab Gwrthefyr Fendigaid.

452.—Gwrtheyrn Gwrtheneu a ysgares a'i wraig, ac a gymmerth yn wraig iddaw nid llai na phaganes ddifedydd, nid amgen nag Alis Ronwen ferch Hengist, tywysog y Saeson, a rhwymaw coron y deyrnas i fab a aned o honi; ac enw y mab hwnw oedd Octa, ac yn ei hawl ef ydd achubasant y Saeson goron teyrnas Ynys Prydain, ac a'i cadwasant yn sathlud hyd y dydd heddyw, a blinaf o bob gormes y bu gormes y Saeson yn Ynys Prydain.

453.—Y llas pendefigion y Cymry gan y Saeson yn Mynydd Ambri, a elwir Mynydd Caer Caradawg, yn mhendefigaeth Caersallawg; lle a'u dygynnullwyd yno yn heddwch Duw, a thangnefedd gwlad a chenedl."*

Y blyneddoedd hyn, fel y gwelir wrth y dyfyniadau blaenorol, oedd yr adeg flin ar Gymru, pan ddarfu i Wrtheyrn wahodd y Saeson drosodd i'w gynnorthwyo yn erbyn y Brithwyr, pan nad oedd y pendefigion Cymreig yn rhyw unol i gydnabod ei benteyrniaeth, ac felly y rhoddid mantais iddynt i ddechreu gwladychu yn ein hynys; y canlyniad o'r hyn a fu iddynt mewn amser drawsfeddiannu y rhanau goreu o'n gwlad, ac arbenicter yr holl ynys. Yn fuan ar ol hyn y bu y gyflafan echryslon a adwaenir wrth yr enw brad y cyllill hirion, ac at yr hyn y mae y cyfeiriad yn y dyfyniad olaf uchod. Mae darluniad manylach o'r cyfryw gyflafan yn y *Brut:*—"Sef a orug Hengist, erbyn y dydd hwnw prydu twyll, nid amgen na rhoddi cyllell hir i bob gŵr o naddynt yn ei hosan, gyda'i esgeir, a rhoddi yn arwydd i'w wŷr, pan fynei dynu eu cyllyll o naddynt, dywedyd o honaw ef namyn *draweth hwy sexus*, neu *onwer saxes;* sef yw hynny, "cymmerwch y'ch cyllill;" a phan doetey ef hyny, lladd o bob un o naddynt a ellynt fwyaf o'r Brytanyeid. Ac yr oedd dydd y doethynt i'r lle ydd oedd eu cynnadyl; a phan fu amser gan Hengistyr, doedyt a orug yr arwydd o hyd ei lef; ac yna yn ddiannot y cymmerth y Saeson eu cyllill a lladd y Brytanyeid yna o rifedi o naddynt, triugeinwr a phedwar cant, o dywysogion, a barwnyeid, a marchogion: canys pawb o naddynt

* Iolo Manuscripts, pp. 43, 44, 45.

a ddoethant yno heb arfau, gan y meddylynt ddim namyn tangnefedd â'r Saeson. Ac hwynteu trwy eu brad a ddoethant yn arfawg, wrth hynny hawdd iddynt ladd y gwŷr ereill yn ddiarfot. Ac eisoes nys cawsant yn rhad; canys llawer o honynt hwynteu a las yna: canys y Brytanyeid a gymmerynt y meini o'r ddaear a'r trosolion; ac felly y lladdasant lawer o'r bradwyr Saeson. Ac yno ydd oedd un Eudol, iarll Cayaw, sef yw hono Caerloyw, a phan welys ef y damwain hwnw, y lladdodd Eudol ddeng wŷr a thriugeinwyr o'r Saeson, heb anofod o naddynt."

Pan oedd Dyfrig yn hen iawn, wedi bod yn hir yn esgob Llandaf, ac wedi hyny yn archesgob Caerllion, a Morganiaeth yn ail enill dylanwad yn mhlith y Cymry er nychdod i wir grefydd, cynelid cymmanfa yn Llanddewi brefi, yn yr hon y pregethai amryw o Ddwyfyddion goreu y genedl ar y pynciau mewn dadl, gyda grymusder ac eglurder mawr: ond Dewi esgob Mynyw a ragorai arnynt oll, fel y'i dewisid ef cyn diwedd y gymmanfa yn archesgob, yn gymmaint a bod Dyfrig, o herwydd ei henaint a'i lesgedd, yn gystal a blinder yr amseroedd, yn dewis rhoddi y swydd i fynu, ac encilio i dreulio gweddill ei oes mewn llonyddwch a chymdeithas â Duw yn Ynys Enlli.

Tua diwedd y gymmanfa hon, amlygai amryw o'r gwŷr duwiol oeddynt yn bresenol, eu dymuniad i fyned gyda Dyfrig i Enlli, fel y gallent addoli Duw mewn llonyddwch, heb ofni brad na thrais y Saeson; ond dymunent gael cynghor Catwg Ddoeth yn gyntaf; yntau a'u cynghorodd hwynt i fod yn ddiwyd yn ngwaith yr Arglwydd yn wastadol; ac i ymostwng i'w ewyllys ef dan bob amgylchiad, gan fod yn hyderus y byddai iddo ef amddiffyn a gwaredu pawb a ymddiriedont ynddo ar lwybr eu dyledswydd.

Dyma gynghor Catwg iddynt:—

"Pan oedd saint senedd Frefi,
Yn ol gwiw bregeth Dewi,
Wrth arch pryffwn prophwydi,
Yn myned i ynys Enlli,
Er ymwared o bob rhwystri,
A hir gymhell cymhelri:
Yna dywedes Gybi,
Pa fyd a geir yn ngweilgi?
Pa fwyd yn ymborth i ni
Yn nghanol y môr heli?
Catwg a ddywaid wrth Ddewi,
Fal y gwnai y prophwyd Eli:—
Duw a ro gynghor i chwi,
Ar foroedd a daieri;
Goddefwch bob caledi,
Nid ellir lles o ddiogi.
Trech doethineb no gwegi;
Trech llafur na direidi;
Dirwest, a chred, a gweddi,
A orfydd ar bob cyfyngi.
Mil canhaws gan Dduw roddi,
No chan ddyn diddim erchi;
O chredir llyfr Generi,
Yr hwn a wiria ini,
Na chafas ddyn ei eni
Heb gael gan Dduw ei borthi.
Gwellwell Duw o'i addoli,
Gwaethwaeth y diawl o'i berchi.
Nag ofnwch a ddaw ichwi,
Mwy na'r fwyalch yn Ngelli,
Nid ardd, nid erddir iddi,
Nid llawenach neb na hi.
Archwn bawb i Dduw Celi,
Arglwydd yr holl arglwyddi,
Er Iesu a'i bum' weli,
Ein dwyn drwy bob cyfrwystri,
A'i gael yn ganllaw ini,
Ac ni bydd raid i neb ofni."

Oddiwrth duedd Dyfrig a'r duwiolion ereill i encilio i Ynys Enlli, er cael hamdden i fyw buchedd o ddyhewyd, allan o drwst y byd, gwelwn yr ysbryd mynachaidd yn dechreu dangos ei hunan; ond meddyliem fod y Cymry hyd yma yn iach yn y ffydd; canys ni chrybwylla Catwg uchod am gyfryngdod neb ond yr eiddo Crist croeshoeliedig, i nesau drwyddo mewn gweddi at Arglwydd yr arglwyddi. A ganlyn hefyd yw aralleiriad Catwg o Weddi yr Arglwydd:—

GWEDDI Y BADER: SEF, GAIR DUW YN UCHAF.

"Ein Tad Hollalluog, gwireddgar a thirion,
Sy'n trigo'n y lleoedd a'r pethau nefolion;
Glân ydwyt, a sanctaidd—dy enw mawr sancteiddier,
Hyd eitha'r holl endid, lle treigla'th hynawsder.
Deued arnom dy deyrnas, a bydded dy 'wyllys
Fel y mae yn y nef, ar y ddaear yn ddilys.
Rho, Dad, i ni beunydd ein bara beunyddiol.
Boed i ni fyth ynod ymddiried yn hollol.
Rho di'r un faddeuant i bawb o blant dynion
Ag y rhoddwn ni'n ddidwyll i'n lhdiog elynion.
Bydd drugarog i'n gwared rhag hud ein pechodau;
Rhag a'n ennyg ar gam—rhag pob anian o ddrygau.
Ti, Frenin gogoned, yw perchen y deyrnas,
A'r nerth, a'r gwir glod, a phawb mawl i ti'n addas.
Bydd di'n Amddiffynwr, a'n Deddfwr, a'n Llywydd,
Hyd oesoedd diderfyn, hyd fyth, yn dragywydd."—Amen.

Dyna i chwi gynllun o athrawiaeth iachus, ddisothach Cristionogion Cymru, tua dechreu y chweched ganrif; canys cynnelid y Gymmanfa uchod yn Llanddewi brefi, tua'r flwyddyn 519. Yn mhen tuag ugain mlynedd wedi hyn, nyni a welwn yr ysbryd mynachaidd wedi cryfhau yn ddirfawr yn eu mysg, o'r hyn y mae a ganlyn yn brawf:—*Cyndeyrn Garthwys*, mab Owain ab Urien, a anwyd yn yr Alban, ac a ddygwyd i fynu dan olygiad Serfan, yn athrofa Culros. Yr oedd Cyndeyrn yn un mor hynod am addfwynder ei dymherau a'i ymddygiadau, fel y'i cyfenwid ef *Mwyngu*. Dywedir ei fod yn byw ar lysiau a llaeth, gan lwyr ymwrthod â chigfwyd yn ymborth, ac â phob math o ddiodydd cedyrn; ond er hyn oll, ei grefydd a dynodd erledigaeth yn ei ben yn yr Alban, fel y bu raid iddo gilio o wlad ei enedigaeth; ac at Ddewi y daeth efe, a chydag ef y cartrefodd dros beth amser; ond o'r diwedd, trwy anogaeth y gŵr duwiol hwnw, efe a gyfododd Athrofa ar lan yr afon *Elwy*, yn Ngwynedd; a bu y cynnygiad yn dra llwyddiannus; canys dywedir fod gan Cyndeyrn *naw cant a phymtheg a deugain* o frodyr yn ei athrofa, neu grefydd-dy, y rhai a wasanaethent Dduw â llawer o wresowgrwydd; ond nid oeddynt hwy oll yn ddynion dysgedig, neu lenorion; canys fe'n hysbysir fod *tri chant* o honynt yn trin y tir, ac yn edrych ar ol yr anifeiliaid a berthynent i'r sefydliad; *thri chant* ereill yn darparu lluniaeth, ac yn gweini mewn pethau ereill, angenrheidiol er cysur y frawdoliaeth; *tri chant a phymtheg a deugain* ereill oeddynt yn myfyrio ar wirioneddau crefydd, ac yn blaenori yn y gwasanaeth Dwyfol, a gyflawnid yn y sefydliad beunydd; canys yr oeddynt wedi eu trefnu yn y fath fodd, fel ag yr oedd addoliad parhaus a diorphwys yn cael ei gyflawni ganddynt.

Buasai Cyndeyrn yn esgob, os nad yn archesgob Cymry Ystrad Clwyd, a'r pryd hyny efe a gyfanneddai yn Glasgow; ac oddiwrth ei gyfenw crefyddol, *Mwyngu*, y cafodd y prif addoldy yno ei alw *St. Mungo*. Ond wedi ei orfodi, fel y crybwyllwyd, i adael ei bobl a'i drigias, trwy greulondeb ei elynion paganaidd, y Brithwyr, efe a ymsefydlodd dan nawdd Maelgwyn Gwynedd, ar lan yr Elwy, ac a seiliodd esgobaeth Llanelwy: ond yn mhen yspaid o amser, Rhydderch, tywysog Ystrad Clwyd, a'i gwahoddai i ddychwelyd yn ol, gan addaw ei noddi rhag pob traha; â'r hyn y cydsyniodd yntau, gan adael gofal yr athrofa a'r esgobaeth i'w hoff ddysgybl *Asaph*, ar enw yr hwn y gelwir yr esgobaeth gan y Saeson yn *St. Asaph*. Yr *Asaph* hwn ydoedd fab i Sawyl Benuchel, ab Pabo, o

Gwenaseth, ferch Rhufon Rhufionawg. Efe a ddilynodd Cyndeyrn yn yr esgobaeth, ac yn llywyddiaeth yr athrofa, yn y flwyddyn 560. Dywedir am dano ei fod yn bregethwr diwyd, ac yr arferai ddweyd yn aml, fod y sawl a wrthsafai bregethiad gair Duw, yn cenfigenu wrth iachawdwriaeth eneidiau dynion. Efe a ysgrifenodd Lyfr Ordinhadau ei eglwys, Buchedd Cyndeyrn, a rhai cyfansoddiadau ereill. Trwy ei lafur ef, debygid, y sefydlwyd eglwys Gristionogol gyntaf yn y lle a elwir Llanasa, yn swydd Fflint.

Rhaid i mi addef gyda'r Parch. J. Williams, nad oedd y sefydliadau mynachaidd yma yn un arwydd o adfeiliad crefydd, ac o ymlygriad yr eglwysi, hyd yn hyn, can belled ag y gallaf fi ddeall hanesyddiaeth, ac nad oedd y gosodiadau hyn wedi eu llychwino â'r rhwysg a'r llygredd hyny a ymddangosodd yn nglyn â hwynt dan arglwyddiaeth Pabyddiaeth. Sefydlid hwy ar y cyntaf, debygid, er hyrwyddo dysgeidiaeth, a meithrin duwioldeb, fel y gellid dwyn i fynu ddynion addas i'r weinidogaeth. Y mynachod a ymgynnalient ar lafur eu dwylaw eu hunain, trwy drin tiroedd gwylltion a adawai pendefigion a thywysogion iddynt. Gweddient ac ymprydient yn fynych, a'u holl ymarweddiad oedd yn dra diargyhoedd. Yn wir, ymddangosai y gyfundrefn drwyddi yn gyfaddas hynod i amgylchiadau tei fysglyd yr amseroedd hyny.

Yr oedd oes Maelgwyn Gwynedd yn un dra hynod, debygid, am y symbyliad a roddid i addysg, a lluosogiad y cyfryw athrofaau a'r un uchod, mewn amryw barthau yn Ngwynedd, neu adnewyddiad a gwaddoliad rhai a sefydlasid yn nyddiau ei dad, megys Cor Cybi, Claswrdy Penmon, &c.

Ac yr ydwyf yn methu deall bod esgobion yn Nghymru hyd yn hyn yn meddu awdurdod daleithiol; ond y gelwid y sawl a fyddai fel gweinidog neu fugail sefydlog cynnulleidfa o Gristionogion mewn ardal yn *esgob:* ac felly y cawn fod *Afan*, fab Cedig, ab Caredig, ab Cunedda, yr hwn a sefydlodd ddwy gangen eglwys yn swydd Frycheiniog, yn y chweched ganrif, yn cael ei alw yn esgob. Efe a gladdwyd yn Llanafan Fawr, ac ar ei gareg fedd y mae y geiriau hyn :—"*Hic Jacet sanctus Avanus Episcopus.*" "Yma y gorwedd Sant Afan, esgob:" ond nis gellir profi ei fod yn meddu arglwyddiaeth eglwysig ar ddim mwy na'r gymmydogaeth hono. Ac am Dyfrig a Dewi, er y gelwir hwynt yn archesgobion, nid oeddynt yn gyffelyb i'r archesgobion presenol, mewn golud, rhwysg, nac awdurdod, hyd y gallaf fi ganfod mewn hanesiaeth: yn unig, ar gyfrif eu doniau rhagorach, fe'u dewisid gan y gweinidogion yn gyffredinol yn eu cynnulliad cymmanfaol, i gyflawni swydd gyffelyb i'r eiddo Cadeirydd *(Moderator)* eglwysi Henadurol yr Alban, neu Lywydd *(President)* cynnadledd y Trefnyddion Wesleyaidd, yn ein hoes ni; ond yn unig nad oeddynt i'w hethol yn flyneddawl: eto addefwn fod yr etholiad crybwylledig ar un i weini swydd archesgob neu benesgob dros ei oes, wedi achlysuro dechreuad y llygriad a'r gwyrni mewn trefn eglwysig, trwy yr hyn y daeth esgobion taleithiol i fod: a'r arfer hon, debygid, a ddygwyd drosodd yma yn gyntaf gan Garmon, oddiwrth eglwysi Gâl, y rhai oeddynt wedi dechreu cydffurfio â dull eglwys Rhufain yn y peth hwn yn gynt na'n henafiaid ni.

Yr ydym erbyn hyn yn neshau at y cyfnod yn mha un y dygid Pabyddiaeth drwyadl drosodd i Frydain gan Awstin Fonach, a'i gydlafurwyr. A'r pryd hyny y mae genym brofion sicr fod yr eglwys Brydeinig yn annymddibynol ar eglwys Rhufain, ac yn ei defodau a'i hathrawiaethau yn hollol groes i gyfeiliornadau Pabyddiaeth: ac yr ydys yn hyderu y gellir dangos hyny yn eglur yn yr hanes ganlynol:—

Yn y ganrif hon, sef y chweched, y darfu i ŵr duwiol, o'r enw *Dunawd Fawr*, trwy gynorthwy ei feibion enwog *Deiniol Wyn*, *Cynwyl*, a *Gwarthan*, sylfaenu athrofa enwog Bangor Is-y-coed, yr hon a waddolid yn haelfrydig â thiroedd lawer, gan *Cyngen ab Cadell Deyrnllwg*, tywysog Powys; a'i fab *Deiniol* yn fuan a sefydlodd athrofa ar lan y Menai, yr hon a waddolid gan Maelgwyn Gwynedd, ac a elwid Bangor, a Deiniol a benodid yn ben y côr, neu esgob cyntaf y lle hwnw. Efallai fod rhyw fath o sefydliad i weinyddu addysg yn Mangor Is-y-coed o'r blaen; gan yr haerid fod Morgan yn un o'r rhai a dderbynient addysg yno mor foreu a'r bedwaredd ganrif; ond ddarfod i Dunawd a'i feibion adnewyddu y sefydliad yma, gan ei drefnu yn fwy cydwedd âg arfer yr oes, ac yn fwy tebyg i'r mynachlogydd diweddarach. Enwogrwydd Dunawd a'i feibion, am ddysg a duwioldeb, a fu yn effeithiol i gyrchu torfeydd o ieuenctyd crefyddol atynt o bob cwr ar Gymru, fel y daeth Bangor Is-y-coed yn fuan yn enwocaf o'r holl athrofaau Cymreig. Yn y cyfamser, yr oedd un *Teilaw* yn ŵr tra enwog yn yr eglwys Gymreig, ac efe a gyfrifir yn gyffredin yn esgob cyntaf Llandaf, am ba achos y gelwir y lle hwnw gan hen haneswyr yn "blwyf Teiliaw" weithiau, ac "esgobaeth Teiliaw" bryd arall. Yn gyfoesawl âg ef yr oedd gŵr duwiol ac enwog iawn yn ben athraw Cor Llanilltud, yr hwn oedd yn nai o fab chwaer i'r brenin Arthur—ei enw ef oedd Samson; ac y mae maen golofn er anrhydedd i'w goffadwriaeth i'w chanfod eto yn Llanilltud Fawr, yn naw troedfedd o hyd, 27 modfedd o led yn y pen uchaf, ac 28 modfedd yn y pen isaf, a phymtheng modfedd o drwch; a'r geiriau hyn yn ddarllenadwy arni:—IN NOMINE DI SUMMI INCIPIT CRUX SALVATORIS QUÆ PREPARAVIT SAMSON PRO ANIMA SUA ET PRO ANIMA JUTHAELI."* Barna rhai bod yr argraph uchod yn brawf fod y Cymry eisoes yn euog o dueddu i'r cyfeiliornad o weddio neu eiriol dros y meirw; er nad oedd y cyfeiliornad Pabaidd o barth y purdan wedi ei ddyfeisio eto.

Dywedir fod Gregory Fawr, ryw bryd cyn ei ddyrchafu i'r orsedd Babaidd, fel yr oedd yn tramwy heolydd Rhufain, wedi dygwydd sylwi ar nifer o ieuenctyd teg yr olwg arnynt, yn cael eu cynnyg ar werth gan ryw gaethfasnachwr; a phan ymholai o ba wlad y'u dygid, deallai mai o Frydain; ac wedi ei hysbysu yn mhellach mai paganiaid oedd eu pobl, wedi ocheneidio yn ddwys, efe a ddywedai, "gresyn fod pobl mor deg yn ddeiliaid i dywysog y tywyllwch!" Wedi gwneyd ychwaneg o ymholiadau yn eu cylch, efe a aeth at y Pab, gan atolygu caniatad i fyned i Loegr, i ddychwelyd y bobl at Gristionogaeth; yr hyn a ganiataodd y Pab. Ond gan ei fod ef yn anwylddyn pobl Rhufain, bu raid i'r Pab anfon i'w alw yn ol, er ei fod wedi cychwyn i'w daith ers tri diwrnod. Yn mhen ychydig wedi hyny, efe a ddyrchafwyd i'r gadair babaidd, ac yna efe a anfonodd *Awstin*, a gyfenwir yn gyffredin *Awstin Fynach*, ar y genadwri yr amcanasai unwaith ei chyflawni ei hunan: a hyn a fu tua'r flwyddyn 597.

Yr oedd gydag Awstin tua deugain o gynnorthwywyr, ac wedi teithio ar hyd y tir trwy Ffrainc, hwy a gymmerasant long a chyfieithwyr o Ffrainc gyda hwy, ac a diriasant yn ddiogel yn Ynys Thanet, o'r lle yr anfonid cenadwri at Ethelbert, brenin y rhan hono o Loegr, i'w hysbysu o'u dyfodiad i'w wlad, a'r neges oedd ganddynt mewn golwg. Ac wedi llwyddo i enill ffafr Ethelbert, a pherswadio amryw o'i ddeiliaid, sef trigolion Caint, i dderbyn Cristionogaeth, y fath ag a feddai i'w chynnyg iddynt, a chael yn wobrwy am ei lafur, ei gyssegru gan y Pab yn archesgob Caer-

* *Iudael*, neu *Iuthael*, oedd arglwydd Gwentllwg yn swydd Fynwy, ac a roddes diroedd gwerthfawr i'r eglwys, medd Llyfr Llandaf.

gaint, efe a benderfynodd wneyd a allai i enill esgobion y Cymry i addef uchafiaeth y Pab, fel Pen gyffredinol yr eglwys: ac i'r perwyl hyny, efe a anfonodd atynt, i erchi arnynt ei gyfarfod ef mewn cymmanfa ar gyffiniau swydd Gaerwrangon *(Worcestershire)*, mewn lle a alwyd yn y canlyniad "Derwen Awstin."

Gwedi cyfarfod yn y lle, ar yr amser gosodedig, Awstin a ddechreuodd ymresymu â hwy, a'u cynghori i roddi ufudd-dod i'r Pab, ac i dderbyn y ffurf o athrawiaeth a llywodraeth eglwysig oedd mewn ymarferiad y pryd hyny yn eglwys Rhufain: ond gan fod y Cymry yn golygu fod eglwys Rhufain y pryd hyny wedi dirywio yn mhell oddiwrth burdeb yr Efengyl, nid oedd dim a ddywedai Awstin yn ddigonol i'w denu i gytuno â'i gais: eithr gan nad oedd ond ychydig o honynt yn bresenol ar yr achlysur hwnw, fel na byddai iddynt ymddangos yn fyrbwyll yn eu penderfyniad, cytunasant i gadw cymmanfa gyffredinol yn yr un lle drachefn, i ystyried y pethau hyn. Ac ar yr amser gosodedig, esgobion Caerwrangon, Henffordd, Llandaf, Llanbadarn fawr, Bangor, Llanelwy, a Chaergybi, yn nghyda Dunawd Fawr, pen athraw Bangor Is-y-coed, a lluaws mawr o athrawon a dysgedigion, o Wynedd, Powys, a Deheubarth, a ymgyfarfuant yn y Gymmanfa: ac ar y ffordd wrth fyned yno, medd yr hanes, galwasant gyda gŵr duwiol a doeth, a gofynasant iddo, Pa beth a gynghorai efe iddynt ei wneuthur pan ddelent i'r Gymmanfa? pa un a fyddai goreu iddynt, a'i gwrthod cydsynied â cheisiadau Awstin, gan gymmeryd y canlyniadau, pa beth bynnag a ddygwyddai; neu ynte, gytuno âg ef? Yntau a'u hatebai, gan ddywedyd, "Os gŵr Duw yw Awstin, dylynwch ef: ac wrth hyn y gwybyddwch pa un ai gŵr Duw ydyw ai peidio: y mae yr Arglwydd yn dywedyd, 'cymmerwch fy iau arnoch, a dysgwch genyf, canys addfwyn ydwyf, a gostyngedig o galon.' Fe allai fod Awstin ei hun yn dwyn iau Crist, a'i fod yn chwennych i chwithau ei dwyn hi: ond os yw efe yn greulawn ac yn falch, y mae yn amlwg nad yw efe o Dduw, ac nad oes un angenrheidrwydd i chwi i wrando arno. Ac i'r dyben i gael allan pa un ai ei fod yn ostyngedig ai peidio, gadewch iddo ef a'i gyfeillion fod yn y gymmanfa o'ch blaen chwi; ac os cyfyd efe ar ei draed pan fyddoch chwi yn myned i mewn, gwybyddwch mai gwas i Grist ydyw, a rhoddwch wrandawiad parchus i'r hyn a ddywedo efe wrthych. Ond os diystyra efe chwi, ac ni chyfyd i'ch croesawu, a chwithau y nifer mwyaf lluosog, na wrandewch arno ef." Gwedi cael y cynghor hwn, hwy a ymadawsant, ac a wnaethant fel y gorchymynwyd iddynt.*

Erbyn i gynnrychiolwyr yr eglwys Gymreig ddyfod i'r gymmanfa, hwy a gawsant Awstin yno, yn eistedd yn ei gadair, mewn agwedd rwysgfawr, ac er anrhydeddused oedd y cynnrychiolwyr, ni chyfododd efe i gyfarch iddynt; a hwythau pan welsant ei ymddygiad trahausfalch, a ffromasant wrtho, ac ni fynent wrandaw arno: ond tra yr oedd efe â'i holl egni yn eu cymhell i ymostwng i awdurdod y Pab, a chydnabod uchafiaeth eglwys Rhufain, *Dunod Fawr* a safodd i fynu, a chan gyfarch Awstin a'i gyfeillion, efe a ddywedodd—"Bydded hysbys i chwi, ein bod ni oll yn ufudd ac yn ostyngedig i eglwys Dduw, ac i'r Pab o Rufain, ac i bob *gwir Gristion;* a'n bod yn cofleidio pawb yn ol eu gradd, mewn cariad perffaith, gan eu cynnorthwyo drwy air a gweithred i fod yn blant i Dduw: ac ni wn i fod unrhyw ufudd-dod amgenach na hwn yn ddyledus i'r hwn yr ydych yn ei alw yn *Bab*, neu *Dad y Tadau;* a'r ufudd-dod hwn yr ydym ni bob amser yn barod i'w roddi iddo ef, ac i bob cristion arall. Hefyd, yr ydym ni

* Hanes Crefydd yn Nghymru, t.d. 192, 193. Bede, L. ii., ch. ii.

dan lywodraeth Archesgob Caerlleon ar Wysg,* yr hwn sydd olygwr dan Dduw arnom ni, i wneuthur i ni gadw y ffordd ysbrydol."

Pan glybu Awstin y cyfarchiad dewrfryd hwn, efe a ddywedodd wrth y Cymry :—" Er eich bod chwi yn gwneuthur llawer o bethau yn groes i'r defodau a dderbynir genym ni, a chydsyniad yr eglwys gyffredinol; os bydd i chwi gadw y Pasg y'r un amser a ninau, a gweini yr ordinhad o fedydd yn ol defod eglwys sanctaidd ac apostolaidd Rhufain,† ac uno â ni i bregethu yr Efengyl i'r Saeson, nyni a oddefwn bob peth arall yr ydych chwi yn eu cyflawni yn annghytunol â'n defodau ni." Ond hwy a atebasant, nas gwnelent ddim o'r pethau hyny, ac nas derbynient ef ychwaith fel eu harchesgob; canys dywedent yn eu mysg eu hunain, "Onis gwnelai gymmaint a chyfodi ger ein bron yn awr, pa faint mwy y'n dirmygai, fel yn llwyr anheilwng, pe y dechreuem fod yn ddarostyngedig iddo?" Ar hyny, Awstin wedi cythruddo, a ddywedai yn fygythiol, "Gan nad ydych chwi yn foddlon i ymgyssylltu mewn undeb â'ch brodyr, yr ydych yn debyg o gael rhyfel â'ch gelynion, a chan na phregethwch chwi ffordd y bywyd i'r Saeson, chwi a gewch ddyoddef cosp marwolaeth trwy eu dwylaw hwynt." ‡

Yn yr hanes flaenorol gwelwn ysbryd trahaus a gormesol eglwys Rhufain, yr hwn sydd yr un yn mhob oes, yn dra amlwg; mor annhebyg ydoedd Awstin i'r hwn y cymmerai arno ei fod yn Weinidog iddo! yr hwn y dywedir am dano, "At yr eiddo ei hun y daeth, a'r eiddo ei hun ni derbyniasant ef!"—" Yr hwn pan ddifenwyd ni ddifenwodd drachefn, pan ddyoddefodd ni fygythiodd." Ie, yn lle bygwth ei erlidwyr â dialedd, efe a weddiai dros ei leiddiaid, gan ddywedyd, " O Dad, maddeu iddynt; canys ni wyddant pa beth y maent yn ei wneuthur." Ai tybed bod un o ysbryd mor daeogaidd ag Awstin yn ddysgybl i'r fath un? Ac yn yr unrhyw adroddiad hefyd, gwelwn ysbryd tra theilwng yn cael ei amlygu gan yr esgobion Cymreig; eu gwroldeb canmoladwy i sefyll dros annibyniaeth eu heglwysi; gan ommedd, yn gadarn, er yn foneddigaidd, ymostwng i geisiadau trahaus esgob Rhufain, a'i genhadwr Awstin Fynach.

Wedi i Awstin fethu yn ei amcan i gael gan ddysgedigion ac esgobion Cymru roddi eu gyddfau dan ei draed ef, a chydnabod ei feistr, y Pab, yn ben eu heglwys, efe a achwynai arnynt yn dost wrth ei noddwr *Ethelbert*, yr hwn ag efe eisoes yn dra llawn o ddygasedd at y Cymry, ac awydd i'w llwyr ddyfetha fel cenedl o bob cwr o Ynys Prydain, fel y caffent hwy, y Sacsoniaid, gyfle i helaethu eu tiriogaethau, a gydsyniodd âg Awstin i anog Ethelfrith, a gyfenwid "Y gwyllt," brenin *Northumberland*, yr hwn

* Yr oeddynt yn parhau i'w alw felly, er fod yr archesgob yn preswylio yn Nhŷ Ddewi y pryd hyny.

† Yr oedd eglwysi Cymru yn parhau i gadw y Pasg ar y pedwerydd dydd ar ddeg o'r mis, neu y llawn lloer, yn ol trefn yr Iuddewon; ond yr oedd eglwys Rhufain, mewn ufudd-dod i Gymmanfa Nicea, yn cadw y Pasg ar y Sabbath a ddygwyddai ar, neu yn nesaf yn ol y llawn lloer cyntaf wedi yr 21ain o fis Mawrth. Yr oedd eglwysi Cymru hefyd yn parhau i weini bedydd i fabanod a dynion mewn oedran yn ol y drefn apostolaidd, heb gyflawni yr holl ddefodau chwanegol oeddynt wedi dyfod i ymarferiad erbyn hyn mewn amryw wledydd: ond yr oedd gweinidogion eglwys Rhufain, wrth weini bedydd, yn cyflawni y defodau canlynol; megys 1. Nodi y bedyddiedig âg arwydd y groes. 2. Rhoddi llaeth a mel iddynt. 3. Taflu halen i'w genau. 4. Eneinnio eu cyrph âg olew. 5. Eu gwisgo â dillad gwynion dros saith niwrnod. Dyma y pethau y mynai Awstin i esgobion Cymru eu gwneuthur wrth weini bedydd.—*Parch. Dr. Peters.*

‡ Bede, L. ii.. ch. ii.

ydoedd yn dychwelyd yn fuddugoliaethus gyda byddin gref, o frwydro â'r Ysgotiaid, i anrheithio gororau Cymru; ac felly Ethelfrith a arweiniodd ei fyddin i diriogaethau Brochwel Ysgythrog, Tywysog Powys, yr hwn, pan ddeallodd fod y fath fyddin gref yn dynesu tua'i wlad, a anfonodd ato i ddeisyfu ammodau heddwch; ond y brenin paganaidd gwaedlyd ni wrandawai arno, eithr rhuthrodd arno ef a'i fyddin, yn agos i Gaerlleon ar Ddyfrdwy, gan ei orfodi i encilio, a gadael mynachlog Bangor Is-y-coed yn ysglyfaeth i'r goresgynwr; yr hwn pan welodd fintai o'r athrawon a'r efrydwyr, mewn gwisg grefyddol, ac yn anarfog, a ofynai pwy oeddynt, a pha beth oeddynt yn ei wneuthur; ac wedi ei ateb mai gwŷr crefyddol oeddynt, yn gweddio dros eu cydgenedl, efe a orchymynodd eu lladd yn ddidrugaredd, gan ddywedyd, "Os ydynt yn llefain ar eu Duw yn ein herhyn, yna y maent yn ymladd i'n herbyn â'u gweddiau." Dywed rhai fod *deuddeg cant* o'r gwŷr anarfog hyn, y rhai oll, oddieithr tua haner cant, a aberthwyd i'r cleddyf: ond yr haneswyr Seis'nig a ddywedant mai *dau gant* oedd eu nifer. Anrheithiwyd Bangor Is-y-coed mor drwyadl ar yr achlysur yma, fel na chyfododd ei phen byth mwyach. Dywaid *Giraldus Cambrensis*, fod y pentyrau mawrion o adfeilion oeddynt weledig yn ei amser ef yn dystiolaeth ddigonol i wirionedd yr enwogrwydd a briodolid gan draddodiadau y genedl i'r hen sefydliad hwn; a *Leland* a ddywaid fod amgylchedd yr Abatty yn dref gaerog, a bod yn aros yn ei oes ef enwau dau o'r pyrth—y naill, ar y tu gogleddol, a elwid "*Porth Hogan;*" a'r llall, ar y tu deheuol, a elwid "*Porth Clais;*" a chan fod y Dyfrdwy er y pryd hyny wedi newid ei gwely, ei bod yn ei oes ef yn llifeirio trwy y canol rhwng y ddau borth—y rhai, meddai, oeddynt tua milldir o bellder y naill oddiwrth y llall.* Ond Brochwael, wedi ei gyfnerthu gan amryw dywysogion Cymreig ereill, a ddychwelodd, ac a ymosododd ar Ethelfrith, yr hwn a lwyr orchfygodd, gan ladd tua deng mil o'r Saeson; a phrin y gallodd Ethelfrith ei hun, yr hwn a glwyfasid yn yr ymgyrch olaf hwn, ddianc rhag cwympo i ddwylaw ei elynion.

Y gweinidogion a ddiangasant o gyflafan Bangor Is-y-coed a ymsefydlasant mewn amryfal fanau yn Ngwynedd, yn enwedig yn Ynys Fon; a gellir casglu i lawer o honynt fod yn offerynol i blanu eglwysi mewn lleoedd na chyhoeddasid yr Efengyl ynddynt o'r blaen: ac felly, efallai i'r chwalfa ar fynachlog Bangor fod yn achlysur o ddaioni mawr i lawer o ardaloedd ereill.

Hyd yn hyn yr oedd yr eglwys Gymreig yn hollol annibynol ar eglwys Rhufain, ac yn annghydffurfiol â hi hefyd yn ei defodau mwyaf coelgrefyddol, megys y nodwyd eisoes am y dull o weinyddu y bedydd: ac ar y cyfan, gellid meddwl fod y Cristionogion Cymreig yn "dala dirgelwch y ffydd mewn cydwybod bur:" o leiaf, yr oedd eu syniadau yn llawer mwy uniawngred yn y chweched a'r seithfed ganrif na'r eiddo eglwys Rhufain, fel y gellid profi drwy luaws o ddyfyniadau o waith prif feirdd yr oesoedd crybwylledig. *Taliesin* a ddywaid—"Gwae ni chred i'r Drindawd." A thrachefn, ar iawn Crist dros bechod y gwelwn y sylwadau canlynol:—

"O'r diwedd y dyfu
Iachwyddawl Iesu
Hyd yn Ierosolyma,
Y cymmerth crog a chathrau,
A ffrewyllau ac angau,
Y cymmerth un mab Maria,
I obrynu llawer o law Satana."

* Turner, vol. i., p. 135.

Am gyfyngdod ac eiriolaeth Crist hefyd y dywedai yn un o'i brydd-estau—

> Pwy enw y porthawr?
> Pwy y periglawr?
> Y Fab Mair mwynfawr."

Iawn y sylwodd un Awdwr parchedig* ar hyn, gan ddywedyd:—"Mor groes yw hyn i athrawiaeth eglwys Rhufain, yr hon sydd yn gwneuthur Pedr yn borthawr, ac yn rhoddi iddo ef yn unig agoriadau nefoedd ac uffern. Nid ydym yn cael dim yn nghaniadau y Bardd hwn a'n tuedda i feddwl fod ein henafiaid Cristionogol y pryd hyn yn gweddio ar Mair, Pedr, neu creill o'r saint, nac yn addoli delwau a chreiriau." Yn hytrach, medd efe—

> "A'm crair yw Mab Mair, mawr arnaw fy mryd,
> Canys delir y byd bob awr iwrthaw."

Llywarch Hen hefyd oddeutu yr un amser a ddywed—

> "Ar Dduw yn unig rhown oglud."

A'i fab claf ef yr un modd a dystia—

> "O bob creff, a phob campeu,
> Gweddio Duw sydd oreu."

Gellid ychwanegu y rhanau canlynol hefyd o "Gyffes Taliesin" i Dduw, pan yn ystyried ei ddiwedd, er egluro yr un peth.

> "Benedicte Dominus. Drwy nerth Iesu, fab Alpha,
> I'r wyf yn cydnabod i Dduw, a'r Drindod gorucha',
> Fy mod yn wir bechadur i'r penadur cadarna',
> O air, meddwl, a bryd, a bywyd amherffeithia',
> Camdreulio fy mhum' synwyr, mewn cyferwyr a thraha,
> Ac arfer o'r saith brifwyd heb boenyd na dirwestfa,
> Esgeuluso iawn fuchedd, a saith rinwedd Ecclesia.
> Misere mei Deus, i ti, f'Arglwydd, erfynia',
> Iesu, er dy bum' archoll, am hyn oll i'r archa',
> Maddeu fy holl gamwedd cyn myned i orweddfa.
> Pan ddel angau i'm calon, ac oer loesion a chrynfa,
> Dwyn poenyd dros fy mhechod, a rhoddi nis galla';
> Efrydd, mud, byddar, a dall, ac annghall fydda';
> A'm cynghorau, a'm trysor, a'm anwylyd adawa',
> A'm gweithredoedd a'm canlyn, a'm gelyn a'm cyhudda. * * *
> Pwy yna sydd oludog ond y Tywysog pena'?
> Arglwydd, er dy bum' archoll, am hyn y'th weddia',
> Am hyn, Duw gogonedd, cyn fy myned oddiyma,
> Pen Teyrn y deyrnedd, dy drugaredd a archa'."

Pa un bynag ai *Taliesin Benbeirdd*, ai ynte rhyw un diweddarach yn ffugiaw Taliesin, a gyfansoddai y llinellau blaenorol, mae yn amlwg nad oedd yr awdwr wedi ei lygru â syniadau cyfeiliornus eglwys Rhufain, am gyfryngaeth y saint, &c.

* Y Parch. J. Williams, A. C. *(Ab Ithel.)*

Mewn dernyn arall o Bryddest a briodolir i'r un awdwr, efe a ddywaid fel hyn—

"Gwae offeiriad byd
Ni angreifftia gwyd,
Ni phregetha;
Ni warcheidw ei gail,
Ac ef yn fugail,
Nis areilia;
Ni ddifer ei ddefaid
Rhag bleiddiau Rhufeiniaid,
A'i ffon gloppa."

*Myrddin Wyllt* hefyd, gan gyfeirio at yr offeiriaid Pabaidd yn dra anmharchus, a ddywedai fel y canlyn mewn atebiad i *Gwenddydd*, ei chwaer, yr hon a geisiai ei berswadio i gymmeryd y cymmun o'u dwylaw—

"Ni chymmeraf gymmun
Gan ysgymmun fyneich,
Ac eu twygeu ar eu clun,—
A'm cymmuno, Duw ei hun."

Mae yn wir fod y galanastra a wnaed ar flaenoriaid ac athrawon yr eglwys Gymreig yn Mangor Iscoed, drwy anogaeth Awstin, wedi gwneyd y Pabyddion yn dra atgas yn ngolwg ein hen dadau; ond y mae genym seiliau da i farnu eu bod yn cael eu dylanwadu hefyd gan wir wrthwynebiad i ofergoelion y grefydd Babaidd. Cawn brawf o hyn mewn hen Frut y cyfeiriai yr Esgob Davies ato yn ei lythyr at Archesgob Parker:—"Yr oedd un hanesyn hynod yn y Brut," medd yr esgob, "yn dangos y modd, wedi i'r Saeson gael yr oruchafiaeth, y parhaodd rhyfel gwastadol rhwng y Brython (y rhai oeddynt drigolion y deyrnas y pryd hyny) a'r Saeson; y Brython yn Gristionogion, a'r Saeson yn Baganiaid. Yn ol fel y dygwyddai achlysuron, cynnadlent weithiau am heddwch, yna cydgyfarfyddent, ac ymgomient â'u gilydd, a bwytaent ac yfent gyda'u gilydd; ond wedi i'r Saeson, trwy foddion Awstin, ddyfod yn Gristionogion, o'r cyfryw fath ag y gwnaeth Awstin hwynt, ni wnai y Brython ar ol hyny na bwyta nac yfed gyda hwynt, na chyfarch gwell iddynt; o herwydd iddynt lygru gwir grefydd Crist âg ofergoelion, delwau, ac eilunaddoliaeth."

Cawn dystiolaeth arall i'r un perwyl, tua diwedd y seithfed ganrif, gan yr Abad Abdelm, yr hwn mewn llythyr a ysgrifenai efe at Geruntius, tywysog Cernyw, yn erfyn arno wneuthur ei oreu i ddwyn esgobion y Cymry, y rhai oeddynt yn ei dalaeth ef, i gydymffurfio â defodau eglwys Rhufain, a dystia fel hyn am eu casineb at Babyddiaeth:—"Y maent yn tybied eu hunain mor sanctaidd, fel na chyfeillachant â neb o honom ni. Ni unant â ni ychwaith mewn gweddiau; ac ni chymmunant â ni ar y bwrdd; ac mor ffiaidd ydym yn eu golwg, fel nad yfant o'r un cwpan a nyni, heb ei ysgwrio ef yn gyntaf." Dywed hefyd eu bod yn "gwrthod gwneuthur ymarferiad o eilliad St. Pedr, tywysog yr apostolion; a'u bod yn amddiffyn eu hunain trwy ddywedyd eu bod yn eillio eu penau yn ol defod eu tadau oeddynt yn ddynion enwog mewn gras."—Nad oeddent ychwaith yn "cadw y Pasg ar yr amser y cytunwyd arno gan Gymmanfa Nicæa, ac yn ol dull Eglwys Rhufain." Yn yr un llythyr, dygir tystiolaeth groyw o barth purdeb athrawiaeth eglwys y Cymry y pryd hyny;

"Nid gwiw," medd efe, "i weinidogion Cymru ymesgusodi, ac amddiffyn eu hunain trwy ddywedyd eu bod hwy yn parchu o'u calon holl orchymynion a rheolau yr Hen Destament a'r Newydd; a'u bod yn credu â'u holl galon fod y Duwdod yn hanfodi yn dri pherson, ac eto yn un Duw anfeidrol: a'u bod yn pregethu i'r bobl ddirgelwch cnawdoliaeth, marwolaeth, adgyfodiad, ac esgyniad Crist; a'u bod yn cyhoeddi gyda diwydrwydd, fod barn i ddyfod, pan y bydd i bawb gael eu pwyso yn y gloriau a derbyn yn ol eu gweithredoedd; a'u bod hwy yn gobeithio, trwy ffydd yn Nghrist, gael ymddangos yn mhlith ei ganlynwyr glân ef, ar ei ddeheulaw, mewn gogoniant."

Erbyn yr wythfed ganrif yr oedd y Saeson yn gyffredinol wedi eu henill i fod yn Babyddion selog; a'r Pab, gan gymmeryd achlysur ar hyn, a'u hanogai i daenu eu hegwyddorion cyfeiliornus trwy yr holl ynys, ac ymroddi i ddarostwng yr eglwys Gymreig trwy rym arfau, oni allent eu dwyn drwy ryw ffordd arall i gydymffurfiad: a'r canlyniad a fu i'r cyfnod hwn fod yn dymhor blin iawn ar Gristionogion Cymru; trwy fod eu gelynion yn gwneyd rhuthriadau mynych arnynt, ac ymrafaelion blinion yn tori allan rhwng eu tywysogion hwy eu hunain yn aml, fel nad oeddynt yn cael hamdden i gynnyddu mewn gwybodaeth, na meithrin yn eu mynwesau y grasusau a'r rhinweddau gogoneddus hyny, y rhai ydynt yn tueddu i nawseiddio tymherau ffyrnig y natur ddynol lygredig. Er hyny, nid oedd yr Arglwydd eto wedi eu llwyr adael: ond yr oedd yr athrofaau yn parhau i fwrw allan lawer o ddynion duwiol a dysgedig; ac er nad ydoedd ond ychydig o ychwanegiad at rifedi yr eglwysi, yr oedd y rhan fwyaf o'r rhai oedd wedi eu sefydlu yn y ddau cant diweddaf yn parhau yn iach yn y ffydd, ac yn ddifeius yn eu bucheddau. Ond cyn diwedd y cant hwn, eglwysi Cymru a gofleidiasant gyfeiliornadau Pabyddiaeth i raddau pell.

Yn y flwyddyn 720, rhuthrodd haid o'r Saeson i Ddeheubarth Cymru, a lladdasant Aidan, esgob Llandaf, a dinystriasant eglwysi Llandaf, Mynyw neu Dy Ddewi, a Llanbadarn; ond Cristionogion y gwledydd hyny a ymwrolasant, ac a adgyweiriasant eu haddoldai drachefn.

Tua'r flwyddyn 755, trosglwyddwyd Elfod, un o hiliogaeth Caw, yr hwn a fuasai yn esgob Caergybi, i esgobaeth Bangor, a chan ei fod ef yn fwy ffafrawl i eglwys Rhufain nag oedd esgobion Cymru yn gyffredinol y pryd hyny, efe a ordeiniodd fod y Pasg i gael ei gadw yn Ngwynedd o hyny allan, yn ol defod eglwys Rhufain: ac am na chydsyniai esgobion ereill Cymru a'r cyfnewidiad hwn, y Saeson a wnaethant gadgyrchiad drachefn i'r Deheubarth, a bu brwydr ofnadwy rhwng y ddwy genedl mewn lle a elwid Coed Marchan, lle y trodd y fuddugoliaeth yn drwyadl o du y Cymry, a hwy a ymlidiasant eu gelynion Pabaidd o'u terfynau.

Er hyny y Saeson Pabaidd yn parhau yn eu llid at y Cymry a'u crefydd, a barhaent i wneyd mynych ruthriadau i'w gwlad, gan faeddu a llofruddio eu gweinidogion, a distrywio eu haddoldai hyd y gallent. Tua'r flwyddyn 810, llosgasant Mynyw; yn 831, llosgasant Fonachlog Senghenydd; yn 860, torasant i lawr yr holl grefydd-dai yn Ngwent, Morganwg, Dyfed, a Cheredigion; 870, lladdasant esgob Bangor; yn 872, ar farwolaeth Einion, esgob Mynyw, gwthiasant Hubert, *Sais*, i'w le. Y Daeniaid hefyd, yn 893, a losgasant Lanilltud Fawr, Cynffig, a Llancarfan.

Ond er yr holl anrheithiadau hyn, y mae yn amlwg fod amryw ddysgedigion enwog yn mysg y Cymry tua'r amser yma; canys Alffred, brenin Lloegr, yn awyddus am feithrin gwybodaeth a dysg yn mysg ei ddeiliaid diddysg, a anfonai i Fynyw, am Aser, Ioan Menefensis, ac Ioan Erigena, i'w gynnorthwyo i sefydlu athrofa Rhydychain: a bu y triwyr hyn yn athrawon yn Rhydychain, sef Aser yn athraw Ieithyddiaeth ac Areith-

yddiaeth, Ioan Menefensis yn athraw Rhesymeg, Rhifyddeg, a Cherddoriaeth; ac Ioan Erigena yn Athraw y Celfyddydau.

Y brenin crybwylledig, Alffred, a ranodd Loegr yn siroedd, ac allan o gyfreithiau Dyfnwal Moelmud, y rhai a gyfieithiasid gan Gildas o r Gymraeg i'r Lladin, efe a gyfansoddodd gorph o gyfreithiau addas i angenrheidiau ei ddeiliaid.

Yn y ddegfed ganrif, anrheithiwyd eglwysi a chrefydd-dai Cymru yn fawr gan y Saeson a'r Daeniaid, am na chydymffurfient âg eglwys Rhufain. Yn y flwyddyn 906, difrodwyd Mynyw; yn 944, lladdwyd Lambert, esgob Mynyw, gan y Saeson; yn 961, gwenwynwyd Rhodri ab Morgan, o herwydd iddo gael ei wneuthur yn esgob Llandaf o anfodd y Pab. Yr un flwyddyn gwnaeth y Pab brawf ar ufudd-dod y Gweinidogion Cymreig i'w awdurdod a'i lywodraeth ef, drwy orchymyn iddynt beidio a phriodi: ond cafodd wybod yn fuan eu bod yn deall eu dyledswyddau, ac yn gwerthfawrogi breintiau eu heglwys yn rhy dda, i ofalu am gyflawni ei orchymyn ef. Wedi hyny yn y flwyddyn 978, anrheithiodd y Saeson y crefydd-dai yn Lleyn, a Chlynog Fawr yn Arfon. Yn 980, anrheithiwyd eglwys Mynyw, gan y Daeniaid. Yn 986, llosgodd y Daeniaid Gor Cenydd, yn nghyda llawer o grefydd-dai ereill; a'r flwyddyn ganlynol, distrywiasant Lanbadarn, Llandydoch, a Llanrhystyd; a diffeithiasant eglwys Mynyw drachefn, gan ddwyn ei thlysau o honi: ac wedi hyny, Cor Illtyd, Cor Cattwg, Cor Cynghar, Llandaf, ac amryw ereill o'r crefydd-dai goreu yn y wlad. Yn 991, diffeithiwyd Mynyw gan y Saeson; yn 996, y Daeniaid a losgasant Fynyw, ac a laddasant Forgeneu, yr esgob.

Rhwng y difrod parhaus oedd ar yr athrofaau a'r crefydd-dai, yn nghyd ag anwybodaeth a thrachwant llawer o'r esgobion, yr oedd achos crefydd yn isel iawn yn mhlith ein henafiaid yn nechreuad y cant hwn. Yr esgobion, i'r dyben o gyfoethogi eu hesgobaethau, a ysgymunent arglwyddi a phendefigion Cymru am y drygau lleiaf; ac nid adferent hwy i heddwch yr eglwys, heb gael llawer o'u tiroedd a'u meddiannau fel iawn am y trosedd. Yr oedd esgobion Llandaf yn nodedig am yr ymddygiad pabaidd a thra arglwyddaidd yma, a thrwy hyny cynnyddodd yr esgobaeth hono i faintioli a chyfoeth mawr. Pan ddinystrid yr athrofaau gan ryfelwyr anfoesgar yr oes, yr oedd y llyfrau yn cael eu llosgi, a'r athrawon yn nghyd a'u dysgyblion yn cael eu hymlid ymaith, neu eu gosod i farwolaeth; a thrwy hyny yr oedd anwybodaeth ac annhrefn yn cynnyddu; ac felly yr oedd egwyddorion eglwys Rhufain yn parhau i lefeinio Cristionogion Cymru hyd yn nod pan oeddynt hwy yn tybied eu bod yn eu gwrthsefyll yn bybyr; oblegyd tra yr oeddynt yn gwrthsefyll honiad y Pab o arglwyddiaeth ar yr eglwysi yn Nghymru, yr oeddynt yn ymlithro bron yn ddiarwybod i lawer o'r unrhyw gyfeiliornadau a'r Pabyddion. Mae yn wir mai Ioan Erigena, Cymro o Athrofa Mynyw, ydoedd un o'r rhai cyntaf a ysgrifenodd yn erbyn yr athrawiaeth babaidd o draws-sylweddiad, ac y mae Mosheim yn ei gyfrif yr egluraf a'r galluocaf o wrthwynebwyr y cyfeiliornad hwnw; ac nid yw yn annhebyg fod y Pabyddion eu hunain yn teimlo oddiwrth y cyfansoddiad hwn; canys yn Nghymmanfa Vercelli, yr hon a gynnelid yn y flwyddyn 1150, fe ddyfernid y llyfr dywededig ganddynt, fel yn cynnwys gau athrawiaeth. Er hyny, yr oedd Pabyddiaeth wedi cynnyddu cymmaint yn Nghymru, erbyn yr unfed ganrif ar ddeg, fel y cyfrifid taith o bererindod i Rufain yn iawn digonol am lawer o bechodau. Dywedir i un Caradawg, tua chanol y ganrif hon, pan oedd Herwallt, pabydd trwyadl, yn esgob Llandaf, fel arwydd o'i edifeirwch, a chyda bwriad i wneyd iawn am ei bechodau, fyned ar bererindod i Rufain,

ac addaw treulio saith mlynedd o benyd, a rhoddi tir i esgobaeth Llandaf. Ac offeiriaid Cymru a ddysgent y werin i barchu Dewi a'i goffadwriaeth, fel yr oedd parch mawr yn ffynu yn mysg eu cenedl i eglwys Mynyw, neu Dy Ddewi; a chyfrifent fod cymmaint o haeddiant yn y weithred o fyned i ymweled â Thy Ddewi ddwywaith, a myned i ymweled â Rhufain unwaith · ac yn y canlyniad i'r grediniaeth goelgrefyddol yma, yr oedd pererinion o amrywiol leoedd yn cyrchu i ymweled â Thy Ddewi: a phan oedd Sulien yn esgob Ty Ddewi yr ail waith, sef tua'r flwyddyn 1080, William y Gorchfygwr, Duc Normandi, wedi clywed am sancteiddrwydd y lle, a chredu fod llawer o rinwedd a haeddiant yn y weithred o ymweled â'r eglwys gadeiriol, lle y buasai Dewi yn gweinidogaethu, a aeth ar daith o bererindod i ymweled â Thy Ddewi: a phan oedd efe ar y daith hon efe a roddodd lawer o roddion i eglwysi, esgobion, ac offeiriaid Cymru, ac i'r mynachlogydd.

Yn amser Harri y cyntaf y collodd yr archesgobaeth mewn gweithred, cystal ag mewn enw, o Dy Ddewi; ac o'r pryd hyny allan, daeth holl esgobaethau Cymru yn ddarostyngedig i Archesgob Caergaint.* Ac yn y teyrnasiad nesaf, aeth Baldwin, archesgob Caergaint trwy Gymru, ar y neges broffesedig o bregethu rhyfel y groes; ond mewn gwirionedd, fel y gallai, drwy ddarllen y gwasanaeth yn eglwysi cadeiriol Cymru, gadarnhau awdurdod Caergaint drostynt oll: ond y mae yn ymddangos nad oedd yr archesgob yn dra diofn yn cyflawni y gwasanaeth hwn, a thebygid fod amryw o'r Cymry yn gweled ei ddichell trwy ei hug, ac yn amlygu cryn radd o anfoddlonrwydd iddo; canys yn y bore, gyda'r wawr, y darllenodd efe y gwasanaeth yn eglwys Llandaf; ac er fod gwell, a llai o ffordd i Abergwaun o Goed Gronwy, efe a gymmerodd y ffordd hwyaf, a mwyaf anhawdd ei theithio, a hyny yn ol pob tebyg, er gochel perygl. Dywedir hefyd iddo ddarllen y gwasanaeth yn eglwys Mynyw, neu Dŷ Ddewi, ac ymadael oddiyno cyn goleuo y dydd; ac nis gallwn gael un rheswm am yr ymddygiad hwn, ond yn unig ei fod mewn ofn am ei fywyd. Yn Mangor, darllenodd y gwasanaeth, a gorfododd yr esgob i gymmeryd rhan yn rhyfel y groes: ond yn ei holl daith trwy Gymru, er iddo gael wyneb y tywysogion oll, oddieithr Owain Gyfeiliog, ac er ei fod yn addaw gwobrwyon mawrion mewn byd arall am ufudd-dod i'w gais, ac yn bygwth penydiau ofnadwy am anufudd-dod, a'i fod yn cael ei gefnogi gan rai o urddasolion penaf yr eglwys Gymreig, ni lwyddodd i gael nemawr fwy na *thair mil* o wŷr i ymgymmeryd â rhyfel y groes: yr hyn a brofai nad oedd rhyw danbeidrwydd mawr yn y Cymry i ymgymmeryd â'i genadwriaeth.

Ond er fod llawer o gyfeiliornadau Pabyddiaeth wedi ymlusgo i mewn i eglwysi Cymru, trwy fod Pabyddion wedi ymwthio i'r swyddau uchaf ynddynt, a bod anwybodaeth a choelgrefydd wedi cymmeryd meddiant trwyadl o'r werin yn nghyfnod terfysglyd yr oesoedd canol, y mae yn deilwng o sylw fod aml un o'r beirdd a'r dysgedigion Cymreig trwy yr holl oesoedd, yn cadw i fyny dystiolaeth led glir i wirioneddau pwysicaf yr efengyl; a hyny, efallai, i fesur helaethach nag y gallesid canfod yn mysg odid i genedl Ewropaidd arall, fel y dengys y dyfyniadau canlynol allan o lawer ereill a allesid eu chwanegu.—Padrig Maenwyn a anwyd yn Aberllychwr, tua'r flwyddyn 400; dewiswyd ef yn llywydd ar Gor Illtud, ar gyfrif ei dduwioldeb a'i dalentau. Oddiyno efe a gaethgludwyd i'r Werddon, lle y llafuriodd yn helaeth, ac y trodd lawer i'r ffydd Gristionogol, o herwydd yr hyn y'i galwyd ef yn Apostol y Gwyddelod.

* Hanes Crefydd yn Nghymru, t. d. 272, 273.

Myn y Pabyddion ei fod ef yn credu athrawiaeth y Purdan; ond dengys traethawd o'i waith, nad oedd efe yn dychymygu am un lle arall o'r tu draw i'r bedd, heblaw nef ac uffern; canys fel hyn y dywaid efe:—"Y mae tair trigfan dan allu Duw Hollalluog; y gyntaf, yr isaf, a'r ganol. Yr uchaf o ba rai a elwir *Teyrnas Dduw*, neu *Deyrnas Nefoedd;* yr isaf a elwir *Uffern;* a'r ganol a elwir y *Byd presenol*, neu y *Bellen Ddaearol*. Y mae yr eithafion hyn yn llwyr groes i'w gilydd, heb eu huno âg unrhyw gymdeithas; canys pa gymmundeb a ddichon fod rhwng *goleuni a thywyllwch*, a pha gyssondeb rhwng *Crist a Belial*? Eithr y mae rhyw gyffelybrwydd rhwng y *ganol* a'r *eithafion;* oblegyd y mae cymmysgedd o ddrwg a da yn y byd hwn. Ond yn nheyrnas Dduw nid oes neb drwg, eithr pawb yn dda; ac yn uffern nid oes neb yn dda, eithr pawb yn ddrwg. A'r ddau le hyn a ddiwellir o'r canol; canys o ddynion y byd hwn y cymmerir rhai i fynu i'r nef, ac ereill a lusgir i uffern: ac felly, unir cyffelyb â chyffelyb—hyny yw, y rhai da â'r rhai da, a'r rhai drwg â'r drwg: dynion dynion cyfiawn âg angelion cyfiawn, a dynion drygionus âg angelion drygionus; gweision Duw â Duw, a gweision diafol â'r diafol. Gwahoddir y rhai bendigedig i'r deyrnas a barotowyd iddynt er seiliad y byd; a gyrir y rhai melldigedig i'r tân tragywyddol a barotowyd i ddiafol ac i'w angelion."

Cyffelyb hefyd oedd syniad Taliesin pan ddywaid—

"Peryf nef a beris pob da:
A beris present i blant Adda;
A beris *Paradwys* yn gynnwys i'r sawl fo da,
Ac *Uffern* i'r rhai drwg er eu difa."

Yr hen Gatwg ddoeth, Athraw ysgol Llangarfan, wrth ddarlunio ei *gas-bethau*, a nodai a ganlyn yn eu mysg:—

"Esgob heb ddysgeidiaeth;
Cenedyl heb wybodau;
Plwyf heb addysg;
Mab heb ddysg;
Ysgolhaig heb lyfrau."

Pa le yma y mae syniad cyffredin eglwys Rhufain, mai "Mamaeth duwioldeb yw anwybodaeth?" Y dywededig athraw a dystia yn mhellach—

"Heb athraw, heb ddysg:
Heb ddysg, heb wybodau;
Heb wybodau, heb ddoethineb;
Heb ddoethineb, heb ddwyfoldeb;
Heb ddwyfoldeb, heb Dduw;
Heb Dduw, heb ddim."

Ac yn mhen rhai cannoedd o flyneddoedd wedi hyn, nyni a ganfyddwn nad oedd y Cymry wedi cyfnewid dim ar eu barn yn nghylch y peth hwn: canys fel hyn y dywedent:—"Tri harddwch gwlad, Ysgubawr, eglwys, ac *ysgol*."

"Tri pheth gwaradwyddus mewn gwlad; Bardd heb urddas, *Llandref* heb *ysgol*, a chenedl heb gywilydd."

Dywed eglwys Rhufain y dichon dyn wneuthur ychwaneg o ddaioni nag a ofynir ganddo, a bod y gweithredoedd gorhaeddiannol hyny yn myned i wneuthur i fynu ddiffyg rhai ereill; ond daliai y Cymry syniad llawer mwy cysson â gair Duw, "Gwedi i chwi wneuthur y cwbl oll ar a

orchymynwyd i chwi, dywedwch, Gweision anfuddiol ydym." Canys fel hyn y dywedent—"Tri pheth y dylai dyn fod bob amser yn ddiymatal yn eu gwneuthur; gweithredoedd daionus, dysgu gwybodau, a darostwng ei wyniau; canys er maint a wnelo efe o'r pethau hyn, *ni wna efe byth ei ddigon, ac a ddylai.*"

Am gyfryngaeth Crist, dywaid Gruffudd ab Ieuan ab Llewelyn Fychan fel y canlyn:—

"Ni all angel penfelyn,
Na llu o saint, un lles in';
Na dyn byw wedi'i eni,
I'r nef a'n swcra ni;
Na neb, ond Un a'i aberth,
A roes i ni ras a nerth."

A chyda golwg ar Swper yr Arglwydd, dywed yr un bardd, yr hwn oedd yn ei flodau rhwng y flwyddyn 1470 a'r flwyddyn 1520, fel y canlyn—

"Cof nefol o'i farwolaeth
Y nos cyn ei ddyoddef wnaeth;
A'i ddeddfol apostolion,
A garai fry, ger ei fron.
Bara bendigaid buriad
Gym'rai—diolchai i'w dad:
D'wedai'n brudd, a'i roi iddyn'
I'w fwyta—bara i bob un:
'*A hwn yn fara i'w henwi,*
*O wir ffydd, yw fy nghorph i.*'
Ac eilwaith, y gŵr gwiwlan
A roddai draw, â'i law lân,
Iddyn' hwy ruddwin hefyd—
'*Cym'rwch ac yfwch i gyd;*
Am hwn win, yn mhoen iawn-waed,
D'ai angau im', ydyw 'ngwaed,
Yr hwn ollyngir yn rhaff,
Gwers oerbrudd, ar groes hirbraff,
Er maddeu oll i'r hollfyd
Bechodau a beiau'r byd.
Bob amser pan gymmerir
Y *bara* a'r *gwin*, burair gwir,
Ei gur a'i farwolaeth dan go'
A ddaliwch oni ddelo;
Gwnewch chwithau'n ol fy nolur,
Hyn yma i'm coffa o'm cur.'"

Tua chan' mlynedd cyn i Luther ddechreu lluchiaw ei belenau tanllyd yn erbyn eglwys Rhufain, yr oedd Sion Cent yn protestio mor gadarn yn erbyn llygredigaethau Pabyddiaeth, ag y gwnaeth yr un o Ddiwygwyr y cyfandir wedi hyny: ac er ei fod mewn urddau eglwysig, ni alwyd mo honaw i gyfrif; oddiwrth yr hyn y gellir casglu bod ar urddasolion llygredig yr eglwys ofn y bobl; gan fod y lluaws yn cyfrif yr Ioan hwn megys prophwyd. Dyma y modd y dywaid efe am iawn Crist:—

"Nid oes nerth ar a berthyn,
Onid Duw, i enaid dyn.
Iesu wrth gyfraith Moesen,
Awr brid, *a'n prynodd ar bren.*"

Ac yn lle dywedyd y gallai dyn gael ei wared o'r purdan drwy roddi arian i'r offeiriaid am weddio dros ei enaid ar ol marw, dywed fel hyn—

"Am y trosedd a wneddyw,
A'r camoedd, tra f'oedd yn fyw,
*Rhyhwyr* fydd yn y dydd du,
Od wyf ŵr, i 'difaru."

Yn y llinellau canlynol dynoetha yr afresymoldeb o dybied y gall yr offeiriaid Pabaidd, er arian, leshau dim ar enaid dyn; ac ar yr un pryd, nid erbyd eu moesau anfad yn y dyddiau hyny:—

"Dig yw'r gwŷr llen a'r menaich,
Dygn fyth, dwyn digon o faich.
Truth noeth, traethu a wnaethost,
Na chant hwy, gwn achwyn tost,
Groen du ffol, graen yw dy ffed,
Gaerydd nef yn agored!
Meddir, o bydd cywir cant,
I minau, hwy a'i mynant;
Arian glew, ar a glywais,
Orddwy drud, ar Dduw a drais.
Pob un, heb na llun na lles,
Ofer iawn, â'i feiriones.
Ei weddi, miloedd wiwdda,
I wlad nef, medd ef, ydd â.
Minau, o'm dysg a'm hanian,
A thrwy liw'r Ysgrythyr lân,
Mi a gaf, gwiraf gwarant,
O'i gwrs ef y goreu sant,
Na lewas gwiwras gwerin
Dewi ar ei weddi win;
Na gwisgaw crys gwiw ysgawn,
Na phais ond yr unbais rawn;
Na llanw, yn ddi salw ei sain,
Y pot, na rhuthro putain.
Gwn gyfraith euriaith arab
Y Tad, eiriau mad, a'r Mab,
I nifer hwy nef ar hynt,
Am ei gael ymogelynt!
Astud wyf, ystod ofwy,
Ystyru twyll, ystyriant hwy,
Nad o wleddau gau gymen
Ydd eir i nef, ddioer nen!
Rhyfalch ydynt yn rhwyfaw,
Rhyfyg, Duw yn ddig a ddaw;
Pan ddel dydd barn arnam,
A chosb dros bechod a cham,
Am yr hawl a'r mawr hwyliaw,
Y farn ddig ar frys a ddaw.
Pob plaid dyfynir, pob blin,
Gar ei fron, y gwir Frenin;
Ni ddichon brawd, ŵr tlawdgall,
Na'r llaw ymddiried i'r llall;
Er pwyth byd, er peth bydawl,
Er da ydd â'r dyn i ddiawl!
  Profais i megys prif-fardd,
Pawb o'r byd, ŵr hyfryd hardd;
Profais yn rhwydd arglwyddi,
Tlawd, cyfoethawg, rhywiawg rhi:
Nid cywir gradd o naddyn'—
Nid oes iawn gyfaill, ond Un!
Er neb ni thores Iesu
Ei lân gyfeillach â'i lu."

Gŵr boneddig mawr o gymmydogaeth Llanelwy, sef *Gruffudd ab Ieuan ab Llewelyn Fychan o Lannerch*, yr hwn oedd un o brif lywyddion yr Eisteddfod Fawr a gynnelid yn Nghaerwys yn y flwyddyn 1513, a gyfodai ei lef yn eofn yn erbyn cyfeiliornadau Pabyddiaeth, rai blyneddoedd cyn i Luther gael ei oleuo am y gwirionedd, gan ddywedyd—

"Pa da fai y byd a fu?
Bai oedd heb ei wybyddu.
Byw yn ddall o'r ffydd allan:
Bai mawr, heblaw beiau mân!
Beth a dâl i'r diofala,
Bod yn ddal, a'r byd yn dda?
*Nid yn ddallffol heb olwg,*
*Ond yn ddall drwy ddeall drwg.*
Dyma'r dallder arferwyd,
*Delwau* oedd well na *Duw lwyd.*
Esg'luso Duw byw o'n bodd,
Mawrhau diawl, mawr hudolodd,
A rhoi addoliant ar ddeulin,
A ddylai Grist, i *ddelw grin.*
Ffinio Gwenfrewi ffynnon—
*Ffiaidd a hyll* yw'r ffydd hon.
Eilian a offrymid eilwaith,
Ar grog o gaer—gorwag waith!
Felly, mewn blin grediniaeth,
Yr huded cun ofid caeth!
Gwelwn, cymmerwn g'wilydd,
Mor ffol yr aethom o'r ffydd.
Ffydd dduwiol apostolion,
Hoffai Dduw hael y ffydd hon.
*Trown ninau* i gyd, byd bedydd,
O ran a pharch *i'r un ffydd;*
A rhown heibio, tro trymddig,
*Ganwyllau a delwau dig,*
*A'r turs cwyr, a'r llaswyrau,*
*A'r gleiniau* o brenau brau.
Cadwn ddefosiwn heb ddig,
Gyda'r gŵr bendigedig.
Gwnaethom ormod pechodau—
Galwn help Duw i'n glanhau.
Ni all angel penfelyn,
Na llu o saint, un lles in':
Na dyn byw wedi'i eni
I'r nef a'n swcra ni;
Na neb, ond Un a'i aberth,
A roes i ni ras a nerth."

Nid ychwanegaf; canys yr wyf yn barnu y digona y dyfyniadau uchod i brofi nad oedd Cymru yn y nos dywyllaf a fu arni dan ormes Pabyddiaeth, heb ambell i seren yn rhagddangos dyneshad dydd y Diwygiad Protestanaidd; am yr hyn y mae yn ddyledus i ni gydnabod Duw yn ddiolchgar.

# DARLITH VII.

## HELYNTION GWLADOL Y CYMRY DAN EU TYWYSOGION.

---

Yn y Bummed Ddarlith ymdrechais olrhain hanes ein cenedl, o ran ei helyntion gwladol, hyd at amser Cadwaladr, a gyfenwir gan haneswyr yn gyffredin, "Cadwaladr Fendigaid;" ac yn awr yr ydwyf yn cael arfod naturiol i ddwyn i fewn, yn nghwrs y Darlithoedd hyn, eu helynt wladol dros y cyfnod a elwir "*Oes y Tywysogion Cymreig.*"

Y cyntaf ar restr y tywysogion Cymreig yn gyffredin ydyw *Ifor* mab *Alan*, frenin Llydaw. Yr oedd Alan yn gefnder i Gadwaladr, ac i'w lys ef yr enciliasai yr hen frenin Cymreig, yn nghyda'i deulu, pan oedd y pla ofnadwy yn anrheithio Cymru. Wedi i'r pla ddechreu lliniaru, pan oedd y genedl yn ei gwendid wedi y fath ymweliad, a'i brenin a'i phendefigion yn ffoaduriaid i wledydd tramor, tybiai y Saeson eu bod yn gweled cyfle manteisiol i drawsfeddiannu y wlad, yr hyn a wnaethant hefyd i raddau helaeth. Pan ddeallai Cadwaladr hyny, teimlai awydd cryf i ddyfod drosodd i waredu ei wlad rhag trais estroniaid; ac i'r pwrpas hyny, atolygai ar ei gâr Alan ei gynnorthwyo â milwyr ac â llongau, yr hwn a gydsyniai â'i gais, gan ddechreu gwneyd darpariadau mawrion tuag at hyny. Eithr yn y cyfamser, *angel* a ymddangosodd i Gadwaladr, ac a warafunodd iddo fyned yn mlaen yn ei amcan, gan nad oedd yn ganiataol i'r Brython deyrnasu yn hwy yn yr ynys, hyd oni ddelai yr amser a ddaroganasai Myrddin ger bron Uthr a cher bron Arthur. Gorchymynodd hefyd iddo fyned i Rufain, at y Pab *Sergius*, lle, wedi dwyn ei benyd, y caffai ei gofresu yn mhlith y seintiau. Y mae lle cryf i feddwl fod Cadwaladr o dymher a thuedd dra ofergoelus, ac efallai ei fod wedi myned yn fwy felly mewn canlyniad i'w ffoedigaeth o'i wlad rhag yr haint. Ar y llaw arall, yr ydwyf yn casglu am Alan ei fod yn ŵr o alluoedd meddwl cryfion; canys fe'n hysbysir ddarfod i Gadwaladr, wedi cael y weledigaeth uchod, fyned at Alan yn ddioed i'w mynegi, ac i ymgynghori âg ef; a bod hwnw yn y fan yn myned i chwilio mewn amryw lyfrau, megys prophwydoliaeth yr eryr, a brophwydodd yn Nghaer Septon, a chathlau y Sibylla, a daroganau Myrddin, i weled a oedd y datganiad i Gadwaladr yn cytuno â'r daroganau hyny; ac yn y diwedd, efe a'i cynghorodd i gyflawni gorchymyn yr angel.

Yn hyn oll, myfi a debygaf fy mod yn canfod dichell Alan; yr hwn ag efe yn gydnabyddus â daroganau Myrddin, ac yn gwybod y dylanwad a feddent ar feddyliau y lluaws o'n cenedl; ac yn adnabyddus hefyd o wendid meddwl Cadwaladr, a barodd i ryw un ymddangos iddo, a llafaru wrtho yn rhith angel; ac felly, wedi cael ei amcan drwy symud rhwystrau o'i ffordd, efe a anfonodd lynges gref, dan lywyddiad ei ddau fab ei hun, *Ifor* ac *Ynyr*, i adfeddiannu y tiriogaethau Cymreig oddiar y Saeson: hwy a laniasant yn Nghernyw, lle yr oedd gan y Saeson fyddin fawr wedi ei chynnull yn nghyd i'w gwrthladd, a brwydr waedlyd a gymmerth le

rhyngddynt yn fuan; ond y Saeson a drechwyd, a'r Llydawiaid a'r Cymry a feddiannasant y cyfan o Gernyw, Dyfneint, a Gwlad yr Haf. Centwin, brenin Wessex, a frawychai wrth weled y Cymry yn gwasgu cymmaint ar ei ffiniau, ac efe a gynnullodd lu dirfawr o'r Sacsoniaid a'r Eingyl, yn erbyn Ifor a'i bobl; ond cyn dechreu ymladd, cymmodi a wnaethant, a chytuno i Ifor gymmeryd Ethelburza, cyfnither Centwin, yn wraig, a chael o hono yntau fwynhau y tiriogaethau a enillasai, mewn heddwch, tra fyddai fyw. Felly Ifor a deyrnasodd ar Gymru tua deng mlynedd ar hugain; ac wedi hyny efe a aeth i Rufain, gan adael y deyrnas i'w gwir etifedd, *Rhodri Molwynog*, mab Idwal Iwrch, ac ŵyr Cadwaladr.

Dechreuai Rhodri ei deyrnasiad tua'r flwyddyn 720; ac yn fuan wedi iddo ddechreu teyrnasu, cyfodai Adelred, brenin Wessex, fyddin fawr, a chan anrheithio Dyfnaint, aeth rhagddo i Gernyw, lle y'i cyfarfuwyd gan Rodri a'i fyddin, ac efe a faeddwyd gan y Cymry, mewn brwydr dost. Y flwyddyn ganlynol enillodd y Cymry ddwy fuddugoliaeth arall ar y Saeson—un yn Ngogledd Cymru, mewn lle a elwir *Garth Maelawg*, a'r llall mewn lle a elwir Pencoed, yn y Deheudir. Yn y flwyddyn 728, amcanai Ethelbald, brenin y Mers, enill y rhandir fras a orweddai rhwng Hafren a Gwy, a'i chyssylltu â'i freniniaeth; ac i'r perwyl hyny, cynnullai lu mawr, a daeth i Gymru; ond y Cymry a'i cyfarfuent ar fynydd *Carno*, gerllaw *Crughywel*, lle y bu brwydr waedlyd, ac y buddugoliaethodd y Cymry, wedi colli llawer o'u gwŷr, gan yru y Saeson o'u blaen drwy yr afon Wysg, lle y boddodd llawer o honynt wrth ffoi, gan fod y llifeiriant yn gryf yn yr afon. Ond yn mhen pum' mlynedd ar ol hyn, ymunai Ethelbald, brenin y Mers, âg Adelard, brenin Wessex, ac wedi brwydr galed, a lladdfa fawr o bobtu, enillasant fuddugoliaeth waedlyd ar y Cymry. Fel hyn y dywaid y Brut am y tro hwn:—"Oed Crist 733, bu *Cad Ddefawdan*, lle gwedi ymladd hir a thra chreulon y gorfu y Saeson ar y Brytaniaid." Yn mhen dwy flynedd wedi hyny, sef yn 735, "y bu *Waith Henffordd*, lle gwedi ymladd tost a chreulawn, y gorfu'r Cymry ar y Saeson."

Brwydrau didor a fu rhwng y Cymry a'r Saeson yn oes Rhodri, yr hwn oedd yn dywysog dewr a chlodforus; ac er na allodd lwyddo i adenill y tiriogaethau a gollasai y Cymry cyn ei amser ef, efe a amddiffynai y tiriogaethau a ddaethai i'w feddiant yn dra phybyr, yn erbyn eu holl ruthrau a'u dichellion; ac wedi teyrnasu oddeutu deng mlynedd ar hugain, efe a fu farw—yn y flwyddyn 750, medd rhai, neu y flwyddyn 755 yn ol ereill o'r hen haneswyr; a'i fab *Cynan*, a gyfenwir *Tindaethwy*, a ddaeth i'r llywodraeth ar ei ol ef; ac ni chafodd yntau hir seibiant, canys yn y flwyddyn 755, torodd amrafael rhwng y Cymry a'r Saeson, o herwydd na chydffurfiai y Cymry âg Eglwys Rhufain, ac felly â'r Saeson, am gadwraeth y Pasg. Y gwahaniaeth oedd hyn:—Mewn cynghorfa gyffredinol a gynnelid yn Nicea, trefnasai Eglwys Rhufain fod y Sul cyntaf wedi y 14 dydd o'r lloer i fod yn Basg, fel y disgynai y Pasg yn wastad ar y 15, 16, 17, 18, 19, 20, neu 21 o'r lleuad, ac na ddisgynai byth ar y 14, na byth wedi yr 21. A'r Cymry a arferent gadw y Pasg ar y 14 o'r lleuad, neu un o'r chwe' diwrnod dilynol i hyny, hyd yr 20fed, fel y disgynai; a'r canlyniad oedd, y byddai Sul y Pasg gyda'r Cymry yn Sul y Palmwydd gyda'r Saeson weithiau; yr oedd hyn yn peri dadleuon diddiwedd rhyngddynt. Ar yr achlysur hwn yr ymladdwyd y frwydr a elwir *Cad Coed Marchan*, a'r Cymry a gawsant fuddugoliaeth anrhydeddus ar y Saeson yno. O gylch yr un amser yr ymladdwyd brwydr arall gerllaw Henffordd, lle y gorfu y Cymry ar y Saeson, ac yn hono y lladdwyd *Cyfelach*, esgob

Morganwg. Ac eto, yn y flwyddyn 757, y bu drydedd brwydr Henffordd, lle yr enillodd y Cymry fuddugoliaeth drachefn; ond *Dyfnwal ab Tewdwr*, y rhyfelwr glewaf o du y Cymry, a laddwyd, wedi iddo wneuthur gorchestion digyffelyb yn y gad hono.

Mae rhai yn haeru fod y rhan fwyaf os nad y cyfan o swydd Henffordd yn meddiant y Cymry y pryd hyn; ac os felly, y mae yn amlwg mai y Saeson oeddynt yr ymosodwyr yn y brwydrau hyn, ac na wnelai y Cymry ond amddiffyn eu gwlad: ond wedi cael blas ar guro y Saeson yn ol yn y brwydrau amddiffynol hyn, nyni a gawn eu bod hwythau yn fuan wedi hyn yn ymosod yn fynych ar diroedd Lloegr; ac o'r diwedd, daeth y cyfryw ymosodiadau mynych o eiddo y Cymry mor flin i'r Saeson, fel ag y darfu i Offa, yr hwn yn y flwyddyn 763 a wnelsid yn frenin ar y *Mers*, ymroddi i wneuthur clawdd mawr rhwng Cymru a Lloegr, er cyffiniad, am yr hyn y mae y Brut yn crybwyll fel y canlyn:—"Oed Crist 765, y diffeithiwyd tiroedd y *Mers* gan y Cymry, ac y gorfuant ar y Saeson, gan eu hyspeilio yn ddirfawr: o achaws hyny y gwnaeth Offa, brenin y *Mers*, y clawdd mawr a elwir "Clawdd Offa," yn derfynfa rhwng gwlad Cymru a'r Mers, fal y mae fyth yn parhau."

Ar y pryd hwn hefyd y symudwyd prif sedd breninoedd Powys, o *Bengwern*, gerllaw yr Amwythig, i *Mathrafal*, yn swydd Drefaldwyn. Os felly y bu, y mae yn ymddangos fod hen lys Pengwern wedi ei adgyweirio ar ol ei anrheithiad pan laddwyd Cynddylan yno, fel y crybwyllem yn y bummed Ddarlith.

Ond er i Offa, drwy gynghreiriad y breninoedd Seisnig ereill, lwyddo i drawsfeddiannu y tiroedd isel a orweddent rhwng Gwy a Hafren, a chodi y clawdd yma er amddiffyniad i'w deyrnas rhag rhuthrau y Cymry, ni bu yr un flwyddyn yn sefyll cyn i'r Cymry dori drwyddo, ac anrheithio y wlad.

"Oed Crist 776, y codes gwŷr Gwent a Morganwg, ac a aethant am ben y Mers, ac y torasant Glawdd Offa yn gydwastad â'r llawr, ac wedi hyny dychwelyd âg yspail fawr." A thrachefn, dywedir—

"Oed Crist 784, y diffeithiwyd y Mers gan y Cymry, ac Offa a wnaeth glawdd yr ail waith, yn nes attaw, a gadael lle gwlad rhwng Gwy a Hafren, lle mae llwyth Elystan Glodrydd, lle ydd aethant yn un o bum' breninllwyth Cymru."

Yr ail glawdd hwn, fel y tybir, a elwir yn *Watt's Dyke*, ond am ba reswm nis gwn, ac nis gwelais neb yn gallu dyfalu. Mae clawdd Offa yn dechreu wrth y Maes Glas, ar lan Dyfrdwy, gerllaw Treffynon, yn swydd Callestr, ac oddiyno yn cyfeirio tua'r dehau, gan gadw agos i ddwy filldir i'r dwyrain o'r Wyddgrug, ychydig i'r gorllewin o Gaergwrle, Gwrecsam, Rhiwabon, y Waun, a Chroesoswallt, ac yn mlaen at Hafren, uwchlaw Llandrinio; a chan ddechreu drachefn wrth Talybont (*Buttington*,) cerdda ychydig i'r dwyrain i Drefaldwyn, a Chlunwy, trwy Dref-y-clawdd (*Knighton*,) ac i'r gorllewin i Lanandras (*Presteign*,) ac oddiyno at yr afon Wy, yn swydd Henffordd, ychydig islaw y Gelli; ac oddiyno y mae yn cyfeirio tua swydd Gaerloyw, lle y gwelir ei olion yn dra amlwg gerllaw Câs Gwent, neu *Chepstow*.

Y clawdd arall sydd yn cadw yn yr un cyfeiryd, ond ychydig yn nes i'r dwyrain ar hyd y ffordd.

Ond er y cloddiau hyn, ei flino yn ddirfawr a gaffai Offa yn barhaus gan y tywysogion Cymreig; ac o'r diwedd, wedi ymgynddeiriogi gan eu cadruthrau parhaus, efe a gynnullodd ei holl ymadferthoedd, i wneuthur cadruthr dinystriol arnynt; ac ar Forfa Rhuddlan y cyfarfu y byddinoedd, ac ymladd caled a fu rhyngddynt; ac yn y frwydr hono lladdwyd *Carad-*

*awg*, brenin Gwynedd, a *Meredydd*, brenin Dyfed. Haerir mai ar yr achlysur yma y cyfansoddid yr hen dôn Gymreig a elwir "Morfa Rhuddlan."*

Yn y flwyddyn wyth gant, medd y *Brut*, y bu y frwydr anffodus yma, ac yn fuan wedi hyny y bu farw Offa. Pa beth a ddeuai o Cynan Tindaethwy, yr hwn a gyfenwid yn frenin Cymru oll, yn yr adeg yma nid yw amlwg, canys ni chawn air o son am dano ef yn y mynegiadau am yr ymrysonau parhaus rhwng y Cymry a Saeson yr ymylon. Prin y gallaf feddwl ei fod ei hun, na neb yn ei oes ef, yn bwrw hawl i bennaduriaeth Cymru oll; ond bod yr anrhydedd hwnw yn cael ei roddi iddo gan haneswyr diweddarach, o herwydd ei darddiad o waedoliaeth Cadwaladr, ac hefyd am ddarfod i rai o'i hiliogaeth ymddyrchafu i'r sefyllfa anrhydeddus hono mewn gwirionedd. Gallem feddwl mai yn y rhandir o Fon a elwir *Tindaethwy*, yr oedd etifeddiaeth neillduol Cynan; a'i fod yn honi hawl o lywodraeth holl ynys Fon, yn nghyda rhyw ranau ereill o Wynedd.

Yr oedd gan Cynan frawd o'r enw *Hywel*, yr hwn yn ol yr hen gyfraith a elwir *Gavel-kind* (o'r Cymraeg "Gafael gynt, medd rhai, neu y Saesneg "*Give all kind*," medd ereill, trwy yr hon y rhoddid i bob un o'r plant hawl gyfartal i feddiannau ei dad) a honai ei hawl o ynys Fon, fel ei ran, ar ol ei dad Rhodri; ond â hyn ni chydsyniai Cynan, ac am hyny y ddau frawd a ymbarotoent i fyned i ryfel â'u gilydd am yr ynys. Oddiwrth y crybwylliad a gawn ni o'r amgylchiad yma yn y Brut, fe ymddengys mai yn Llanfaes, yn agos i Beaumaris, y bu y frwydr hon, llanerch yr ymladdwyd llawer brwydr waedlyd arni wedi hyny:—

"Wyth gant a deg, y bu waith Llanfaes, yn Mon, ac y tloded breniniaeth Fon a breniniaeth Dyfed, oblegyd rhyfel a fu rhwng *Hywel Fychan* a *Chynan* ei frawd, ac y goresgynodd Hywel ynys Fon, gan orfod o hir ymladd arni."

Ond ni chafodd fwynhad parhaus o'i feddiant yno; canys *Cynan* a'i cyfarfu mewn ail frwydr, ac er iddo gael ei orchfygu y tro hwnw hefyd, a cholli llawer o'i wŷr, efe a ymadnerthodd drachefn, ac a ymladdodd drydedd brwydr âg ef, yn yr hon y llwyr ddymchwelwyd gallu Hywel, fel y bu raid iddo ffoi am ei einioes i ynys Manaw.

"Yn y flwyddyn 814, y bu ryfel yr ail waith rhwng *Hywel* a'i frawd *Cynan*, ac a laddes lawer o'i wŷr ef, ac yna *Cynan* a gynnulles attaw lu niferawg dros ben, ac am ben ei frawd Hywel y rhuthres, a'i yru o *Fon* yn *Manaw*."

Cyn nemawr fwynhad o ffrwyth y fuddugoliaeth hon, bu farw *Cynan*, a chan nad oedd hiliogaeth ar ei ol ond un ferch, o'r enw Essyllt, yr hon oedd yn briod â phendefig o'r enw *Merfyn Frych*, yr hwn oedd yntau o waedoliaeth tywysogaidd, i hwn, yn rhinwedd ei briodas, y daeth etifeddiaeth ac anrhydedd y tywysog trengedig. Y pendefig crybwylledig oedd fab i Gwyriad ab Elidyr, yr hwn a ddisgynai mewn llinach uniawn o *Beli* frawd *Bran ab Llyr;* a'i fam oedd *Nest* ferch *Cadell Deyrnllwg*, yr hwn oedd fab i *Brochwel Ysgithrawc*. Trigias y tywysog hwn, yn ol rhai o'r hen haneswyr, oedd yn y Penrhyn, Llandegai; ac y mae Lewys Mon, yn ei awdl i Syr William Griffith o'r Penrhyn, yn y flwyddyn 1500, yn dywedyd fod ei arfogaeth *bwysig* yn crogi yn y neuadd fawr yno y pryd hyny; a gresyna pob gwir hynafiaethwr na buasent yno eto.

* Heblaw fod y Cymry wedi colli y frwydr ar Forfa Rhuddlan, fe ddywedir i'r rhai a geisient ffoi o'r frwydr foddi yn y morfa, ac i Offa yn ei gynddaredd erchi lladd, mewn gwaed oer, yr holl wŷr a phlant a syrthiasai i'w ddwylaw, fel na ddiangodd ond ychydig fenywod rhag dinystr a galanas.—*M. Paris.*

Nis cawn un crybwylliad ddarfod i Hywel gynnyg gwrthddadleu hawl Merfyn o orsedd Cynan; ond cafodd waith mawr i'w wneyd i wrthsefyll gelyn galluog arall, sef *Egbert*, brenin y Saeson gorllewinol, yr hwn a oresgynai Wynedd â byddin gadarn, gan gymmeryd arglwyddiaeth Rhufoniawg, yn swydd Ddinbach, ac anrheithio yr holl wlad, hyd fynyddoedd Eryri; yna efe a aeth drosodd i ynys Fon, ac yn Llanfaes ymleddid brwydr waedlyd rhwng Merfyn a'r penadur galluog a grybwyllwyd, dan yr hwn yr unid y saith freniniaeth Seis'nig; ac wedi brwydr waedlyd iawn, Egbert a enillodd y fuddugoliaeth, ac yn y canlyniad a gymmerth feddiant o'r ynys; ac efe a orchymynodd nas gelwid hi mwyach yn *Mon*, ond *Anglesey*—sef, ynys yr Eingyl. Er hyny nid hir y bu yr ynys yn meddiant y Sacson, canys y Cymry a gryfhasant eu byddin, ac a'i hadenillasant yn fuan. Yn y flwyddyn 818 y bu y frwydr hon, yn Llanfaes. Ymladdodd Merfyn Frych lawer brwydr galed â'r Saeson ar ol hon, ac mewn un o honynt o'r diwedd efe a gollodd ei fywyd. Crybwyllir rhai o honynt fel y canlyn:—

"Oed Crist 838, gwaith Cyfeiliawc, lle y bu ymladd tra thost rhwng y Cymry a *Berthrwyd*, brenin y Mers; ac yno y lladdwyd Merfyn Frych, brenin y Brytanieid. Ac yn amser Merfyn y gorfu ar y Brytanieid oedd yn Lloegr yn byw, ymroddi yn Saeson, neu adael eu gwlad a'u cartrefoedd yn mhen tri mis. Yn yr un flwyddyn y bu Waith *Fferyllwg*, rhwng Gwy a Hafren, lle bu llaw uchaf y Cymry."*

"Oed Crist 840, y bu ail Waith Fferyllwg, lle y lladdwyd llawer o bob tu, fel nas gellid barnu y llaw uchaf, nac i'r un na'r llall o honynt."

Mae hynafiaethwyr ereill yn barnu mai yn mrwydr *Cetell*, rai blyneddoedd yn ddiweddarach nag a nodir uchod, sef tuag 843, y cwympodd Merfyn, wrth ymladd â *Berthrwyd*, brenin y Mers.

Wedi marwolaeth Merfyn, meddiennid ei orsedd gan ei fab *Rhodri*, a gyfenwid "Rhodri Mawr," a hyny yn benaf, efallai, am ei fod yn meddiannu agos y cyfan o freniniaethau Cymru fel ei eiddo priodol ei hunan—meddiannai *Wynedd* fel etifeddiaeth o du ei fam Essyllt, ferch Cynan Tindaethwy; *Dyfed* a ddaeth iddo fel etifeddiaeth ei wraig Angharad, merch ac etifeddes Meyric ab Dyfnwal ab Arthur ab Sitsyllt, brenin Ceredigion; *Powys* a ddaeth iddo fel etifeddiaeth ei nain o du ei dad, yr hon oedd chwaer ac etifeddes i Cangen ab Cadell, brenin Powys.

Un o'r pethau cyntaf a wnaeth efe wedi meddiannu y llywodraeth, oedd rhanu Cymru yn dair talaith—sef, *Aberffraw*, *Dinefawr*, a *Mathrafal*—y rhai a lywodraethid gan fath o raglawiaid teyrngedawl iddo ef. Efe hefyd a sefydlai ei brif lys breninol yn Aberffraw. Ond ni chafodd ef mwy na'i dad nemawr o heddwch i fwynhau ei diriogaethau; canys Berthrwyd, wedi y fuddugoliaeth a enillasai yn Nghetell, a chwymp y gwron Merfyn Frych, a feddyliai na byddai yn orchest galed iddo orchfygu un mor ieuanc a dibrofiad a Rhodri; ac fel hyn y cawn y mynegiad am yr helynt:—

"843. Rhodri Mawr ab Merfyn Frych a ddechreuwys wladychu ar y Cymry, a gorfod amddifadu â'r Brytaniaid oeddynt yn byw yn Lloegr, a myned yn un â'r Saeson a wnaethant hwy. A rhyfel mynych a mawr a fu

* Egbert a gymmerodd Gaerlleon ar Ddyfrdwy oddiar y Cymry, yr hon hyd hyny a fuasai yn brif ddinas Gwynedd; ac efe a barodd fwrw i lawr ddelw bres Cadwallon, brenin y Brytaniaid, a'i hanurddo, a gorchymyn nas cyfodid hi drachefn gan neb, dan boen marwolaeth. Efe hefyd a warafunai alw yr ynys mwy yn "Brydain," ond *England*—"Tir yr Eingyl." Wedi ei farwolaeth, teyrnasodd ei fab Ethelwolff, yr hwn a roddes ei ferch yn wraig i Berthrwyd, brenin y Mers.

rhwng Rhodri a Berthrwyd, brenin Mers; yr hwn Ferthrwyd a fynwys gynnorthwy gan Ithelwlff ei frawd, ac a ddaeth a llu dirfawr i Fon, gan ddiffeithiaw gwlad y ffordd y cerddynt, fal y gwnai y Paganiaid digred a bedydd. Myned a wnaeth Rhodri yn eu herbyn, a llu dewisawl o'r Cymry gydag ef; ac yn gynnorthwy iddaw y daeth Meurig ab Hywel, brenin Morganwg, â llu cadarn; a'r Meurig hwnw a laddwyd yn y frwydr hono. Eithr gyru ffo ar y Saeson o'r diwedd, gwedi ymladd tost a chreulawn."

Wedi hyn, cafodd Berthrwyd fwy na digon o waith i gadw ei diriogaethau ei hunan o grafangau y Daniaid, y rhai a eilw yr hen haneswyr Cymreig, y "Paganiaid duon," ac weithiau, y "Llu du." Math o forladron ysglyfaethus oeddynt o Denmarc a'r Llychlyn, y rhai, oddeutu y flwyddyn 846, a oresgynasant ran fawr o Loegr, gan orchfygu Athelstan, brenin Caint, a brawd i'r Ethelwlff a grybwyllwyd uchod; ac wedi hir ymladd â'r giwed yma, y rhai oeddynt yn ymgryfhau yn y wlad, er ei holl ymdrechion, Berthrwyd a adawodd ei deyrnas, ac a enciliodd i Rufain, lle y bu efe farw cyn nemawr o amser, o dor calon; ac nid hir y bu Ethelwlff heb ei ddilyn yr un modd, gan adael y deyrnas i'w feibion.

Ond yr oedd y Saeson wedi cael gormod blas ar y gwledydd breision a ddygasent drwy drais oddiar yr hen Gymry druain, i roddi i fynu eu meddiant o honynt i'r Daniaid yn rhwydd; felly dal i ymladd yn ofnadwy a wnaethant, hyd onid aeth y nyth yn rhy boeth i'r Daniaid i aros yn eu plith; felly hwy a enciliasant i'w llongau, gan benderfynu anrheithio rhyw ranau o Gymru. Bu Rhodri yn ymladd brwydrau celyd â hwy amryw weithiau; canys fe'n hysbysir yn yr hen hanesion Gwyddelig, i *Gorm*, neu *Gurmund*, blaenor y "llu du," gael ei ladd gan Rodri frenin Cymru, tua'r flwyddyn 855. A thrachefn, nyni a gawn y mynegiadau byrion a ganlyn o'r hen groniclau Cymreig:—

"Oed Crist 860, y bu cad Wythen, lle lladded llawer o'r Cymry a'r Saeson, fal nas galled y llaw uchaf nac i'r naill na'r llall o honynt. A'r un flwyddyn y daeth y Paganiaid i dir Gwyr, ac a'u gyrwyd ymaith gyda galanasdra mawr."

"Oed Crist 865, y lladded *Cynan Nawdd Nifer*, neu *Nant Nefer*, y dewraf a'r ardderchocaf yn ei ddydd o ryfelwyr Cymru."

"868, Y bu gwaith Brynonnen, ac y daeth y Paganiaid duon lawer gwaith yn yr un flwyddyn i Gymru a Lloegr, a chael y gwaethaf yn mhob gossawd."

"870, Y bu waith Llangollen, a lladdfa fawr yno."

"Yn yr un flwyddyn y boddes Gwgan ab Morydd ab Llywarch Llwyd, brenin Ceredigiawn, yn morio dros afon Llychwr yn Ngwyr, er gyru y Paganiaid duon o'r wlad hono."

"Yn yr un flwyddyn y bu waith Bangor, lle y lladdwyd y Saeson wrth y niferoedd, a'r meini a dreiglwyd arnynt oddiar y bryniau; ac yn mhlith ereill, esgob Bangor."

"872, Y bu waith *Bangoleu* yn Mon, lle y gorfu Rhodri a'r Cymry ar y Paganiaid duon, mewn brwydr galed; a gwedi hyny, yn yr un flwyddyn, gwaith *Manegid* yn Mon, lle difethwyd y Paganiaid duon."

Yr ydwyf yn meddwl mai tua chymmydogaeth y lle a elwir Pen y graigwen, yr ymladdwyd y frwydr a elwir gwaith Bangoleu; ond nis gellais lwyddo i gael allan tua pha gwr o'r ynys y mae y lle a elwir *Manegid yn Mon;* ond gallem feddwl oddiwrth y dyfyniad uchod fod Rhodri wedi caffael buddugoliaeth drwyadl ar fyddin y Daniaid yn y fan hono, beth bynag.

Tua'r un pryd yr oedd byddin arall o'r Daniaid wedi tirio yn Neheubarth Cymru, dan arweiniad dau gadflaenor o'r enw *Haldane* a *Hungare*,

gan anrheithio y wlad y ffordd y cerddent, a distrywio pob peth o'u blaen yn ddiarbed; ond y Saeson gorllewinol a'u cyfarfuant yn swydd Dyfnaint, lle y lladdwyd eu dau gadflaenor, a deuddeg cant o'u gwŷr; ac felly y cafodd y Cymry a'r Saeson ymwared dros amser oddiwrth ormes y Daniaid: ond yn fuan wedi i'r Saeson gael ymwared oddiwrth ormes y gelynion blinion hyn, hwy a ddechreuasant gwerylu eilwaith â'r Cymry; a thua y flwyddyn 877, aeth byddin luosawg o honynt i ymosod ar Rhodri yn Mon, a brwydr waedlyd a gymmerodd le rhwng y ddwy genedl, yr hon a elwir mewn hen hanesion, "Gwaith Duwsul yn Mon." Yn y frwydr hono lladdwyd Rhodri Fawr, a'i frawd *Gwriad*, a *Gweirydd* fab Owain Morganwg. Yr alanas hon a barodd i wragedd Mon ymgyffro mor fawr, fel y cymmerasant arfau, ac y rhuthrasant ar y Saeson mor bybyr, mewn lle, debygwyf, a elwir "*Pen bod ail ffrau*," yn agos i Amlwch, gan eu lladd yn ddidrugaredd, fel y bu raid i'r gweddill ffoi o'r ynys.—Y mae amryw leoedd yn y gymmydogaeth hono yn dwyn arnynt enwau a ddynodant ymrysonfa waedlyd—megys, "Rhos yr ormes," "Rhyd yr alanastra," "Rhyd gwaed gwyr," neu *Gwyriad* efallai.

"Yr un flwyddyn y bu waith *Rhiw Saeson*, yn Morganwg, lle y gorfu y Cymry ar y Saeson, a'u lladd yn aruthrawl."

Yr ydym wedi crybwyll yn barod fod Rhodri wedi rhanu Cymru yn dair talaith; a chyn ei farwolaeth, efe a drefnasai fod i'w dri mab henaf etifeddu y taleithiau dywededig yn y drefn ganlynol:—i *Anarawd* y trefnid *Aberffraw*, a'r pymtheg cantref cyssylltiedig â'r dalaith hono, o For Werydd hyd afon Dyfi; i *Gadell* y rhoddai *Ddinefwr* a'i phymtheg cantref, yn cyrhaedd o safn afon Dyfi hyd enau yr Hafren; ac i *Merfyn* y rhoddes *Bowys* a'i phymtheg cantref, o afon Dyfrdwy hyd y bont ar Hafren, yn Nghaerloyw. Ac efe a drefnodd ar fod i Anarawd a'i olynwyr dalu yr hen deyrnged i goron Lloegr, a bod i'r ddau ereill a'u hetifeddion gydnabod uchafiaeth tywysog Aberffraw; a bod iddynt gynnorthwyo ac amddiffyn y naill y llall yn wyneb unrhyw gadruthrau gelynol a wnelid arnynt. Efe a drefnodd hefyd yn mhellach, os digwyddai i unrhyw amrafael gyfodi rhwng tywysog Aberffraw a thywysog Aberteifi, neu Ddinefwr, fod i'r tri thywysog gyfarfod ar *Fwlch y Pawl*, a bod i dywysog Powys fod yn athrywynwr rhyngddynt, er penderfynu eu dadl. Ond os tywysog Aberffraw a thywysog Powys a gwympent allan â'u gilydd, yr oeddynt i gyfarfod eill tri ar *Ddol Rhianedd* (yr un, fel y tybir, a Morfa Caer, ar lan afon Dyfrdwy, yr hwn a elwir weithiau "Morfa Rhianedd,") a thywysog Dinefwr i benderfynu eu dadl. Ac os rhwng tywysogion Powys a Dinefwr y byddai yr amrafael, yna trefnid cyfarfod y tri thywysog i fod yn *Llys Wen*, ar lan yr afon Wy, a thywysog yr Aberffraw i weinyddu rhan athrywynwr.

Ac er rhoddi atalfa fwy effeithiol i gadruthrau y Saeson, efe a ordeiniai fod i'r holl gestyll a'r amddiffynfeydd, trwy y tair talaith, gael eu hadgyweirio a'u cadarnhau: ordeiniai hefyd fod i'r eglwysi a'r crefydd-dai gael eu hadnewyddu a'u haddurno; a bod i Hanes Prydain, wedi ei chofrestru a'i hadysgrifiaw yn ffyddlawn, gael ei chadw ynddynt. Mae yn ddiau mai amcan mawr Rhodri, trwy y pethau hyn, oedd diogelwch a chadernid y genedl; fel, a hwy yn gyd-dylwyth yn Ngwynedd a Deheubarth, y gallent gydfod fel brodyr, ac os byddai raid, gydgynnull eu lluoedd yn erbyn y gelyn cyffredin. Ond i'r gwrthwyneb yn hollol y bu; canys yn benben â'u gilydd yr aethant o hyny allan, a'u cecraeth barhaus a achlysurai lawer o dywallt gwaed, ac felly drygwyd a gwanhawyd y genedl yn ddirfawr. Gyda golwg ar y trefniadau hyn y canai Dafydd Nanmor, tua chanol y bymthegfed ganrif, fel hyn:—

Tri mab i Rodri mewn tremyn—eu cad,
Cadell, 'Narawd. Merfyn:
Rhanodd ef yr hyn oedd un,
Rhoddiad holl Gymru rhy'ddyn.

Wyth gant llawn a'i w'rantu,—pen rhinwedd,
Pan ranwyd holl Gymru,
A saith deg, llawn waneg llu,
Eisoes oedd oed yr Iesu.

Rhanodd a gadodd er gwell,—dawn ufudd,
Dinefwr i Gadell;
Y mab hynaf o'i 'stafell—
Pena' o wŷr! pwy un well?

Anarawd gwastawd dan go'—yn gyfan
A gafas Aberffro:
A daioni Duw yno,
Fe biau breinniau a bro.

Gwir, gwir a dd'wedir i ddyn,—paun ifangc,
Powys gafas Merfyn:
Llyna'r modd yr adroddyn',
Treiir rhwng y triwyr hyn.

Gwelwn fod y bardd yn golygu mai *Cadell*, ac nid *Anarawd*, ydoedd cyntafanedig Rhodri; ond pa fodd y cydsaif hyny â phenodiad Anarawd yn frenin Aberffraw, a'r trefniad i'w frodyr ereill dalu teyrnged iddo, nis gwn. Efallai fod Rhodri yn gweled rhyw gymhwysder rhagorach ynddo i'w olynu ef yn ngorsedd Gwynedd, os nad efe oedd y mab henaf; ac mai hyny a fu yn brif achos o fod ei ragdrefniad crybwylledig mor aflwyddiannus; canys cyn pen nemawr o amser ar ol marwolaeth Rhodri, Cadell a ddechreuai anfoddloni ar ei ran, a chan gasglu ei fyddinoedd yn nghyd, efe a ymosododd yn gyntaf ar ei frawd Merfyn, gan ddwyn talaith Powys oddiarno; a thrwy hyny, efallai, y bwriadai ymgadarnhau yn ddigonol i ymosod cyn hir ar ei frawd Anarawd, a dwyn y benteyrnedd oddiarno; canys y mae yn hawdd i ni gasglu oddiwrth gymmaint a feddwn o grybwyllion am dano, ei fod ef wedi meddwl cael myned yn frenin y dywysogaeth oll.

Yn fuan ar ol marwolaeth Rhodri, bu i lawer o Gymry Ystrad Clwyd a Chumberland, y rhai oeddynt yn cael eu blino a'u gwanhau yn ddirfawr trwy gadruthrau parhaus y Saeson, yr Ysgotiaid, a'r Daniaid, arnynt, adael eu gwlad, dan arweiniad un Hobert, a dyfod i Wynedd yn nechreu teyrnasiad Anarawd, o flaen yr hwn y dodasant eu cwyn, gan atolygu caniatad ganddo i wladychu mewn rhyw gwr o'i dalaith; yntau, gan dosturio wrth eu cyflwr, a roddes genad iddynt i feddiannu yr holl wlad rhwng Caerlleon a Chonwy, sef Maelawr a Dyffryn Clwyd, Rhufoniawg, a Thegeingl, os gallent yru y Saeson ymaith, y rhai a drawsfeddiannasent y broydd hyny yn ddiweddar. Hwythau, gan fod yn ddiolchgar am y fath gynnygiad, a ddechreuasant ar eu gorchwyl yn bybyr, ac nid hir y buant cyn gyru y trawsfeddianwyr Seisnig ar ffo, ac enill yr holl randir hono iddynt eu hunain; ac y mae yn debyg mai hiliogaeth y dewrion hyn yw y rhan fwyaf o breswylwyr y broydd dywededig hyd heddyw.

Ond nid hir y cawsant feddiannu eu tiriogaeth newydd mewn heddwch, canys *Edryd*, duc Mersia, deiliaid yr hwn a drawsfeddiannasent yr ardaloedd uchod, nis gallai oddef y fath ddyrnod i'w ysbryd uchel, heb wneyd ymdrech egniol i'w hadenill; ac i'r perwyl hyny, efe a wnaeth barotoadau mawrion. Ond y Cymry, wedi cael hysbysiad o'i amcanion, a gynnullas-

ant eu holl anifeiliaid a'u da, ac a'u cludasant dros afon Gonwy, er eu cyfleu mewn gwell diogelwch; ac Anarawd a gasglodd ei holl filwyr yn nghyd i'w cynnorthwyo, ac a drefnodd ei fyddin ar lanau afon Gonwy, mewn lle a elwir Cynwyd, lle y cyfarfu y Saeson âg ef, gan fod yn dra hyderus o'r fuddugoliaeth drwy nerth eu byddin; ond wedi ymladd caled, Anarawd a gafodd fuddugoliaeth drwyadl ar y Saeson, ac a'u hymlidiodd hyd eu gwlad eu hun; ac felly cafodd y Cymry breswylio y rhandiroedd crybwylledig mewn heddwch, dros yspaid hir ar ol y frwydr hon. Galwyd y fuddugoliaeth ysplenydd yma "Dial Rhodri," am fod Anarawd wedi cael cyfleustra teg ar yr achlysur yma, i ddial gwaed ei dad Rhodri ar y Saeson.

Yn mhen peth amser wedi hyn, daeth cenfaint o'r Daniaid, wedi cael curfa lem gan y Llydawiaid, ac a ymdywalltasant ar Wynedd, ar fedr dial y sarhad a gawsant yn Llydaw, ar garedigion y Llydawiaid yn Nghymru. Ond o'r diwedd, llwyddodd Anarawd i gael ymwared o'r pla blin yma unwaith eto: ac yna, wedi cael llonydd oddiwrth estroniaid oddiallan, nyni a'i cawn yn cynnull ei wŷr, ac yn adnewyddu ei fyddin, i wynebu tua'r Deheubarth, yn erbyn ei frawd Cadell, ac yn anrheithio Ceredigion ac Ystrad Gwy. Efallai mai y prif reswm am y cadgyrchiad yma ydoedd anufudd-dod Cadell i drefniad ei dad Rhodri, i gymmeryd penderfyniad ar y ddadl rhyngddo â'i frawd Merfyn, gan y trydydd brawd Anarawd. A gallem gasglu i'r moddion llym a ddefnyddiodd tywysog Gwynedd, ar hyn o bryd, fod yn effeithiol i orfodogi y trachwantus Gadell i adferu Powys i'w thywysog cyfiawn, Merfyn. Ond yw yn debyg fod Merfyn yn hoffus gan ei bobl ei hun, canys fel hyn y'n hysbysir am ei ddiwedd yn y Brut:—

"O. C. 892, y daeth Narawd, brenin Gwynedd, i ddiffeithiaw Ceredigiawn, sef cyfoeth Cadell ei frawd; ac a losges yr holl dai a'r ydau yn Nyfed ac Ystrad Tywi yn greulawn iawn. Yr un flwyddyn y llâs Merfyn brenin Powys, gan ei wŷr ei hun."

Tua'r flwyddyn 900, y tiriodd *Igmond*, â byddin gref o'r Daniaid, yn ynys Fon; a'r Cymry a ymarfogasant, ac a ymgynnullasant ar frys i'w gwrthladd, a hwy a'u cyfarfuant mewn lle a elwir "Maes Rhos Meilion," er cof, efallai, am y frwydr hon. Nid wyf yn deall fod un lle yn yr ynys yn myned dan yr enw hwnw yn bresenol: ond mewn hen ddarlunlen o Gymru, gwelais y lle yn cael ei nodi yn y rhan o'r wlad a elwir Rhoscolyn, ychydig i'r delfau o Gaergybi, lle yr oedd porthladd manteisiol i'r Daniaid lanio.

Bu Anarawd fyw tua thair blynedd ar ddeg ar ol yr helynt hon; a chan fod yr holl hen gofion mor ddystaw yn ei gylch, dros yr yspaid crybwylledig, hyderwn ei fod wedi cael prydnawn lled dangnefeddus, ar ol y bore blin ac ystormus a fuasai i'w deyrnasiad.

Yn yr adeg yma hefyd yr oedd *Alffred Fawr* yn teyrnasu yn mysg y Saeson, ac efe oedd frenin doeth a dewr, a gwnaeth fwy tuag at wellhau moesau y Saeson, a meithrin llenyddiaeth yn eu mysg, cystal ag er eu gwaredu oddiwrth ormes y Daniaid, nag a wnelsai un brenin o'i flaen ef.

Wedi iddo lwyddo i ddarostwng y Daniaid, efe a gynnullodd o'i ddeutu rai o'r gwŷr doethaf a dysgedicaf a feddai y cenhedloedd cylchynawl iddo. ac yn mysg ereill efe a lwyddodd i gael gan Gymro dysgedig o'r enw *Asser*, yr hwn oedd yn archesgob yn Mynwy, sef Ty Ddewi, i ddyfod ato i fod yn athraw; a'r gŵr hwnw, ar ei gais, a gyfieithodd hen gyfreithiau *Dyfnwal Moelmud*, i dafodiaith y Saeson, yn nghyda'r rhelyw o'r cyfreithiau Cymreig oeddynt mewn bod y pryd hyny; ac o'r rhai hyn yn benaf y ffurfiodd Alffred egwyddorion deddfwriaeth i'w ddeiliaid, fel y mae yn

dra eglur mai math o gyfieithiad o'r hen gyfreithiau Cymreig yw yr hen ddeddflyfr Seisnig a elwir *Marsian Law;* gan hyny, y mae y Saeson yn ddyledus i athrylith ein cenedl ni am rai o'r trefniadau cyfreithiol ydynt yn fwyaf o anrhydedd i'w teyrnas hyd heddyw—megys y "Prawf drwy Reithwyr," &c.

Trwy gynghor Asser hefyd y darfu i Alffred sefydlu prif athrofa Rhydychain, er gweini addysg i bendefigion ieuainc ei deyrnas. Meddylir mai yr un oedd yr Asser hwn a "Geraint Fardd glas," neu y "Bardd glas o'r gadair."

Bu Cadell, tywysog Dinefwr, farw yn y flwyddyn 907, sef tua chwe' blynedd o flaen ei frawd Anarawd, gan adael ar ei ol dri o feibion—sef, *Hywel*, a gyfenwir "Hywel Dda," a *Meurig* a *Chlydawc*. Hywel a'i dylynodd yn llywodraeth y Deheudir, ac a drodd allan yn dywysog tra enwog; ac mewn amser, trwy ei ddoethineb a'i gyfiawnder, efe a gafodd benteyrnedd holl Gymru i'w law.

Yn y flwyddyn 913, bu farw Anarawd, tywysog yr Aberffraw; a'i fab, *Idwal Foel*, a'i dylynodd yn y llywodraeth, ac efe a feddiannodd orsedd Gwynedd dros oddeutu deng mlynedd ar hugain; ond nid ydwyf yn deall iddo ennill unrhyw enwogrwydd, nac amcanu chwaith at yr uchafiaeth yn mysg y tywysogion, a berthynai i'w dad.

Efallai fod Hywel Dda, trwy ei ddoethineb rhagorol a'i anianawd heddychlawn, wedi llwyddo i unaw y tywysogion Cymreig mewn heddwch a chyfeillgarwch dros ei amser ef; a thrwy fod y fath undeb, trefn, a chadernid, o fewn ei deyrnas ei hun, fod ei gymmydogion yn arswydo rhag ymosod ar un parth o Gymru yn ddiachos, ac yn dewis ymostwng i'w amodau teg, yn hytrach na chyffroi ei ddigofaint; ac felly i'n gwlad a'n cenedl gael seibiant glew i anadlu mewn tangnefedd ar hyn o bryd.

Yn agos i ddiwedd teyrnasiad Idwal, darfu i Edmwnt, brenin y Saeson, yn y flwyddyn gyntaf o'i deyrnasiad ef, wasgu yn drwm ar y Daniaid, gan adgymmeryd y dinasoedd a drawsfeddiannasent, fel y bu raid iddynt lwyr ymostwng iddo; a chan gymmeryd eu bedyddio i'r ffydd Gristionogawl, hwy a wnaethant gyfamod heddwch âg ef. Yn y flwyddyn ganlynol, carcharwyd pendefig Cymreig, o'r enw Cadell, fab Arthual, gan y Saeson —am ba achos, nis mynegir; ond fe ymddengys fod Idwal yn ystyried y fath weithred yn sarhad arno ef a'i deyrnas; am hyny, efe a'i frawd Elis, neu Elisseu, a gynnullasant fyddin o wŷr, ac a ymosodasant ar y Saeson a'r Daniaid, y rhai oeddynt ar hyn o bryd mewn undeb; ond yn y frwydr fe laddwyd yr hen dywysog Idwal, a'i frawd Elis. Gadawai Idwal, tywysog Gwynedd, chwech o feibion ar ei ol—sef, Meurig, Iefaf, Iago, Cynan, Idwal, a Rhodri; a'i frawd Elis a adawai o'i ol fab a elwid Cynan, a merch a elwid Trawst, mam i Gynan ab Sitsyllt, Gruffudd ab Sitsyllt, a Bleddyn ab Cynfyn—y ddau olaf o ba rai a fuant wedi hyn yn dywysogion ar Gymru.

Bu hyn tua'r flwyddyn 940. Yr oedd Howel, neu *Hywel*, mab henaf *Cadell ab Rhodri Mawr*, a gyfenwid hefyd HYWEL DDA, wedi dyfod i feddiant o daleithiau y Deheubarth a Phowys yn y flwyddyn 907, ar farwolaeth ei dad; a phan y lladdwyd Idwal Foel, disgynodd Gwynedd dan ei arglwyddiaeth hefyd. Dichon fod ei enwogrwydd fel tywysog cymmedrol, doeth, a da, yn peri i'r Gwyneddwyr fod yn awyddus am gael bod dan ei arglwyddiaeth, fel na feiddiodd meibion Idwal gyfodi terfysg na gwrthryfel o'r herwydd, er eu bod yn grwgnach yn erbyn uniad Gwynedd â'r ddwy dalaith arall, dan deyrnasiad tywysog Ceredigion, fel gweithred o annghyfiawnder â hwy, etifeddion talaith Aberffraw neu Wynedd.

Y mae yn ymddangos yn dra thebygol fod Hywel wedi mwynhau hedd-

wch â'i gymmydogion i radd helaeth, dros yspaid ei deyrnasiad maith, fel er fod ei enwogrwydd yn hanes ei wlad yn rhagori ar ei gydbenaethiaid, na sonir dim am dano ef yn rhyfela â'i gymmydogion; yn nghanol oes ryfelgar, yr oedd efe yn frenin heddwch; a thrwy ei anianawd heddychlawn, a'i gynneddfau cryfion, wedi llwyddo i ymgadw rhag ymrysonau â'i gymmydogion, naill ai trwy amodau teg a phrydlawn, neu drwy ddangos y fath drefn a chadernid o fewn ei deyrnas, fel na feiddiai neb ymosod arno; ac yntau ei hun yn rhy ddoeth i gyffroi gelyniaethau diachos. Ond y mae prif enwogrwydd Hywel yn gyssylltiedig â ffurfiad y rheithres ardderchawg a elwir ar ei enw "*Cyfreithiau Hywel Dda*," yr hon reithres a fu yn rheol lywodraethol i'n cenedl, tra y parhaodd ei hannibyniaeth gwladwriaethol.

Yn y rhagymadrodd i'r rheithres uchod, yr ydym yn cael y rhesymau canlynol am ei ffurfiad, yn nghyda darluniad byr o'r modd y'i ffurfiwyd.—

"Hywel Dda, mab Cadell, tywysog Cymru oll, a weles y Cymry yn camarferu o'r cyfreithiau; ac efe a ddyfynodd atto chwe' gwŷr o bob cwmmwd yn y dywysogaeth—pedwar o honynt yn lleygwyr, a dau o honynt yn llenwyr. Dyfynwyd y llenorion cyn cyfarfod o'r lleygwyr, fel nas penderfynid dim yn ngwrthwyneb i'r ysgrifeniadau sanctaidd. A'r amser y daethant yn nghyd, hwy a ymprydiasant; a gwnaethant felly, fel y byddai i bawb a ddeuent yno ymddwyn yn weddus ar y fath adeg ddifrifol, ac nas gwnelent ddim yn annuwiol ar gyfnod mor ysplenydd. A thrwy gynghor a chydsyniad y doethion, y rhai a ddaethant yno, hwy a chwiliasant yr hen gyfreithiau: a rhai o honynt a ystyrid ganddynt yn deilwng i'w diwygio; ereill a lwyr ddiddymasant, a rhai newyddion a luniasant."

Fe'n hysbysir mai yn y *Ty Gwyn ar Daf, yn Nyfed*, y bu y gynnadledd bwysig grybwylledig—lle, yn ol Carnhuanawc, yn agos i'r man a elwir *Whitland* yn bresenol, yn swydd Gaerfyrddin. Dywedir hefyd i Hywel Dda fyned i Rufain cyn sefydlu y cyfreithiau hyn, i geisio gwybodaeth am gyfreithiau gwledydd ereill, ac yn enwedig am drefn ddeddfawl yr ynys dan lywodraeth y Rhufeiniaid; ond wedi hyn oll, iddo ef a'i gynghorwyr gael allan fod hen gyfreithiau Prydeinig Dyfnwal Moelmud yn rhagori arnynt oll; ac felly cymmerwyd y rhai hyny yn osail benaf y rheithres newydd. Enwau y lleygion, y rhai a ffurfiasant y cynghor, oeddynt y canlynol:—

| | | |
|---|---|---|
| Morgeneu Ynad. | Gwgawn Dyfed. | Bledrws fab Bleiddyd. |
| Cyfnerth, ei fab. | Rhewydd Ynad. | Gwyn Faer, y gŵr oedd berchenawg, ac Santafwyn a bioedd y ty y gwnaethpwyd y gyfraith ynddo. |
| Gweiri fab Cyfiawn. | Iddig Ynad. | |
| Gronwy fab Moriddig. | Gwiberi Hen o Iscenain. | |
| Meddwon ail Cerisg. | Gwrnerth Llwyd, ei fab. | |

Ac at y deuddeng ŵr doeth uchod ychwanegwyd Blegwryd, Archddiagon Llandaf, yr hwn y dywedir am dano ei fod yn dra hyddysg mewn cyfreithiau gwladol ac eglwysig.

Dywedir fod y dysgedigion canlynol gyda Hywel, yn ei ymweliad cyntaf â Rhufain—*Martin*, esgob Mynyw; *Mordaf*, esgob Bangor; *Marchlwys*, esgob Teilaw; a *Blegwryd ab Owain*, pencyfeistedd Llandaf, brawd Morgan, brenin Morganwg.

Gwnaed tair cyfysgrif o'r cyfreithiau hyn, fel y cedwid un yn mhob un o'r tri llys taleithiol—Aberffraw, Dinefwr, a Mathrafael. Rhenir cyfreithiau Hywel Dda yn dri dosparth:—1. Defodau a swyddogion y llys. 2. Cyfreithiau y wlad. 3. Troseddau; ac hefyd, Gwerth amryw ddodrefnau, &c.

Wedi i Hywel Dda fod yn teyrnasu mewn llwyddiant a pharch mawr dros ddeugain mlynedd—y saith mlynedd olaf o ba rai y bu yn *Frenin Cymru oll*—efe a fu farw yn y flwyddyn 948; ac fel hyn y crybwyllir am ei farwolaeth yn yr hen Frut:—"Oed Crist 948, y bu farw Hywel Dda, fab Cadell, brenin Cymru oll, y doethaf a'r cyfiawnaf o'r holl dywysogion. Efe a garai heddwch a chyfiawnder, ac a ofnai Dduw, ac a lywodraethai yn gydwybodus, yn mhob iawnder tangnefus, ac efe a gerid yn fawr gan bawb o'r Cymry, a chan lawer o ddoethion y Saeson, a gwledydd ereill; ac achaws hyny y gelwid ef *Hywel Dda*. Ac yna y cymmerth *Owain*, ei fab ef, lywodraeth Ceredigion."

Gadawodd y penadur clodwiw hwn bedwar o feibion ar ei ol—sef, *Owain*, *Rhun*, *Rhodri*, ac *Edwyn;* a bu rhyfeloedd hir a gwaedlyd rhwng meibion Hywel Dda a meibion Idwal Foel, drwy yr hyn y drygwyd y wlad yn ddirfawr, fel y dangosir rhagllaw.

Ar farwolaeth Hywel, ymddengys i ddau o feibion Idwal Foel—sef, *Iefaf* ac *Iago*—gymmeryd meddiant o lywodraeth Gwynedd, gan roddi eu brawd hynaf, *Meurig*, o'r neilldu, fel un annghymmwys i gymmeryd gafael yn y llywodraeth; a'u ceraint, meibion Hywel, a ymfoddlonent ar daleithiau Deheubarth a Phowys, gan eu goddef hwythau yn ddirwgnach i fwynhau llywodraeth Gwynedd; ond Iefaf ac Iago a fynnent feddiannu yr arbenicter ar holl Gymru, fel etifeddion talaith Aberffraw; ond yr oedd meibion Hywel yn ystyried eu hawl i Bowys a Deheubarth mor gyfiawn ag y gallasai yr eiddo Iefaf ac Iago fod i Wynedd. Felly yn y flwyddyn 949, cawn fod tywysogion Gwynedd yn arwain eu byddinoedd i diriogaethau meibion Hywel Dda; ac ar fynydd Carno bu brwydr dost rhyngddynt, yr hon a elwid "*Gwaith Carno;*" a meibion Idwal a ddiffeithiasant Ddyfed yn filain a thost. Fe grybwyllir hefyd am frwydr rhyngddynt, a elwir "*Gwaith Abercywyn;*" a thrachefn, dywedir fel y canlyn:—

"O. C. 950, y daeth meibion Eidwal yr ail waith i Ddyfed, ac a'i hanrheithiasant, ac a laddasant Dynwallawn, brenin Dyfed. Ac Owain, tywysawg Ceredigiawn, a gynnulles lu gad yn eu herbyn, ac a'u hymlidies hwy yn eu hol i Wynedd mor galed, oni foddes lawer o honynt yn afon Dyfi."

Meibion Hywel, gan gydio yn y fantais hon, i dalu y pwyth i'w ceraint anngharedig, a wthiasant eu byddin i galon Gwynedd; ac yn Nglyn Conwy (yn gyfagos i Lanrwst, debygid) y bu brwydr galed rhyngddynt, yn yr hon y lladdwyd Anarawd, fab Gwyriad, fab Rhodri Fawr, ac Edwyn, fab Hywel Dda; ond y fuddugoliaeth a enillwyd o'r diwedd gan dywysogion Gwynedd, sef Iefaf ac Iago, fel y bu raid i dywysogion y Deheudir encilio i Geredigon, lle y'u hymlidid yn bybyr gan y gogleddwyr, y rhai a anrheithient y wlad hono yn ddiarbed â'r tân ac â'r cleddyf; ac y mae yn ymddangos i Iefaf ac Iago drawsfeddiannu llywodraeth holl Gymru yn y canlyniad i hyn.*

Ond uchelfrydedd ac annghyfiawnder tywysogion y gogleddbarth a ddygodd ddialedd buan arnynt; canys tra yr oeddynt hwy yn ymladd â'u cyfneseifiaid, ac felly yn gwanhau y wlad er porthi eu trachwant personol, yr oedd eu gelynion yn ymgadarnhau o bob tu i'w blino, ac i ysglyfaethu eu cyfoeth, fel y gwelwn oddiwrth y dyfyniadau canlynol o'r Brut:—

"960, y lladdwyd meibion Eidwal ab Rhodri gan y Saeson; ac y diffeithiwyd Caergybi, gan feibion Eidwal Dyfed; ac y dystrywiwyd y Tywyn; ac y bu farw Meuryg ab Cadfan; ac yna ynnillodd y Saeson

* Powell's Hist. of Cambria, 4to, p. 50. Warrington's Hist. of Wales, 4to, p. 191.

arglwyddiaeth meibion Eidwal, ac y lladdwyd Rhodri ab Eidwal, ac y diffeithiwyd y Berffraw; a rhyw faint ar ol hyny, y dalodd Iago ab Eidwal ei frawd Ifan (Iefaf,) ac a'i rhoddes yngharchar, a chwedi hyny efe a'i crogodd."

"961, y daeth meibion Abloic, brenin y Werddon, i Gaergybi, ac a'i diffeithiasant yn gwbl, a dwyn arch Cybi y ganddynt i'r Werddon, lle y bu gan' mlynedd; ac oddiyno aethant i wlad Leyn, gan ei diffeithiaw yn dra thost: a hyny fu o frad meibion Idwal, a hwy yn traws-wladychu ar y cyfoethau yn Ngwynedd a Phowys."

Fe ddywedir yn rhai o'r hen gofion, fod Iago wedi ymddwyn mor greulawn tuag at ei frawd Ifan, wedi iddo ei gymmeryd yn garcharor, fel ag y parodd dynu ei lygaid â heiyrn poethion, er ei annghymwyso i gymmeryd rhan yn ngweinyddiad y llywodraeth: ond Hywel, fab Ieuan, a gyfenwid "Hywel Ddrwg," wedi ei gythruddo yn ddirfawr trwy y traha yma ar ei dad, a gynnullodd gynnifer ag a allai o wŷr, er dial ei gam; ac anfonodd hefyd at Edgar, brenin y Saeson, am gymhorth; yr hwn a ganiataodd lu mawr o Saeson iddo; ac yntau, gyda'r fyddin gymmysg hon, a anrheithiai y wlad, heb arbed llys na llan, eithr dwyn daoedd a thlysau eglwysydd a mynachlogydd; a holl diroedd Iago a drawsfeddiennid gan Saeson, a llawer o honynt a wladychasant yn Ynys Fon o hyny allan.

Ar ol i Hywel lwyddo i yru ei ewythr Iago ar ffo, efe a gymmerth y llywodraeth arno ei hun; ac er dial dellni ei dad, efe a barodd dynu llygaid ei ewythr Meurig, yr hwn, ond odid, a gefnogasai Iago yn ei ymddygiad ysgeler tuag at Iefaf; a'r Meurig hwnw a fu farw o doriad calon yn y carchar yn fuan, gan adael dau fab ar ei ol—un o ba rai, sef Idwal, a fu byw i fyned yn dywysog Cymru, ac i ddial creulondeb annaturiol Hywel ar rai o'i hiliogaeth.

I ychwanegu at drueni y Monwysion, daeth Macht ab Harallt i ynys Fon, a chydag ef fyddin gref o Ddaniaid, ac efe "ddifethwys Benmon, lle ydoedd decaf cyn no hyny yn holl ynys Fon; ac yn ebrwydd wedi hyny y daeth Gotffrid ab Harallt yn erbyn ynys Mon, ac a'i diffeithes; ac Edgar a roddes genad i wŷr Gotffrid ym Mon yn gyfaneddawl, ac ymunaw yno â gwŷr Edwin a wnaethant yn un ormes, ac nid aethant fyth o honi, ac nis gellid fyth gwedi hyny gwared brad o'r ynys; ac Edgar yn gweled fal ydoedd, dyfod a orug a llu dirfawr i Gaerlleon-gawr, a myned yn erbyn gwŷr Iago, a'u lladd yn greulawn yn holl Gymru;" yn nghweryl Hywel, efallai.

Mae yn ymddangos mai un prif reswm am weithred ysgeler Hywel yn tynu llygaid ei ewythr Meurig, oedd er ei annghymwyso i gymmeryd y llywodraeth arno; efe a'i cymmerasai yn garcharor, debygid, yn un o'i frwydrau gyda'i ewythr Iago; a chan fod ei dad eisoes wedi ei annghymwyso i lywodraethu, ni wnaeth namyn ei ryddhau o'r carchar, a charcharu Meurig yn ei le, gan feddwl ei fod felly yn sicrhau y llywodraeth iddo ei hun.

Iago, wedi ei ddymchweliad, a enciliodd i Loegr, ac a lwyddodd cyn hir i gael gan ei hen elyn Edgar gymmeryd ei achos i fynu, a'i adferu i'r orsedd; yr hwn, gan ei fod yn awyddus i gadw i fynu ymrysonau rhwng y tywysogion Cymreig, neu i roddi i'r Cymry benadur a fyddai yn ddarostyngedig i'w ewyllys ei hunan, a arweiniodd fyddin gref hyd yn Mangor; ac yn y lle hwnw, Hywel, yr hwn oedd yn analluog i wrthladd y fath gadernid, a addawodd gydsynio â chais Edgar—sef, caniatau i Iago ei ewythr gyfranogi gydag ef yn y llywodraeth. Mewn canlyniad i'r uchafiaeth yma a enillasai Edgar, efe a adeiladodd eglwys yn Mangor, ar ystlys ddeheuol yr eglwys gadeiriol, yr hon a gyssegrodd efe i'r forwyn Fair; a chan

arhoni arbenicter yr ynys, efe a gadarnhaodd i'r esgobaeth hono ei hen ragorfreintiau, ac a'i gwaddolodd â thiroedd ac â rhoddion gwerthfawr ereill. Fe debygir mai ar ei ddychweliad i Gaerlleon, y tro hwn, y bu Edgar yn llywio ei gwch ar yr afon Dyfrdwy, tra yr oedd wyth o freninoedd trethawg yn ei rwyfaw—o'i lys i fonachlog Ioan Fedyddiwr—dau o ba rai, debygid, ydoedd Iago a Hywel, breninoedd Gwynedd.

Ond y mae yn ymddangos na bu hir heddwch rhwng Hywel a'i ewythr Iago, canys fel hyn y'n hysbysir yn y Brut:—"O. C. 978, ydd aeth Hywel ab Ieuan waith arall yn erbyn ymddifferyn Iago ei ewythr, a chydag ef lu mawr o Saeson, ac anrheithiaw Lleyn a Chelynog Fawr a wnaethant, a thori yr eglwysi yn aruthr, a dilygeidiaw llawer o gymhleidyddion Iago, a diffeithiaw yn greulawn."

"Yr un flwyddyn y dalwyd Iago gan wŷr Hywel ei nai; a Hywel a wladychwys ei gyfoethau. A gwedi hyny y lladdwyd Idwal Fychan ab Idwal Foel, a diffeithiaw Lleyn ac ynys Fon; a Chystenyn ab Iago ab Idwal a ddaeth i Fon, a chydag ef lu o'r Daeniaid duon, a chydag ef y codasant y Saeson a'r Daeniaid a wledychynt yr ynys, a diffeithiaw'r wlad hono yn dost aruthrawl; a Gotffrid ab Harallt a Chystenyn a aethant oddiyno hyd yn Lleyn, a diffeithiaw'r wlad hono hefyd yr un modd; ac yn eu herbyn y daeth Hywel ab Ieuaf, a chad dost a fu rhyngddynt, ac yno y llas Cystenyn Ddu yn ngwaith Hirbarth."

Y Daeniaid a ddisgynasant ar y Deheubarth, ac a anrheithiasant Ddyfed, gan yspeilio Ty Ddewi; ond y Cymry, dan arweiniad eu tywysog Einion, debygid, a gyfarfuant â hwy, ac a'u baeddasant mewn cad ofnadwy yn Llanwenawc, fel y bu raid iddynt encilio o'r wlad ar ffrwst.* Y flwyddyn ganlynol, y Duc Alffred, a byddin fawr o Saeson dan ei dywysiad, a oresgynodd y Deheubarth; ond pan ydoedd newydd ddistrywio tref Aberhonddu, efe a gyfarfuwyd gan y fyddin Gymreig, dan dywysiad Einion ab Owain, tywysog y Deheubarth, yn cael ei gynnorthwyo gan Hywel, brenin y gogledd; ac yn y frwydr a gymmerodd le, llwyr orchfygwyd y Saeson.

Gallasai y llwyddiant a ddylynai arfau y Cymry, pan ymunent â'u gilydd yn achlysurol fel hyn, yn erbyn y gelyn cyffredin, eu dysgu mai "mewn undeb y mae nerth;" ond yn lle hyny yr oedd yr ymrysonau gwarthus oedd rhyngddynt â'u gilydd yn barhaus, yn eu gwneyd yn ysglyfaeth naturiol i'w gelynion gwangcus.

Yn fuan wedi y fuddugoliaeth uchod, llofruddiwyd y tywysog Einion gan wŷr Gwent, mewn rhyw derfysg gwrthryfelgar a dorasai allan yno; ac felly y darfu, yn mlodau ei ddyddiau, un y dysgwylid cryn lawer oddiwrtho, ar gyfrif ei rinweddau amrywiol, yn enwedig ei wladgarwch a'i fedrusrwydd milwraidd. Efe a adawodd ddau o feibion ar ei ol—sef, Edwyn a Thewdwr, a gyfenwid Tewdwr Mawr, o'r hwn yr hanodd amryw o dywysogion y Deheubarth.

Yn y cyfamser, Hywel, brenin Gwynedd, a ymroddai i gadarnhau ei fyddin; a'r flwyddyn ganlynol, efe a'i harweiniai i Loegr, er dial ar y wlad hono ei mynych anrheithiadau o'i diriogaethau; ond yn y cadgyrchiad yma efe a laddwyd. Felly y darfu am ei holl uchelgais a'i greulonedd: a chan iddo farw yn ddiblant, ei frawd *Cadwallawn*, ail fab Ieuan, a gymmerth arno benaduriaeth Gwynedd, tra y perthynai o hawl cyfiawnder yn hytrach i feibion Meurig, ei ewythr henaf; ac er cadarnhau ei hun ar yr orsedd, efe a ymroddes i geisio distrywio ei gefnderwydd. Wedi cael yr henaf, Ionafal, i'w ddwylaw, efe a barodd ei lofruddio yn ddirgel; ond yr

* Wynne's Hist. of Wales, p. 61.

ail fab, Idwal, a lwyddodd i ddianc, ac a gafodd fyw i weled cosbedigaeth gyfiawn yn disgyn ar leiddiaid ei deulu; canys prin y cafodd Cadwallawn fod flwyddyn yn y llywodraeth, a phrin y cafodd gwaed ei garenydd fferu ar ei ddwylaw, cyn i Maredydd ab Owain, tywysog y Deheubarth, oresgyn ei diriogaethau, a'i ladd ef a'i frawd Meurig.

Mewn canlyniad i'r fuddugoliaeth hon, Maredydd (yr hwn o'r blaen a feddai arglwyddiaeth Powys, yn hawl ei fam) a gymmerth arglwyddiaeth y gogledd hefyd arno ei hunan. Ond ni chafodd yntau hir fwynhad o'i arglwyddiaeth newydd; canys y Daeniaid, dan dywysiad Gotffrid ab Harallt, a oresgynasant Fon y drydedd waith, ac wedi cymmeryd ei frawd Llywarch, a dwy fil o'i wŷr, yn garcharorion, hwy a dynnasant ei lygaid; a Maredydd, wedi ei frawychu gan yr aflwydd yma, a ffodd i'w wlad ei hun, gan adael Gwynedd yn sathrfa i'r goresgynwyr; ac i chwanegu at adfyd y trigolion, fe dorodd pla allan yn mysg eu hanifeiliaid, ac mor fawr oedd yr anrhaith fel mai ychydig iawn a adewid yn fyw iddynt.

Mae amryw o'r haneswyr yn nodi y cyfnod yma fel adeg marwolaeth Ieuan ab Idwal, wedi bod lawer blwyddyn faith yn garcharor unig, ac yn ddall: ond y mae yn anhawdd gwybod erbyn hyn, pa fodd i gyssoni y cyfryw syniad â chrybwyllion ereill yn nghylch ei farwolaeth cynnarach. Y mae yn fwy sicr mai tua'r adeg yma y bu farw Owain ab Hywel Dda, tad Maredydd, tywysog y Deheubarth; a'i fab ieuengaf, y Maredydd uchod, yr hwn oedd eisoes, fel y crybwyllwyd, yn dywysog Powys, ac yn enwog fel rhyfelwr dewr, ond odid, a gymmerodd feddiant o'r llywodraeth, heb ofalu nemawr am hawlion ei neiaint, meibion Einion, ei frawd henaf. Ond yn nechreuad ei deyrnasiad, y Daeniaid a oresgynasant y Deheubarth, gan anrheithio y wlad, a distrywio yr eglwysi a'r crefydd-dai yn ddidrugaredd; fel hyn y dywedir am y goresgyniad hwn :—

"O. C. 987, daeth y Daeniaid i foroedd y Deheubarth, a dyfod i dir yn Ngheredigion, a diffeithiaw Llanbadarn, a Llandudoch, a Llanrhystyd; a gwedi hyny, myned hyd ym Mynyw, a diffeithiaw yr eglwys, a dwyn ei thlysau; ac wedi hyny, myned ar hyd for Hafren hyd ym Morganwg, a diffeithiaw cor Illtud, a chor Cattwg, a chor Cynghar, a Llandaf, ac ereill o'r eglwysi goreu yn y wlad; a hefyd llosgi ydau, a lladd ysgrubliaid, onid aeth newyn angerddawl ar y wlad, ac y bu farw llawer o ddynion achaws hyny."

Am fod Maredydd yn analluog ar hyn o bryd i'w gwrthladd â grym arfau, efe a brynodd eu heddwch trwy dreth o geiniog y pen, ar ei ddeiliaid: ac nid rhyfedd ei fod wedi ei ddwyn i'r fath gyfyngder, canys ymddengys ei fod mewn gelyniaeth â'r rhan fwyaf, os nid yr oll, o'i gyd-dywysogion Cymreig; ac felly nid yw yn annhebyg fod rhai o'r rhai hyny yn anog, os nad yn cynnorthwyo y Daeniaid yn y cadruthrau hyn. Fe elwid y dreth uchod *Glomael*, medd rhai,* am ei bod yn cael ei thalu mewn glo, efallai, o'r hwn yr oedd cyflawnder mewn rhanau o'r Deheubarth: pa hyd y bu y Deheuwyr yn talu y dreth hon, nis gallaf ddangos yn benderfynol; ond er mor gyfyng y bu ar y Gwyneddwyr lawer gwaith, gellir dweyd hyn i'w clod, nad ymostyngodd un o'u tywysogion erioed i dalu y cyfryw dreth a hon dros eu deiliaid, i'r Daeniaid anwar.

Yn mhen tua dwy neu dair blynedd wedi hyn, cyfodai Edwyn ab Einion fyddin gref o Saeson a Daeniaid, a goresgynodd diroedd Maredydd—sef, *Ceredigion*, a *Dyfed*, a *Gwyr Isaf*, a *Chedweli;* ac er dial am y sarhad yma, Maredydd yntau a ddinystriodd dref Maeshyfaidd, ac a anrheithiodd Forganwg; ond yn ddisymwth, pan oedd fflamau rhyfel cartrefol wedi

* Jones's Hist. of Wales, pp. 55, 56.

gwneyd y wlad yn anrheithiedig, a pheri newyn tost yn mysg y trigolion, cymmododd y ddau dywysog; a thrwy fod ei unig ei unig Cadwallawn wedi ei ladd yn y rhyfelgyrch blaenorol i Forganwg, yr oedd gobeithion Edwyn yn loywach am ei olynu yn y llywodraeth, os byddai iddo ei orfucheddu; ac o hyny hyd ei farwolaeth, cawn Edwyn yn ymladd dan luman Maredydd.

Idwal ab Meurig, iawn etifedd gorsedd Gwynedd, a ffoisai am nawdd at Ithel ab Morgan, tywysog Morganwg; am hyny Maredydd yn eiddigus o honaw, gan ei fod yn gwybod fod tuedd y gogleddwyr ato, a ddaeth i amodau heddwch âg Edwyn ab Einion, fel y caffai ei gynnorthwy i ymosod ar Forganwg, am yr hyn y cawn y crybwylliad canlynol yn y Brut: "Yn yr un flwyddyn ac amser, ydd oedd Maredydd yn anrheithiaw cyfoeth Ithel ab Morgan, tywysog Morganwg; ac yn heddychu rhwng Edwin a Maredydd, a myned â'u holl nerthoedd, ac anrheithiaw gwlad Forgan yn aruthrawl; ac yna Hywel ab Morgan, brawd Ithel, a ddangoses ei ewyllys i wŷr y wlad, ac y goflaenai efe hwynt, lle bai onid dau a ddelai gydag ef; ac ar hyny ymgynnullasant bobl y wlad attaw, yn wŷr ac yn wragedd, ac yn feibion ac yn ferched, pob un âg arf a geffid wrth law, ac yn erbyn Maredydd ac Edwyn, a gyru ffo arnynt, a dwyn oddiarnynt eu hysbail, a lladd eu gwŷr yn dost, yn ngwaith *Cors Einion*, lle y llas Cadwallawn, fab Maredydd."

Yn y cyfamser, tra yr oedd y pethau hyn yn cymmeryd lle yn y parthau deheuawl, y Daeniaid duon a oresgynasant Ynys Fon unwaith eto; a'r trigolion, yn eu cyni, a anfonasant at bendefigion Gwynedd, i ddeisyf arnynt ethol tywysog i feddiannu yr orsedd, ac i'w blaenori yn erbyn eu gelynion; ac felly gan mai Idwal ab Meurig oedd yr etifedd nesaf o gyfiawnder i orsedd y gogledd, efe a etholwyd i fod yn ben-lluyddwr iddynt; ac yntau, wedi derbyn cymhorth gan ei noddwr caredig Ithel ab Morgan, a ddisgynodd ar warthaf y Daeniaid, o ba rai y lladdwyd llawer, a'r lleill a yrwyd ar ffo. Wedi gwaredu y wlad oddiwrth y gormeswyr yma, efe a ymroddes i osod trefn ar y trigolion, gan eu dysgu i'w cyfleu eu hunain a'u gwlad yn y fath gyflwr diffynol, fel y byddent yn fwy dyogel rhagllaw oddiwrth gadruthrau y Daeniaid, neu unrhyw elynion ereill; a buan y gwelid effeithiau daionus ei drefniadau doeth. Fel hyn y dywedir am danaw:—

"Ac Idwal a fu yn dywysawg clodfawr a chyfiawn, ac a wnaeth lywodraeth ar Wynedd, a threfn a weddai ar heddwch a rhyfel; canys ef a ddysged gan Hywel ab Morgan Mawr; ac efe yn ben doethion y Cymry yn y gwybodeu a ddylai tywysawg eu deall a'u cynnal, tra fu efe ar ffo yn llys Ithel, tywysawg Morganwg, ac yn nawdd cor Llanfeithin, yn Nantgarfan; a mynych y tored y gor hono, yn amcan ei ddal a'i ladd, gan Einion ab Owain, a Maredydd ab Owain, a chan y Daeniaid a'r Saeson."

Fel hyn, gwelwn fod Idwal wedi gwneyd y defnydd goreu o'i ddeoliad, er ei gymhwyso ei hunan i weinyddu llywodraeth Gwynedd, os byth y'i gelwid i'r orsedd; ac wele, y mae efe yn dechreu yn dra chymhwys. Ond ni allai yspryd aflonydd Maredydd oddef gweled arglwyddiaeth Gwynedd yn cael ei dwyn oddiarnaw, heb wneyd unrhyw ymdrech i'w hadenill; am hyny efe a gynnullawdd ei holl luoedd, a chydag Edwyn ab Owain, efe a'u harweiniodd i Wynedd; ond yn Llangwm, swydd Dinbach, fe'i cyfarfyddid gan Idwal a'i fyddinoedd, lle y cafodd ei faeddu yn dost; ac yn mysg y lladdedigion yr oedd Tewdwr ab Einion ab Owain ab Hywel Dda, yr hwn a gyfenwir mewn hanesion, "Tewdwr Mawr."

Dywaid rhai haneswyr hefyd fod Edwyn ab Einion wedi cwympo yn y cadgyrchiad yma, mewn brwydr a ymleddid yn nghymmydogaeth Clynog,

lle y cyfodid croes yn gofgolofn iddo, a'r geiriau hyn arni—*Edwini occisio*, "Cwymp Edwyn." Y flwyddyn ganlynol, bu farw Maredydd ab Owain, ac felly darfu am ei rwysg.

Ond er i Idwal orchfygu ei gydgenedl a'i garenydd a gyfodasant fel hyn i'w erbyn mewn arfau, ni chafodd prin hamdden i dynu ei anadl, a sychu ei chwys, nad oedd mintai elynol o'r Daeniaid, dan dywysiad blaenor o'r enw Swayn, yn dechreu goresgyn ac anrheithio ei wlad, gan fwriadu, efallai, darostwng Gwynedd dan deyrnged, megys y gwnaethent â'r Deheudir eisoes: ond Idwal a arweiniodd ei wŷr yn eu herbyn, a'r ddau lu a gyfarfuant yn Mhenmynydd, yn Mon, lle y bu cad galed, ac ynddi y cwympodd y tywysog Idwal ab Meurig, er galar mawr i'r holl wlad. Efe a adawodd ar ei ol un mab, o'r enw *Iago;* ond yr oedd hwnw yn blentyn rhy ieuanc i feddiannu yr orsedd. A'r un ffunud, bu farw Maredydd ab Owain heb adael ar ei ol onid un ferch, *Angharad*, yr hon oedd wedi ei dyweddio i fachgen ieuanc, o'r enw Llewelyn ab Seisyllt, am yr hwn y dywedir nad oedd onid pedair ar ddeg oed pan fu farw ei dad-yn-nghyfraith—y tywysog Maredydd; a hyn a roddai yr orsedd, fel y sylwa Mr. Price, "megys camp-wobr i'r ymgeisydd mwyaf llwyddiannus:" ac yn fuan iawn y gwelid y cyfryw ymgeisyddion trachwantus yn y maes. Y cyntaf oedd *Aeden*, neu *Edwin ab Blegored*, yr hwn a ddechreuodd ei rwysg yn y Deheubarth, gan dywys y Daeniaid i Ddyfed, "trwy gynghor a phorth *Iestyn ab Gwrgant*," pan y llosgasant Fynyw, ac y lladdasant Morgeneu, esgob Dewi. Dyma y coffa a gawn am *Aeden*, neu *Aeddan*, yn llyfr Aberpergwm:—

"Yr un flwyddyn y bu farw Ithel, tywysawg Morganwg, ac yr aeth *Gwrgan* ei fab yn ei le, a thywysog doeth heddychgar ydoedd efe; ond Iestyn ei fab a garai aflywodraeth, ac a fynai ryfel ac anheddwch; ac yn y flwyddyn hono y priodes ei ferch *Bleddyn ab Cynfyn*, tywysawg Powys, a'i henw *Denis;* ac efe a gafas gan Wrgan ei dad, gwmwd Tref Essyllt, ac yno y gwnaeth efe gastell, a dodi arnaw enw *Denis Powys*, ac a gymmerth attaw Aeddan ab Blegwryd ab Morgan Mawr, ac a fwriadasant ryfel er enill cyfoeth Maredydd, ac ymbarottoi gwŷr at hyny; a danfon a wnaethant at y Daeniaid, a gwahawdd i Geredigion: ac yno y daethant, ac a losgasant Arberth. A'r flwyddyn hono hefyd y priodes Llewelyn ab Seisyllt, arglwydd Maes Essyllt, Yngharad, ferch Maredydd ab Owain, ac efe yn ŵr ieuanc nid mwy nac oed pedair blwydd ar ddeg."

"O. C. 1000, y dyg Aeddan ab Blegwryd gad hyd yn Ngheredigiawn, ac ynnill cyfoeth Maredydd a orug, herwydd nid oedd Llewelyn ab Seisyllt hyd yn hyn yn oed gŵr, i gael braint ar gyfoeth Yngharad ei wraig; a myned hyd yng Ngwynedd y mynai Aeddan, ac yn ei erbyn ef y daeth Cynan ab Hywel, a bu cad ar faes rhyngddynt, lle gorfu Aeddan, ac o hyny ynnill gwlad Wynedd a'i chyfoethau. Wedi ynnill o Aeddan holl Gymru o'r mor beugilydd, efe a beris drefnu llywodraeth a chyfreithiau, ac adgyweiriaw eglwyseu a chorau a dorresid yn rhyfel; a chan nad oedd iddaw fab, efe a drefnwys yn etifedd iddaw, Rydderch, fab Iestyn ab Gwrgan."

Gallwn gasglu fod y Cymry wedi cael gradd o seibiant dros yspaid deg neu bymtheng mlynedd o deyrnasiad Aeddan ab Blegwryd, gan fod y Saeson ar lawn waith gyda'r Daeniaid, y rhai erbyn hyn oeddynt wedi barnu fod yn haws iddynt ddarostwng Lloegr na Chymru; ac felly tröent eu holl egniadau i feddiannu a chadw meddiant o'r rhan hono o'r ynys; canys yn y flwyddyn 1004, *Swayne*, tywysog Denmarc, a laniodd gyda byddin gadarn ar ororau Lloegr, ac a orthrechodd *Ethelred*, brenin Lloegr, gan ei yru ar ffo i Ffrainc: ac efe a feddiannodd orsedd Lloegr, a hi a

gadwyd gan ei gydwladwyr dros dri theyrnasiad ar ei ol—sef, gan *Canute*, *Harold*, a *Hardicanute*.

Yn y flwyddyn 1015, *Llewelyn ab Seisyllt*, yr hwn erbyn hyn oedd wedi dyfod i'w gyflawn oedran, a amcanodd enill yr etifeddiaeth a'r awdurdod a olygai yn eiddo cyfiawn iddo, yn hawl ei wraig, fel merch Maredydd ab Owain; ond Aedan ab Blegwryd a ddaliai yn gyndyn dros ei hawl yntau, fel un yn hanu o hen freninoedd Cymru—nid amgen na *Bran ab Llyr Llediaith* a'i welygordd. Heblaw hyny, honai Llewelyn hawl i arglwyddiaeth Gwynedd hefyd, fel un a ddeilliai o freninoedd Cymru, o du ei fam, *Trawst*, ferch *Elise*, ail fab *Anarawd ab Rhodri Mawr;* felly Llewelyn, wedi meddiannu rhanau o'r Deheubarth, a gyrchodd tua'r gogledd gyda byddin gref; ac mewn brwydr a gymmerodd le yn y canlyniad, lladdwyd Aeddan a'i bedwar nai. Nid yw yn annhebyg fod llawer o'r gogleddwyr yn ffafrawl i'r goresgyniad yma o eiddo Llewelyn; gan na chyfrifent Aeddan, yr hwn a droisai *Iago ab Idwal*—y gwir etifedd—o'r neilldu yn ddisylw, yn ddim amgen na thrawsfeddiannwr eu gorsedd.

*Llewelyn ab Seisyllt* yntau ni ddychwelodd lywodraeth Gwynedd i Iago ab Idwal, ond a'i meddiannodd ei hunan—yn nghydag arglwyddiaethau Powys a Deheubarth; a bu blyneddoedd cyntaf ei deyrnasiad yn dra llwyddiannus, gan ei fod ef ei hunan yn benadur doeth, tyner, a chyfiawn, ac o anianawd heddychlawn. Ymddengys ddarfod iddo osod ei frawd, *Hywel ab Seisyllt*, fel ei raglaw ar Wynedd, a llywodraethu holl Gymru rhyngddynt yn anrhydeddus a chyfiawn. Ac fel y canlyn y darlunir cyflwr y genedl yn ystod eu teyrnasiad:—"Ac yn yr amser y buant, y bu gyfoethawg y Cymry, a'r ddaear yn gnydfawr, a'r blynyddoedd yn rhywiawg, a heddwch a chyfraith yn cael eu lle yn y wlad; ac i'r holl deuluoedd eu tai, ac i'r holl dai eu teuluoedd; ac i bob tir ei lafurwr, ac i bob llafurwr ei dir; fel y daeth llawnder digonol i'r wlad, ac i'r holl wlad ei llawnder digonol."*

Ond er cystal penadur oedd Llewelyn, yr oedd y genedl wedi ymarfer cymmaint â therfysgoedd a rhyfeloedd, fel y gellid meddwl eu bod yn blino yn fuan ar heddwch ac esmwythder; ac am hyny, yn y flwyddyn 1020, *Meurig ab Arfael ab Blegwryd* a lwyddodd i gynnull nifer mawr o wŷr dan ei luman, mewn gwrthryfel yn erbyn Llewelyn, ar fedr adenill teyrnedd y wlad oddiarno; ond i'r gwrthwyneb y bu, canys Llewelyn a ymluyddodd i'w erbyn: ac mewn brwydr a fu rhyngddynt, Llewelyn a laddodd y gwrthryfelwr â'i gleddyf ei hun. Eto, yn ystod y flwyddyn ganlynol, daeth rhyw grwydryn dichellgar o Ysgotyn, ac a berswadiodd lawer o bobl y Deheudir, ei fod yn fab i'w hen dywysog Maredydd ab Owain, ac mai ei enw oedd *Rhun ab Maredydd;* a chynnullodd fyddin fawr dan ei luman, i gymmydogaeth Abergwili. Ond Llewelyn a gasglodd ei fyddin o Wyneddwyr, ac a'i harweiniodd i gyfarfod Rhun, yr hwn erbyn hyn a gefnogid gan holl gryfder y Deheubarth; a cherllaw Abergwili y bu brwydr galed iawn rhyngddynt,—ond o'r diwedd, y Gwyneddwyr a drechasant, gan yru y Deheuwyr i ffoi; a chan erlyn ar ol Rhun, hwy a'i daliasant, ac a'i lladdasant, er ei holl ddichellion.

Gallasid dysgwyl y buasai Llewelyn yn cael mwynhau cyfnod maith o heddwch bellach; ond gan i'r bradwyr fethu ei drechu ar faes teg, hwy a benderfynasant ddwyn eu hamcanion yn mlaen trwy ystrywiau; canys fe'n hysbysir fod *Awlaff*, yn arwain y llu du a'r Ysgotiaid Gwyddelig, wedi dyfod drosodd i Frydain y flwyddyn ganlynol—drwy gymhelliad *Hywel* a *Maredydd*, meibion *Edwin ab Einion*, debygid—gan ddrygu ffordd

* Y Brut, tudal. 84.

y cerddai; ac efe a gyrhaeddodd hyd Dy Ddewi, ac a dorodd yr eglwys, ac a anrheithiodd Ddyfed yn dost; a Hywel ab Seisyllt a aeth yn eu herbyn, ac efe a laddwyd yn y frwydr hono.

Yna y daeth yr Ysgotiaid i Gaerfyrddin, a chyda hwynt *Hywel* a *Maredydd*, a llu mawr o Ddeheuwyr gwrthryfelgar; ond Llewelyn ei hun a arweiniodd ei fyddin yn eu herbyn, ac a'u llwyr orchfygodd, gan yru Awlaff a'i fyddin ar ffo; ond yn fuan wedi enill o hono y fuddugoliaeth hon, Hywel a Maredydd a'i llofruddiasant—naill ai â'u dwylaw eu hunain, neu trwy ddwylaw rhyw leiddiaid a gyflogasent i'r perwyl. Y tywysog hwn oedd yr hwn a adeiladodd gastell Rhuddlan gyntaf, ac yno y cyfaneddai yn benaf. Efe a adawodd un mab ar ei ol; am yr hwn, dan yr enw *Gruffudd ab Llewelyn*, y cawn draethu eto cyn diwedd y Ddarlith hon.

Y gwarth cyssylltiedig â llofruddiaeth Llewelyn ab Seisyllt a barai nad oedd un siawns i Hywel na Maredydd gael eu dyrchafu i benaduriaeth Gwynedd, gan hyny rhoddid arfod manteisiol i *Iago ab Idwal ab Meurig* i ymestyn am y deyrngadair, ar farwolaeth Llewelyn; felly efe a ddewiswyd i lywodraethu ar Wynedd. Yn y cyfamser, *Rhydderch ab Iestyn* a gymmerth feddiant o orsedd y Deheubarth trwy rym arfau; ac felly, bu raid i Hywel a Maredydd fod yn dawel dros rai blyneddoedd. Ond o'r diwedd, hwy a aethant drosodd i'r Iwerddon, ac a gyflogasant lu cadarn o'r Ysgodogion Gwyddelig, y rhai a ddygasant drosodd i'r Deheubarth, yn erbyn Rhydderch ab Iestyn, yr hwn a laddwyd ganddynt mewn brwydr, ac felly yr adfeddiannasant lywodraeth y Deheubarth; ond ni chawsant heddwch hir, canys *Iestyn ab Gwrgan*, tywysog Morganwg, a gynnorthwyodd ei wyrion, meib Rhydderch, i ddodi cad ar faes yn erbyn Hywel a Maredydd, a'r canlyniad fu brwydr Traethwy, neu Hiraethwy, lle y gyrwyd Iestyn a'i wyrion ar ffo. Y flwyddyn ganlynol, lladdwyd *Maredydd ab Edwyn*, yn mrwydr Machwy, gan feibion *Cynan ab Seisyllt*, er dial am alanas eu hewythr; ac yn mhen ychydig wedi hyny y daeth y Saeson i Went, a *Charadawg ab Iestyn* a laddwyd, yn ymladd yn eu herbyn; yna yr aeth y Saeson rhagddynt i Forganwg, ac yn Ystradywain y'u gwrthladdwyd drachefn; ond yn y frwydr hono lladdwyd *Cynan ab Seisyllt*, a'i holl feibion. Yna y daeth *Rhotpert ab Seisyllt*, arglwydd Maes Essyllt, a brawd *Cynan*, yn eu herbyn; ac efe a ruthrodd arnynt yn Llancwywan, gan ladd llawer o honynt, a gyru y gweddill i ffoi yn warthus, a dwyn oddiarnynt eu holl yspail fawr. Ar yr achlysur yma yr ymheddychodd *Iestyn ab Gwrgan* â *Rhotpert ab Seisyllt;* a chan ei fod yn awr yn weddw, efe a geisiodd ferch hynaf Rhotpert, yr hon a elwid *Arddeu*, yn wraig; ond ni chydsyniai ei thad â hyny, am fod Iestyn yn hen; ac am hyny Iestyn, wedi gwylio ei gyfle, a wnaeth yr un sarhad â hi ag a wnelsai efe â merched ereill o bendefigion y dywysogaeth. Yr ymddygiad yma a gythruddodd Rotpert yn dost, ac efe a wahoddodd ei nai, *Gruffudd ab Llewelyn*, i ymosod ar Iestyn, er dial y cyfryw sarhad; yn ol yr anogiad yma, Gruffudd a gynnullodd ato lawer o wŷr, ac wedi cyflawni amcanion ei ewythr yn y Deheubarth, a deall ei fod yn boblogaidd yn y wlad, ar gyfrif ei dad clodforus, efe a drodd tua'r gogleddbarth, gan gymmeryd rhyw esgus i ymosod ar Iago ab Idwal—ffoedigaeth Hywel ab Edwyn ato, ar ol ei orchfygu gan Gruffudd yn Mhencadair, medd rhai; ac erbyn i Gruffudd gyrhaedd hyd Wynedd, yr oedd ganddo lu dirfawr, ac yn eu mysg rai o filwyr dewisolaf y wlad, y rhai a fuasent yn ymladd dan ei dad enwog lawer gwaith; ac mewn brwydr galed, lladdwyd Iago. Gruffudd erbyn hyn a gymmerth arno lywodraeth Cymru oll, "o for Udd hyd yn mor Hafren." Y tywysog Iago a adawodd fab ar ei ol, o'r enw *Cynan;* ond gorfu i hwnw ffoi i'r Iwerddon.

Prin y cafodd Gruffudd esgyn i'r orsedd, na ddaeth lluoedd unedig y Saeson a'r Daeniaid i ymosod ar ei wlad; yna y tywysog ieuanc a arweiniodd ei fyddin i'w herbyn, ac efe a gyfarfu â hwy wrth *Ryd y Groes*, ar Hafren, lle y rhoddodd gurfa drwyadl iddynt, fel y bu dda ganddynt ddianc i'w gwlad eu hunain, yn golledus a gwaradwyddus. Oddiyno efe a arweiniodd ei fyddin i Lanbadarn fawr, yr hon a lwyr ddistrywiodd; ac yna efe a aeth trwy yr holl Ddeheubarth, gan dderbyn gwarogaeth y bobl yn mhob man; canys Hywel a ffoisai rhagddo eilwaith, wedi brwydr Llanbadarn, ac a geisiasai nodded gydag *Edwin*, brawd *Leofric*, duc y Mers, yr hwn a'i cynnorthwyodd â byddin gref o Ddaeniaid a Saeson, i dynu y dorch â Gruffudd unwaith eto; ac yn *Mhwll Dyfach* y bu cad rhyngddynt; ond *Gruffudd* a enillodd y maes yno hefyd, gan ladd *Edwin*. Ond Hywel a'r rhan fwyaf o'r fyddin a ffoisant; ac fel yr oeddynt yn ffoi, daethant ar draws llu arall o Ddaeniaid a Saeson yspeilgar, y rhai oeddynt yn brysur yn anrheithiaw Dyfed, gan dybied yn ddiau y cawsent ddwyn eu hysbail i'w llongau, cyn i neb arfogion eu goddiweddyd; ond Hywel a'i wŷr a laddasant lawer o honynt, ac a ddaliasant rai yn garcharorion, a'r lleill a ffoisant i'w llongau, ac a wnaethant eu goreu o'r dwfr.

Yn un o'r cadgyrchoedd hyn, dygasai Hywel ei wraig i'w ganlyn, fel y gwelai y modd y buddugoliaethai efe ar Gruffudd; ond i'r gwrthwyneb y bu, a thrwy gyfyngder dirfawr y cafodd Hywel ddianc â'i einioes yn ysglyfaeth ganddo; ond ei wraig a syrthiodd i ddwylaw y buddugoliaethwr, yr hwn a'i cymmerodd ac a'i cadwodd yn ordderch iddo ei hunan; ac y mae yn ddiau mai dyma y weithred a warthruddodd fwyaf o bob peth ar enw y tywysog hwn.

Wedi y fuddugoliaeth hon, gwnaeth y tywysog Gruffudd amryw gadruthrau ar y cyffindiroedd, oddeutu Henffordd, gan ddwyn yspail fawr yn wastadol.

Tua'r adeg yma, sef 1042, y daeth *Cynan ab Iago ab Idwal*, yr hwn a briodasai ferch brenin Dulyn, a llu mawr o Wyddelod ganddo, drosodd i Wynedd; a thrwy ryw ystryw, efe a ddaliodd y tywysog Gruffudd yn garcharor; ond gwŷr y wlad a gyfodasant arfau, ac a achubasant eu tywysog o law ei elynion, gan ymlid y Gwyddelod, a'u gyru i'r mor, yn fawr eu colled; a bu Cynan yn llonydd am beth amser wedi'r aflwydd hwn.

Er cynnifer gwaith y baeddasid Hywel, nid oedd wedi digaloni eto; ond efe a gynnullodd fyddin gref eto o Ddaeniaid a Saeson, a chynnifer ag a allai gael i'w gefnogi o wŷr y Deheubarth—yn mysg ereill, fe debygid fod meibion Rhydderch ab Iestyn yn ei gynnorthwyo—a thrwy dwyll a brad, lladdasant gant a haner o oreugwyr y wlad, yn Ystrad Tywi, y rhai oeddynt ffyddlawn i'r tywysog Gruffudd. Ond y tywysog a brysurodd i'w gyfarfod eto, ac ar ol eu herlid hyd Abertywi, ymladdwyd brwydr ofnadwy, yn yr hon y lladdwyd Hywel, ac agos ei holl wŷr; ac fel hyn y cyflawnwyd dialedd llwyr ar Hywel a'i deulu, am lofruddiad Llewelyn ab Seisyllt.

Fe allasid dysgwyl y cawsai Gruffudd feddiant tawel, wedi marwolaeth Hywel, o arglwyddiaeth y Deheubarth: ond *Caradawg* a *Rhys*, meibion Rhydderch ab Iestyn, a honent eu hawl iddi, am fod eu tad dros ychydig yspaid wedi bod yn y llywodraeth; felly hwy a ddygasant lu mawr o wŷr o Went a Morganwg i'r maes, a'r tywysog Gruffudd a arweiniodd ei fyddin i'w herbyn; ond ni bu mor lwyddiannus y tro hwn ag yr arferai: canys wedi ymladd caled hyd y nos, yr oedd y ddwy fyddin yn rhy luddedig i ail ddechreu ymladd dranoeth; ond dychwelai y ddau lu, bob un tua'u gwlad, i ymofyn adgyfnerthiad. Fel hyn y cofnodir y frwydr hynod hon yn y Brut:—

"Yn y flwyddyn 1050, y daeth Caradawc a Rhys, dau fab Rhydderch ab Iestyn, a llu mawr o wŷr Morganwg a Gwent, yn erbyn Gruffudd ab Llewelyn, er ynnill oddiarnaw lywodraeth Deheubarth—a Gruffudd yn eu herbyn; ac ymladd a fu rhyngddynt annhebyg i a fu erioed, namyn y *Gad Gamlan;* a lladdwyd cymmaint o bob plaid, oni orfu ar y ddau lu ymchwelyd yn eu hol, heb a ellid ei alw yn ynnill i nac un na'r llall o honynt, a gwaedlytted yr aerfa rhyngddynt."

Yn nnion wedi myned y frwydr galed yma drosodd, deallai meibion Rhydderch ab Iestyn fod y Saeson wedi llosgi cestyll *Caradawg*—sef, Dindryfan a Threfyfered, yn Morganwg—gan ddwyn yspail ofnadwy o ŷd, a gwartheg, a defaid, a phob rhyw ddaoedd a geffynt; a bu yn llawn bryd iddynt ddychwelyd adref, rhag i ieirll y Saeson ddwyn Morganwg, eu hen dreftadaeth, oddiarnynt. Yn y cyfamser hefyd, hwyliasai Cynan ab Iago unwaith eto o'r Iwerddon, mewn llynges gref, a llu mawr o Wyddelod dan ei dywysiad, ar fedr adenill ei hawl o orsedd Gwynedd; ond cyn cyrhaedd o honynt ororau Cymru, fe'u goddiweddwyd gan dymhestl fawr, yr hon a ddrylliodd amryw o'u llongau, ac a chwalodd y lleill, fel y darfu am yr hynt hon heb i Gruffudd ab Llewelyn orfod codi arf yn ei hunanddiffyniad; ac yn y canlyniad i hyn efe a gafodd ychydig seibiant, yr hwn a ddefnyddiwyd ganddo yn ddoeth i geisio ffurfio llynges at amddiffyn rhanau arforawl ei deyrnas, gan brynu rhai llongau o wledydd tramor, a llogi morwyr cyfarwydd o'r gwledydd hyny i'w hwylio: ac yn wir, nis gallwn lai na synu am na fuasai y tywysogion Cymreig o'i flaen, ac ar ei ol hefyd, wedi gwneyd mwy o ymdrech i gyfodi llynges gref—yn enwedig pan feddyliom fod cymmaint o'u gwlad yn gylchynedig gan y môr; ond ar yr un pryd, y mae hyn yn brawf mai eu prif amcan oedd cadw eu gwlad eu hunain rhag estroniaid, ac nid ymosod ar diriogaethau eu cymmydogion.

Yn y flwyddyn 1057, neu yn ol ereill 1054, cyfodai cwmwl du o'r Deheubarth eto yn erbyn Gruffudd ab Llewelyn; canys *Gruffudd ab Rhydderch ab Iestyn* a gynnullai lu tra nifeiriawg, ac a elai yn ei erbyn; "a bu cad ar faes, ac ymladd trwch a gwaedlyd;" ac yn y frwydr hono y lladdwyd *Gruffudd ab Rhydderch.*

Tua'r adeg yma, darfu i Edmwnt, brenin Lloegr, alltudio un o'i bendefigion—*Algar, iarll Caerlleon Gawr*, yr hwn a aeth i'r Iwerddon, ac a logodd ddeunaw o longau morladronaidd, gyda'r rhai y dychwelodd efe at Gruffudd ab Llewelyn, a hwy a gytunasant i wneuthur cadgyrchiad i Loegr; ac fel yr oeddynt yn ymosod ar dalaeth Henffordd, daeth Ranwlph, nai y brenin Edward, yn eu herbyn â byddin luosog; ond yn y frwydr gyntaf, yr iarll Ranwlph a'i wŷr a ffoisant, a Gruffudd ac Algar a'u hymlidiasant, ac a laddasant bum' cant o honynt: ac wedi enill y fuddugoliaeth, hwy a aethant i ddinas Henffordd, a chan ladd amryw o'r cor, llosgasant yr eglwys; ac ar ol lladd rhai o'r dinasyddion, a chymmeryd ereill yn garcharorion, hwy a ddychwelasant adref gydag yspail fawr. Y mae rhai haneswyr yn dweyd, ddarfod i'r brenin, pan glybu am hyn, gyfodi byddin gref, a'i rhoddi dan flaenoriaeth *Harold*, mab *Iarll Godwyn*, i ddial am y sarhad yma; ac i Harold fyned ar ol Gruffudd ac Algar hyd fynyddoedd Eryri; a dywaid y Brut i gad ar faes gymmeryd lle rhyngddynt, yn yr hon y buddugoliaethai y Cymry ar y fyddin freninawl; ac y mae adgymmodiad Algar â'r brenin yn fuan ar ol hyn, dychweliad Harold i Henffordd, a'i ymroad i'w diffynu â chaerau, rhag y buasai y Cymry yn ymosod arni drachefn, yn tueddu i gadarnhau y cyfryw chwedl, debygid.

Yn ebrwydd ar ol hyn, cawn ef yn gwneyd cadgyrchiad arall, gyda'r

cyffelyb lwyddiant; canys fel hyn y dywedir:—"O. C. 1059, daeth *Macht ab Harallt* i Gymru, a llu dirfawr yn ei osgordd; a'r tywysawg Gruffudd a Macht yn ymgyfun eu lluoedd, a aethant yn erbyn y Saeson, ac a ddiffeithiasant wlad Loegr hyd yn mhell yn ei pherfedd, a dychwelasant yn ol i Gymru âg yspail fawr ganddynt."

Ond er mor wrhydrus a llwyddiannus a fuasai y tywysog hwn yn llywodraethu Cymru dros bedair blynedd ar ddeg ar hugain, rhoddwyd pen ar ei einioes ac ar ei lywodraeth mewn modd gwarthus, trwy frad a thwyll *Madawc Min*, esgob Bangor, yr hwn ddeugain mlynedd yn gynt, debygid, a fuasai yn prif offeryn brad a llofruddiad Llewelyn ab Seisyllt. Dywedir fod Harallt, brenin y Saeson, wedi addaw tri chant o ychain iddo am fradychu Gruffudd ab Llewelyn; ac wedi iddo gyflawni y brad a'r llofruddiaeth, gomeddai y brenin dalu yr ychain iddo; ac o dan y siomedigaeth yma, ac yn ngwyneb y peryglon yr oedd ynddynt o herwydd ei frad, efe a gymmerth long i encilio i Ddulyn, yn yr Iwerddon; ond y llestr a suddwyd yn y mor—eto ni bu colled am fywyd neb ond Madawc Min ei hunan; ac fel hyn y'u goddiweddwyd â dialedd dwyfol am ei fradwriaeth.*

Y mae lle go gryf i farnu bod Harallt, mab Edward frenin, a gyfenwid "y cyffeswr," wedi cael gan amryw o bendefigion y Deheudir ymunaw âg ef yn erbyn Gruffudd; a dywedir fod Algar, iarll Caer, wedi ei ddeoli eilwaith gan frenin Lloegr, wedi myned yn unionsyth am swcwr at Ruffudd ab Llewelyn i Ruddlan, trwy gynnorthwy yr hwn, yn nghyda llynges o Lychlyn oedd tua'r glanau, yr adferwyd ef eto i'w iarllaeth; ond disgynodd Harallt, gyda byddin gref, mor ddisymwth ar warthaf y tywysog yn ei lys yn Rhuddlan, fel nad oedd ganddo hamdden i wneyd y parotoad lleiaf i'w gwrthladd; ac nid oedd ganddo ddim i'w wneyd ond dianc mewn llestr fach a ddigwyddodd fod yn ngenau yr afon. I ba le yr aeth y tywysog Cymreig, ar y pryd hwn, nid yw yn hysbys; ond ymddengys fod Harallt wedi erchi i'w lynges amgylchynu gororau Cymru, er ei gwneyd yn dra anhawdd iddo ddychwelyd; ac yn y cyfamser, defnyddid pob ystrywiau i geisio oeri y bobl tuag ato. Yr oedd Harallt hefyd yn cymmeryd mantais ar gyflwr dinerth a digalon pobl y wlad, i'w mathru yn gydwastad â'r llawr. Ond yr haf canlynol, cafodd Gruffudd arfod yn rhyw fodd i gyrhaedd i'r wlad, ac efe a ymroddes yn ol ei arfer i gyffroi y gogleddwyr i gyfodi yn erbyn y gorthrymwr: gan hwylio ei gamrau tua'r Deheudir, lle yr oedd hiliogaeth fradwrus Rhydderch ab Iestyn yn bradychu en gwlad a'u cenedl i'r gelyn. Ond ar y ffordd yn Muallt, lladdwyd y tywysog *Gruffudd ab Llewelyn*—trwy frad, fel y dangoswyd—gan adael dau fab, *Maredydd* ac *Ithel*, ar ei ol; a merch o'r enw *Nest*, yr hon wedi hyny a fu yn briod â Thrahaern ab Caradawg, tywysog y gogleddbarth.†

Wedi llofruddio y clodforus Gruffudd ab Llewelyn, fel y darluniwyd, rhanwyd arglwyddiaeth Cymru fel y canlyn, yn yr hyn debygid yr oedd llaw fawr gan y brenin Edward, a'i fab Harallt:—Y Deheubarth a roddwyd i *Maredydd ab Owain ab Edwyn*, a Gwynedd a Phowys a roddwyd i *Bleddyn ab Cynfyn* a'i frawd *Rhiwallon*, brodyr unfam â'r tywysog blaenorol; fel y canlyn y dywaid y Brut:—

"O. C. 1062, gwedi lladd *Gruffudd ab Llewelyn*, fe ddoded Maredydd ab Owain ab Edwin yn dywysawg Deheubarth gan Harallt, ac Edwart, brenin y Saeson."

* Iolo Manuscripts, p. 611. Greal, p. 188.

† Wynne's Hist. of Wales, pp. 95, 101. Warrington's Hist. of Wales, pp. 223, 224.

"Brodyr unfam y tywyawg a las, sef Gruffudd ab Llewelyn, a gawsant Wynedd a Phowys—nid amgen, *Bleddyn ab Cynfyn ab Gwerystan*, arglwydd Cibwyr, a *Rhiwallawn* ei frawd; hwy a ddoded yn dywysogion Gwynedd a Phowys, ym mraint etifeddion tywysogion Dinefwr, o Gadell ab Rhodri Mawr. Sef etifeddes y dywysogaeth hono ydoedd *Ynghared*, ferch Maredydd ab Owain ab Hywel Dda, a fu yn wraig briod Llewelyn ab Seisyllt; a gwedi lladd Llewelyn, hi a briodes *Gynfyn ab Gwerystan*, arglwydd Cibwyr, yn Ngwent."

"A'r brodyr hyn, sef Bleddyn a Rhiwallawn, a ddygasant deyrnedd gwlad Bowys o wehelyth Brochwel Ysgithrawc, peth nid oedd iawn ei fod."

"Yr amser hyn ydd oedd *Cynan ab Iago*, cyfiawn berchen Gwynedd, ar gil yn y Werddon, ac nid oedd neb a elai yn ei blaid yng Nghymru, canys ni cherid ei wehelyth achaws eu creulondorau yn lladd a dilygeidiaw a'u gwrthladdent, yn eu hannefodoldeb."

Yn fuan wedi hyn y daeth *William y Goresgynwr* i Frydain, ac y dyg ei fywyd a'i goron oddiar Harallt, yn mrwydr *Hastings*: ond nid yw yn ymddangos i'r Cymry gymmeryd un rhan yn yr ymgyrch hwnw, ac y mae yn dra thebyg nad oeddynt yn teimlo nemawr ddyddordeb yn y naill blaid mwy na'r llall. Efallai na feiddiai Bleddyn a Rhiwallawn wneyd unrhyw ymdrech neillduol ar du eu hen gyfaill Harallt, rhag y buasai meibion Gruffudd ab Llewelyn yn cymmeryd mantais ar y cyfryw achlysur i adfeddiannu etifeddiaeth eu tadau. Pa fodd bynag, nyni a gawn fod Bleddyn a Rhiwallawn wedi ymunaw âg *Edric*, iarll y Mers, mewn cadgyrchiad i rannau o Loegr, tra yr oedd y brenin William drosodd yn Normandi; a hwy a anrheithiasant swydd Henffordd hyd Bont ar Wy, ac a ddychwelasant âg yspail fawr ganddynt. Ond erbyn dychwelyd o honynt o'r cadgyrchiad yma, yr oedd Maredydd ac Ithel, meibion Gruffudd ab Llewelyn, wedi cynnull eu cefnogwyr dan arfau, a bu brwydro caled rhwng y ddwyblaid yn Mechain, swydd Drefaldwyn; yr oedd gan Bleddyn a Rhiwallawn lu mawr o Saeson yn eu byddin, gan fod llawer iawn o Saeson a enciliasant o Loegr rhag gormes y Normaniaid, wedi cael caniatad y Cymry i gydwladychu â hwy yn Mhowys. Yr oedd byddin Bleddyn a Rhiwallawn yn ddau cymmaint o rif a'r eiddo Maredydd ac Ithel, y rhai a wnelid i fynu o wŷr Gwynedd, "eithr gwroldeb a'u cynnaliai yn erbyn eu deurif; eithr achaws twyll a brad, colli'r maes a wnaethant." Yn y frwydr hon lladdwyd Rhiwallawn o'r naill du, ac Ithel o'r tu arall, "a gorfu ar Faredydd ffoi, a Bleddyn a'i dilynws yn dra chaled, gan ei yru i'r mynyddoedd anialaf yn Nghymru, lle y bu farw o newyn ac anwyd. A gwedi hyny, drwy gyfnerth y Saeson, y gwladychodd *Bleddyn ab Cynfyn* yn unig frenin ar Wynedd a Phowys; a *Maredydd ab Owain ab Edwin*, drwy nerth y Saeson, yn dywysawg Deheubarth."

Yn fuan iawn ar ol hyn, tra yr oedd Bleddyn ab Cynfyn wedi cael Gwynedd a Phowys i'w law ei hunan, a'r wlad yn dechreu cael seibiant i gymmeryd ei hanadl mewn heddwch, torodd y danchwa wyllt allan yn y Deheubarth; canys *Caradog ab Rhydderch ab Iestyn*, wedi cyflogi llu cadarn o Normaniaid *Wiliiam Fastardd*, a'u harweiniodd yn erbyn Maredydd ab Owain, ac yn Llanfedwy, yn swydd Forganwg, y bu brwydro caled rhyngddynt, a Maredydd a laddwyd yn y gad hono; ac felly yr aeth y llywodraeth i ddwylaw Caradawg. Ond nis mwynhaodd yr anrhydedd yma yn hir: canys yn yr un flwyddyn "daeth y Normaniaid i Ddyfed a Cheredigion, ac a'i diffeithiasant yn filain, a Charadawc ab Rhydderch a ddyg lu dewisawl o wŷr Gwent a Morganwg a Gwyr, yn eu herbyn, a'u gyru yn ol i'w llongau, a dwyn oddiarnynt eu hyspail; a hyn o waith

gwroldebus a ddyg i Garadawc lawer o gariad gwŷr Dyfed a Cheredigion, y rhai cyn no hyny ni charent wehelyth Caradawc." Ond cyn y flwyddyn ar ol y fuddugoliaeth yma, efe a fu farw o archoll a gawsai yn y rhyfel; a'i fab, *Rhydderch ab Caradawc*, a gafodd y llywodraeth yn ei le ef, ac a ddylynodd wrhydri ei dad, mewn gwrthladdiad llwyddiannus i'r Normaniaid, y rhai a gynnygiasant oresgyn Dyfed a Cheredigion yn fuan drachefn.

Yn mhen tua dwy flynedd ar ol marwolaeth Caradawg, y daeth *Rhys ab Owain ab Edwyn* o Fanaw, lle y buasai yn hir ar gil; a chan gael ei gynnorthwyo gan luaws o bendefigion Ystrad Tywi a Brycheiniawg, efe a barodd lofruddiad y tywysog *Bleddyn ab Cynfyn*, trwy frad, wedi bod yn teyrnasu ar Ogledd Cymru yn ddoeth ac yn deilwng, dros dair blynedd ar ddeg. Heblaw ei fod yn benadur ar Wynedd a Phowys, y mae yn ymddangos ei fod yn berchenog ar diriogaethau eang o'i eiddo personol, megys yr arwyddoceir yn y llinellau canlynol:—

"Bleddyn ab Cynfyn, bob cwys,
Ei hun bioedd hen Bowys."

Er i Bleddyn adael amryw feibion ar ei ol, nid yw yn ymddangos i un o honynt hawlio yr orsedd ar y pryd hwn, ond ei gadael i'w cefnder, *Trahaern ab Caradawc*, yr hwn a briodasai Nest, ferch Gruffudd ab Llewelyn. Mae yn debyg i'r tywysog hwn gael ei ethol i'r llywodraeth gan bendefigion y gogledd, ar farwolaeth Bleddyn, fel y byddent yn gadarnach i wrthsefyll hawlion *Rhys ab Owain ab Edwyn*, yr hwn a ffieiddid ganddynt ar gyfrif y modd bradwrus yn yr hwn y parasai lofruddiad Bleddyn; a Rhys, pan welodd nad oedd un gobaith iddo am orsedd Gwynedd, a anfonodd at Rydderch ab Caradawc, tywysog y Deheubarth, yr hwn yn hytrach na bod i'w wlad gael ei hanrheithio a'i gwanhau trwy ryfel, a gytunodd âg ef i gyd-lywodraethu y dywysogaeth dros ystod eu bywyd, ac i'r hwn fyddai byw hwyaf gael yr holl lywodraeth i'w law. Ond cyn pen dwy flynedd, lladdwyd *Rhydderch ab Caradawc* gan un o'i geraint ei hun, o genfigen a dig am yr amod a wnelsai â Rhys ab Owain; ac o fewn yr un flwyddyn, *Goronwy* a *Llewelyn*, meibion *Cadwgan ab Bleddyn ab Cynfyn*, a ddaethant i'r Deheubarth, a llu mawr ganddynt, i ddial galanas eu tadcu ar Rys ab Owain; a chyda hwynt yr ymunodd *Caradawc ab Gruffudd ab Rhydderch*, a byddin gref ganddo o Went a Morganwg; ac mewn brwydr a gymmerth le yn y canlyniad, lladdwyd Rhys ab Owain a'i frawd Hywel. Fe ellir casglu oddiwrth rai cofion bod Trahaern ei hunan yn blaenori byddin ei neiaint y tro hwn, er dial galanas ei ewythr ef, a'u taid hwythau.

Erbyn hyn ymddangosai ymgeisydd arall am goron Gwynedd—sef, *Gruffudd ab Cynan ab Iago*, yr hwn a ddaeth o'r Werddon (lle y'i ganesid, tra yr oedd ei dad yn ddeoledig yn achos terfysgoedd blinion ei wlad ei hun,) a llu mawr ganddo, ac efe a oresgynodd Ynys Fon; ond fel yr oedd yn dyfod rhagddo yn ei oresgyniad o Wynedd, Trahaern ab Caradawc a'i cyfarfu yn agos i Harlech, ac a'i gyrodd ar ffo, fel y bu raid iddo ddychwelyd i'r Werddon.

Yn mhen dwy neu dair blynedd—sef, tua'r flwyddyn 1077—daeth *Rhys ab Tewdwr* o Lydaw, gan honni ei hawl i dywysogaeth y Deheubarth, fel yr etifedd cyfiawn; a llawer o wŷr goreu y wlad a ymunasant âg ef, gan fod gair uchel iddo, am ddoethineb, a phob cymhwysderau i fod yn llywodraethwr: ac felly dychwelwyd arglwyddiaeth y Deheudir i'w pherchenog priodol, o hawl a thadogaeth.

Ac er i *Gruffudd ab Cynan* fod yn aflwyddiannus yn ei gadgyrchiad

cyntaf, efe a roddes gynnyg eto yn y flwyddyn 1080, gan ddwyn gydag ef lu mawr o Ysgodogion y Werddon, ac efe a gytunasai â Rhys ab Tewdwr i'w gynnorthwyo yn ei ymdrechion i adfeddiannu ei dreftadaeth oddiar Trahaern; ac ar fynydd *Carno* y bu cad rhyngddynt, lle y lladdwyd Trahaern, a chydag ef luaws mawr o fonedd a gwerin: ac yn y canlyniad i'r frwydr hono, dymchwelodd llywodraeth Gwynedd hefyd i'w chyfiawn berchen.

Tua'r cyfnod yma yr oedd y Normaniaid yn dechreu trachwantu Cymru, fel y gwelsom grybwyllion yn flaenorol am eu hymdrechiadau drachefn a thrachefn i oresgyn Dyfed a Cheredigion. Tua'r flwyddyn 1070, ar ol goresgyn yr ardaloedd Seisnig cyfnesawl, blaenor o'r enw *Baldwin*, a enillodd ran o Bowys, ar gyffiniau *Clawdd Offa*, ae a adeiladodd yno gastell, yr hwn a alwyd ar ei enw ef; a'r lle a geidw ei enw yn Nghymraeg hyd heddyw—sef, Trefaldwyn—ac y mae yn debyg mai dyma y sefydliad cyntaf o eiddo y Normaniaid yn Nghymru. Y flwyddyn ganlynol gwthiasant yn mlaen; a *Gwilym y Goresgynydd* ei hun a aeth gyda byddin luosawg hyd Gaerlleon-gawr, lle yr adeiladodd gastell cryf, yn yr hwn y gosododd raglaw dan yr enw *Iarll Caerlleon:* a'r blinder mynych a barai y Cymry i'r sefydliad yma, a barai i'r ail iarll a sefydlasid yn y fan hon—sef, Hnw Fleiddyn—groesi yr afon Dyfrdwy, a goresgyn rhan o'r wlad, a elwir yn awr swydd Fflint, gan adeiladu castell yn Rhuddlan, a dodi un o'i swyddogion yn llywydd yno; a chastell arall a adeiledid yn Malpas, ar gyffiniau Cymru, ac a roddwyd i gadwraeth gwarchodlu Normanaidd; a gwarchodluoedd y cestyll hyn a arferent y creulonderau mwyaf at y Cymry, gan eu lladd a dwyn eu meddiannau yn ddiarbed hyd y gallent.

Y mae yn beth tra nodedig na wnaeth y brenin *William y Goresgynydd* un ymosodiad ar Gymru, nac un cynnyg at ddarostwng y wlad dan ei lywodraeth; yn unig efe a aeth drwy ran o honi, ar bererindod i Dy Ddewi yn y flwyddyn 1085, yr hyn a wnaeth gyda rhwysg mawr, a chyda byddin gref; a'r hanesyddion Seisnig a haerant iddo, ar hyn o achos, dderbyn darostyngiad y tywysogion Cymreig; ond y mae yn amlwg eu bod yn camsynied. Pe buasai efe yn gallu bwrw un hawl i Gymru, neu yn barnu y buasai yn alluog i enill y wlad, ni buasai y fath ŵr ag ef yn esgeuluso ei adeg, ond y buasai yn ddigon awyddus i chwanegu Cymru at ei feddiannau ereill: eithr yr oedd efe yn ddyn synwyrol a chraff iawn, a gwelsai yn ddiau ddigon o anianawd y Cymry ar ffiniau Lloegr i beri iddo ymbwyllo rhag cyffroi gelyniaeth y fath genedl ryfelgar i'w erbyn, ac felly beryglu parhad ei feddiant heddychol o Loegr ei hunan; ac os derbyniodd ryw barch, dan rith teyrnged, gan rai o'r pendefigion y teithiai trwy eu tiriogaethau ar ei bererindod, diau ei fod yn gweled yn oreu boddloni ar hyny, heb geisio ychwaneg: yn unig ei ieirll, fel y crybwyllwyd uchod, a geisient ymwthio yn raddol i gyrion Cymru, ar fedr ei goresgyn bob yn ychydig, mae yn debyg.

Yn y flwyddyn 1087, bu farw y *Goresgynydd*, gan adael yr orsedd i'w fab, *William Rufus*, a gyfenwid "Y Brenin Coch;" ac yn ei deyrnasiad ef y gwnaeth y Normaniaid ymosodiad arall ar Gymru, ac a enillasant swydd Forganwg yn y Deheudir, megys y gwnaethent eisoes â swydd Fflint, yn y gogledd; ac fel hyn yr adroddir y bu:—

Yn y flwyddyn 1087 y bu farw *Cadifor ab Collwyn*, arglwydd Dyfed; a'i feibion ef, *Llewelyn* ac *Einion*, a'i frawd, *Einion ab Collwyn*, a anogasant *Gruffudd ab Maredydd* i gyfodi mewn gwrthryfel yn erbyn Rhys ab Tewdwr, yr hwn oedd eisoes mewn rhyfel âg Iestyn ab Gwrgant, tywysog Morganwg; ond yr hen dywysog a'u cyfarfu yn Llandudoch, ac yn y frwydr cymmerid Gruffudd ab Meredydd i ddalfa, a lladdwyd Llewelyn

ac Einion, meibion Cadifor; ac Einion ab Collwyn a ffodd at Iestyn, i'r hwn yr adroddodd ei helynt; a chan fod Einion wedi bod yn swyddog yn myddin brenin Lloegr, ac yn ymladd ei ryfeloedd yn Ffrainc a manau ereill, a'i fod yn sefyll yn uchel ei gymmeriad gyda'r brenin a'i farchogion, Iestyn a addunedodd roddi ei ferch yn wraig iddo, os gallai efe lwyddo i gael cyfnerthiad iddo o Loegr yn erbyn Rhys ab Tewdwr, ac y rhoddai arglwyddiaeth Meisgyn yn waddol iddo gyda'r ferch ddywededig.

Felly Einion a aeth i Lundain, ac a amododd â *Robert Fitzhamon*, un o'r tywysogion Normanaidd, a chefnder i'r Brenin Coch, i ddyfod yn gyfnerth i Iestyn yn Morganwg; a hwnw drachefn a enillodd ddeuddeg o farchogion urddasol ereill i ymuno âg ef yn y cadgyrchiad; a hwy a ddaethant, a'u lluoedd arfog gyda hwynt, at Iestyn i Forganwg; ac wedi uno eu lluoedd a threfnu y fyddin, hwy a aethant i wledydd Rhys ab Tewdwr, gan ladd a llosgi y ffordd y cerddynt. Yr hen dywysog dewrwych, er ei fod uwchlaw deg a phedwar ugain oed ar y pryd, a gynnullodd ei filwyr yn nghyd, ac a'u harweiniodd yn bersonol i gyfarfod y gwrthryfelwyr a'u cynghreirwyr; ac ar y mynydd du, Brycheiniog, y bu cad rhyngddynt, a chaled iawn a fu yr ymladd, nes oedd byddin Rhys wedi ei llwyr ddyfetha o'r bron; yna y ffodd yr hen dywysog; ond Iestyn, gan ei ymlid, a'i goddiweddodd yn Nglyn Rhodnen, lle y torodd ei ben; ac o'r herwydd y galwyd y lle "*Pen Rhys.*" Daliwyd a lladdwyd *Goronwy ab Rhys* hefyd; a mab arall iddo, o'r enw *Cynan*, a ymlidid mor galed fel y neidiodd i lyn a elwid Cremlyn, gerllaw Abertawe, ac yno y boddodd ef a llawer o wŷr, ac am hyny y gelwir y pwll mwyach "*Pwll Cynan.*"

Yna Iestyn a dalodd eu bodd yn aur coeth i Robert ab Amon a'i farchogion, mewn lle a elwir er cof am y peth "*Y filldir aur,*" a hwy a ymchwelasant yn ol tua Llundain. Einion ab Collwyn yntau a aeth at Iestyn i ofyn ei ferch yn wraig, a'r cyfoeth a addawsai yn waddol i'w chanlyn: ond Iestyn a'i gomeddai gan chwerthin, a dywedyd y gwnelai efe yn well o'i ferch na'i rhoddi ar enw bradwr gwlad ac arglwydd. Yn Einion a lidiodd yn ddirfawr, ac a brysurodd ar ol Robert ab Amon a'i osgordd, ac wedi eu goddiweddyd, mynegai iddynt mor ffals a thrahaus yr ymddygasai Iestyn tuag ato; dangosai iddynt hefyd mor annghymmeradwy oedd Iestyn yn meddyliau goreuwyr y wlad hono; gan alw eu sylw at frasder y wlad, a'r hawsedd i'w henill oddiar Iestyn. Yna *Fitzhamon* a'i farchogion a droisant yn ol, ac a ddisgynasant ar Iestyn yn annysgwyliadwy, gan ei yru ar ffo, a chymmeryd meddiant o'i diriogaethau brasaf iddynt eu hunain, a'r rhanau mynyddig a roisant hwy i Einion.

Ac yn y modd canlynol y rhanwyd Morganwg, medd Powel, ar awdurdod Syr E. Stradling:—

| | | |
|---|---|---|
| 1. | Robert Fitzhamon | Caerdydd. |
| 2. | William de Lwndwn | Aberogwr. |
| 3. | Riccard Grinfil | Castellnedd. |
| 4. | Paen Twrbil | Y Coetty. |
| 5. | Robert de Sancwintin | Llanfleiddian Fawr. |
| 6. | Riccard Siwart | Tal y fan. |
| 7. | Gilbert Wmffrefil | Penmarc. |
| 8. | Reinallt Sili | Abersele. |
| 9. | Rosser Berclos | Llandathan. |
| 10. | Peter Leswr | Llanbedr ar Fro. |
| 11. | Olifer Sainsion | Abernant. |
| 12. | Ieuan Ffleming | Llanyfelwyn. |
| 13. | William Desterling | Llanywerydd. |

Wrth weled llwyddiant *Fitzhamon* a'i farchogion yn Morganwg, daeth heigiau o'r Normaniaid gwancus, ac a ymsefydlasant ar hyd y gororau, fel y gwelir wrth y rhestr ganlynol:—

| | | |
|---|---|---|
| Roger Montgomery .......................... | Iarll Amwythig. | |
| Huw Fleiddyn .......................... | „ Caer. | |
| Arnwlph, mab Roger Montgomery ........ | Arglwyddiaeth Dyfed. | |
| Bernard de Newmarch .................. | „ | Brecheiniog. |
| Ralph Mortimer .......................... | „ | Elfel. |
| Hugh de Lacy .......................... | „ | Euas. |
| Eustace Cruer .......................... | „ | y Wyddgrug. |
| Fitzalan .............................. | „ | Clunwy. |
| Drogo de Baladun ...................... | „ | y Fenni. |
| Monthault .............................. | „ | Pen ar lâg. |
| Gilbert ................................ | „ | Trefynwy. |
| F. Fitzwarren .......................... | „ | y Drewen. |
| R. le Strange .......................... | „ | Elesmere. |
| Martyn ................................ | „ | Cemmes. |
| De Breos .............................. | „ | Buallt. |

Y rhai hyn a adeiledynt gestyll yn eu harglwyddiaethau, ac a gadwent warchodluoedd arfog ynddynt, gan ddysgwyl (fel barcutiaid am ysglyfaeth) am arfod i ddisgyn ar rai o'u cymmydogion Cymreig, er eu hysbeilio; ac nid oes ddawn a ddichon ddarlunio pa faint a ddyoddefodd ein tadau o gam a cholled oddiar eu dwylaw.

Bellach, dychwelwn at hanes *Gruffudd ab Cynan*, yr hwn fel y gwelsom a enillasai arglwyddiaeth *Gwynedd a Phowys* trwy fuddugoliaeth Carno. Yn lled fuan ar ol ei sefydliad yn y llywodraeth, efe a fradychwyd gan un o'r enw *Meiriawn Goch*, i ddwylaw ieirll Caer a'r Amwythig, y rhai a gyfleasant fyddin o arfogion dan gêl yn Nghoed Rug, a thra yr oedd Gruffudd yn dyfod yno i gynnadleddu â'r ieirll yn heddychol, debygasai efe, rhuthrid arno gan y milwyr, a dygid ef yn rhwym i gastell Caer, lle y'i cadwyd yn garcharor am ddeuddeng mlynedd, medd haneswyr; ac y mae yn ddiau mai adeg flin dros ben a fu hon ar ein cyndadau, pan oeddynt heb dywysog o'r eiddynt eu hunain yn Ngwynedd na Deheubarth, a'r Normaniaid yn ddiwyd a dichellgar yn parhau i dynu careiau o'u gwlad, i'w chwanegu at eu hetifeddiaethau eu hunain. Ond o'r diwedd, gŵr o Edeyrnion, a gyfenwid "*Cynric Hir*," wedi dyfod i Gaer, ac ychydig gyfeillion i'w ganlyn, i brynu eu hangenrheidiau, a ddyg ei frenin yn ei lyffetheiriau o'r castell, yn mrig yr hwyr, tra yr oedd y ceidwaid yn gwledda, ac a'i porthodd dan gêl yn ei dŷ ei hun dros rai dyddiau; yna, efe a ddygpwyd ar hyd nos hyd yn Mon, lle y'i cynnelid dros ychydig ddyddiau gan un *Sandde ab Aere*, ac oddiyno efe a gymmerth long, ar fedr hwylio i'r Werddon; ac wedi dyfod drwy lawer o helyntoedd peryglus, nas goddef fy ffiniau i mi eu crybwyll yn awr, efe a adenillodd ei wlad; ac yn fuan iawn cyfarfyddwn âg ef—wedi ymosod ar y cestyll Normanaidd oeddynt yn Ngwynedd, a'u dwyn oddiar ei elynion yn dra llwyr—yn wynebu gyda *Chadwgan ab Bleddyn*, a byddin gref danynt, i geisio gwaredu eu brodyr yn y Deheubarth odditan yr unrhyw iau ormesol, yn baeddu y Normaniaid mewn amryw frwydrau, ac yn anrheithiaw Caerwrangon, Henffordd, a'r Mwythig, nes oedd eu harswyd wedi disgyn ar drigolion y cyffindiroedd. O'r diwedd, *Gwilym Goch*, brenin Lloegr, a welodd yn angenrheidiol rhoddi ei holl rym ar waith i geisio darostwng y fath elyn: ond er iddo arwain ei fyddin anferth i berfedd y wlad yr oedd

Gruffudd ab Cynan a'i fyddin yn gwylied ei ysgogiadau mor fanol, yn mylchau y mynyddoedd, fel y gwelodd ei fod mewn perygl o golli Lloegr wrth geisio goresgyn Cymru, ac o golli ei fywyd wrth geisio dial ar y tywysog Cymreig; ac am hyny efe a ddychwelodd adref, nid yn unig yn ddilwydd, ond yn golledus a chywilyddus. Y tywysogion Cymreig, ar enciliad y Saeson, gan ymhyfhau yn eu llwyddiant, a anturiasant i warchae ar gastell Trefaldwyn, yr hwn a gyfrifid yn gryfaf yn Nghymru; ac er dewred y'i hamddiffynid gan y Normaniaid, y Cymry a gloddiasant dan ei sylfeini, ac wedi ei gymmeryd trwy ruthrgyrch, a laddasant yr holl warchodlu â min y cleddyf, ac a wnaethant y castell yn gydwastad â'r llawr; ac yn ystod y cadgyrchoedd hyn, lladdwyd Iarll y Mwythig, Iarll Caerloyw, ac amryw bendefigion ereill.

Y brenin *William*, wedi ymgynddeiriogi gan golledion a gwaradwydd ei gadgyrchiad blaenorol, a arweiniodd fyddin freninol i Gymru yr ail waith; ond fel yr oedd efe yn neshau i'r mynydd-dir, y Cymry a dorent ymaith ei arlwyon, ac a laddent ei wŷr a'i feirch yn ymylon ei fyddin beunydd, ac eto a ymgadwent o gyrhaedd arllwysiad ei gynddaredd, fel ag y bu raid iddo ddychwelyd y tro hwn eto, heb elwa dim ar ei daith, ond ychwanegu at ei waradwydd.

Yna ieirll y cyffindiroedd a gyfunasant eu holl nerth, i gyfodi byddin gref, yr hon a roddid dan lywyddiaeth *Iarll y Mwythig*, *Iarll Caer*, ac *Owain ab Edwyn*, arglwydd Tegeingl, a rhai pendefigion enwog ereill o Wynedd, a droisant yn fradwyr i'w brenin; yr hwn, gan fod yn analluog yn y fan i godi byddin ddigon cref i'w gwrthsefyll, ac heb fod yn sicr yn mhwy o'i gydgenedl y gallai ymddiried, gan fod rhai o'i gyfneseifiaid a'i brif gynghorwyr wedi troi yn fradwyr iddo, a farnodd yn ddoeth iddo ef a thywysog Powys, *Cadwgan ab Bleddyn*, encilio dros yspaid i'r Werddon; ac yn eu habsenoldeb, yr ieirll dywededig a arferasant y creulonderau mwyaf barbaraidd tuag at y trigolion, yn enwedig yn ynys Fon, lle y bu y ddau iarll yn aros dros beth amser—yn Nghastell Aberllienawg, neu Lleiniog, yn Mhenmon: ond tra yr oeddynt yno, ymddangosai llynges *Magnus*, brenin Llychlyn, yn yr afon, er dial sarhad Gruffudd ab Cynan; a bu brwydr galed goris castell Lleiniog, yn yr hon yr oedd Iarll y Mwythig ar ei farch, yn orchuddiedig (oddieithr ei lygaid) gan arfwisg ddur; a Magnus, gan sefyll ar flaen ei long, a ollyngodd saeth ato, gan ei anelu yn ei lygad, fel y syrthiodd yn farw yn y fan. Ar hyn, y lluoedd estronol a giliasant o Ynys Fon, a dychwelodd Gruffudd ab Cynan a Chadwgan ab Bleddyn o'r Werddon yn fuan, wedi bod yno ddwy flynedd, a hwy a anfonasant genhadau at Iarll Caer, i ymheddychu âg ef; ac yn y canlyniad i hyn, bu Gruffudd ab Cynan fyw yn llonydd dros amryw flyneddau yn ei diriogaeth ei hun yn Mon, a Chadwgan a gafodd ran o Geredigion a Phowys. Yn ystod y blyneddoedd nesaf, gallem feddwl fod Gwynedd yn mwynhau gradd o lonyddwch; ond yr oedd cyflwr pethau yn fwy terfysglyd yn Mhowys a Cheredigion, trwy ddrygedd meibion Cadwgan, a rhyw fan bendefigion ereill.

Yn y flwyddyn 1113, y brenin Harri I., gan benderfynu llwyr oresgyn Cymru — dan yr esgus fod Gruffudd ab Cynan yn esgeuluso talu y deyrnged iddo; a bod ei wŷr ef, a'r eiddo *Goronwy ab Owain ab Edwyn*, arglwydd Tegeingl, yn anrheithio rhanau o swydd Gaerlleon—a ddyg dair byddin gref yn erbyn y dywysogaeth; un dan arweiniad *Gilbert*, iarll Strigyll, yr hon a gynnwysai holl gadernid pedwaredd ran Lloegr a Chernyw, ac yr oedd i fyned yn erbyn y Deheubarth; yr ail a roddes efe dan dywysiad *Alexander*, brenin yr Alban, a *Hugh, iarll Caer*, ac a gynnwysai luoedd yr Alban a gogledd Lloegr, a'i dyben oedd myned yn

erbyn Gwynedd; y drydedd a gynnwysai luoedd perfeddwlad Lloegr, ac yr oedd dan dywysiad y brenin ei hun. Ond wedi yr holl rwysg yma, deallodd Harri fod y Cymry yn anorchfygol yn y mynyddoedd, ac am hyny arferwyd pob ystrywiau; ac o'r diwedd llwyddwyd i gael gan *Gruffudd ab Cynan* ac *Owain ab Cadwgan* ymgymmodi â'r brenin, ar yr hyn y dychwelodd i'w wlad ei hun, wedi methu cyflawni ei lw, o ladd pob creadur byw yn Nghymru.

Yn ddioed bron wedi terfyniad y cadgyrchiad blaenorol, sef yn y flwyddyn 1116, *Gruffudd ab Rhys*, wedi cyrhaedd y Deheubarth o'r Werddon, lle y magesid ef er marwolaeth ei dad, a gynnullodd ei bleidwyr, ac a warchaeodd ar gastell Arberth, ac wedi ei gymmeryd, efe a'i torodd yn gydwastad â'r llawr; ac wedi ymosod ar gestyll Llanymddyfri ac Abertawe, a llosgi rhanau o honynt, a lladd amryw o'r ceidwaid, aeth cryn son am dano, a lluaws o wŷr ieuainc a ymgynullasant ato, hyd onid aeth ei lu yn fawr iawn; ac efe a wnaeth aml gyrchiadau i Ros a Dyfed, gan ddifrodi ac yspeilio y wlad. Ac o'r diwedd, gwŷr Ceredigion, wrth glywed am ei wrhydri, a anfonasant am dano, ac a'i hetholasant yn flaenor iddynt, gan lawn fwriadu gyru yr estroniaid gormesol o'u gwlad; a hwy a gymmerasant gastell *Blaen Porth Gwythan*, castell *Ystrad Peithyll*, &c. ac a lwyddasant i adfeddiannu llawer o'u tiriogaethau.

Yn y flwyddyn 1135, bu farw y brenin *Harri y Cyntaf*, a'i nai *Ystephan* a ddaeth i orsedd Lloegr yn ei le; yn y fan, wedi i'r newydd gyrhaedd Cymru, ymddadebrodd yspryd rhyddid ac annibyniaeth drwy yr holl wlad: ac hyd yn nod *Gruffudd ab Cynan*, yr hwn a ymgadwasai cyhyd mor ffyddlawn i'r brenin Harri, fel na chefnogai unrhyw ymdrech o eiddo ei gydgenedl i fwrw ei iau oddiar eu gwarau, a'i teimlai ei hun yn rhydd bellach i gefnogi eu gwrthladdiad i'r Saeson; canys yr ydym yn cael fod ei feibion—*Cadwaladr* ac *Owain*, yn nghyda'u byddin—yn cynnorthwyo Gruffudd ab Rhys, yn fuan yn y teyrnasiad yma, i yru yr estroniaid o Geredigion; ac mor llwyr y llwyddasant, fel y cawn adroddiad am dano yn gwneyd gwledd freninol ar ei adferiad i'r deyrnedd:—

"Wedi adynnill ei diroedd, fe wnaeth *Gruffudd ab Rhys* wledd anrhydeddus yn Ystrad Tywi; lle y gwahoddes attaw bawb a ddeuent yn heddwch o Wynedd, a Phowys, a Deheubarth, a Morganwg, a'r Mers; a pharottoi pob moethus o fwydydd a diodydd, a phob ymryson doethineb, a phob diddanwch cerdd arwest a cherdd dannau, a chroesawi prydyddion a cherddorion, a chynnal pob chwareuon hud a lledrith, a phob arddangos, a phob campau gwrolion. Ac i'r wledd hono y daeth Gruffudd ab Cynan a'i feibion, a llawer o'r pendefigion ym mhob ardal yn Nghymru: a chynnal y wledd dros ddeugain niwrnod: ac yna gollwng pawb tua'u cartrefi, a dodi rhoddion anrhydeddus i a'u dirperynt o feirdd, a cherddorion, a champusion o bob rhyw."

"Wedi'r wledd hono, fe ymroddes Gruffudd ab Rhys i alw attaw y gwŷr doethion a'r ysgoleigion, a myned yn eu cynghor, a dodi trefn a chyfraith ar bawb o fewn ei gyfoeth, a threfnu llys yn mhob cantref, a rhaglaw yn mhob cwmmwd: a'r un peth a wnaeth Gruffudd ab Cynan yn Ngwynedd. A drwg fu gan y Ffrancod a'r Saeson weled y pethau hyny, a dodi cwyn yn erbyn y ddau dywysawg at y brenin *Ystyffan* a wnaethant; ac am nas gwyddai Ystyffan a fai oreu, ni ddodes ateb i'r ofynau."

Y mae gwaith y tywysogion yn ymroddi fel hyn i ddiwygio cyfreithiau, a choledd llenoriaeth a barddoniaeth cenedlaethol, yn brawf eu bod yn cael seibiant cymhariaethol gan eu holl elynion: ac nid rhyfedd bod hyn yn ddrwg yn ngolwg yr estroniaid Normanaidd a gyfaneddent ar ymylau eu gwlad; canys yr oeddynt yn ddigon synwyrol i ganfod nad oedd dim

a dueddai gymmaint i'w cryfhau a'u mawrhau fel cenedl, a'r cyfryw goleddiad ar egwyddorion iawndrefn, gwybodaeth, a dysg: a phe buasai y Cymry wedi bod yn fwy ymroddgar yn erlyniad yr amcanion hyn, yn lle cymmeryd eu harwain gan bob crach bendefig, i dywallt gwaed eu gilydd mewn brwydrau didor, diau y buasent yn llawer galluocach i gadw treiswyr estronaidd o'u gwlad.

Yn fuan iawn ar ol hyn y bu farw y ddau dywysog enwog uchod, am yr hyn y cawn y crybwyllion canlynol yn y Brut:—"O. C. 1136, bu farw *Gruffudd ab Rhys*, y gwrolaf, a'r doethaf, a'r trugarocaf, a'r haelionusaf, a'r cyfiawnaf o'r holl dywysogion; a mawr y bu'r galar o'i farw. A *Rhys* ei fab a gymmerth ei le; a'i fam ef (sef gwraig Gruffudd ab Rhys) oedd *Gwenllian*, merch Gruffudd ab Cynan."

Yn dra buan ar ol marwolaeth y tywysog enwog yma yn y Deheubarth, yr hwn nid oedd ond prin haner can' mlwydd oed, y bu farw ei dad-ynnghyfraith hybarchus, *Gruffudd ab Cynan*, yn bedwar ugain a dwy flwydd oed, wedi bod yn y meddiant o'r orsedd dros yn agos i haner can' mlynedd. Mae yn wir ei fod, dros ran fawr o ddechreuad yr amser hwnw, mewn alltudiaeth—yn ffoedig neu yn garcharor; eto, y mae yn amlwg na chydnabyddai ei genedl ei hun neb arall yn deilwng i gymmeryd ei gadair yn ei absenoldeb: a'r gyfran olaf o'i deyrnasiad oedd yn dawel ac yn llwyddiannus, megys ambell brydnawn tawel a hyfryd ar ol boreu dryghinawg, fel y darlunir yn y traethawd am ei fuchedd:—"Ac wedi hyny y gwladychodd Gruffudd lawer o flynyddoedd yn hyrwydd gyfoethog, gan arafwch a heddwch, ac yn arfer o gymmydogaeth y breninoedd nesaf iddo yn gyfun—nid amgen, *Harri*, frenin Lloegr, a *Mwrchath*, frenin Iwerddon, a brenin ynysoedd Denmarc; a hynod amlwg fu, yn y teyrnasoedd pell oddiwrtho, ac yn y rhai agos iddo: ac felly yr amlhaodd pob rhyw dda yn Ngwynedd, ac y dechreuodd y trigolion adeiladu eglwysydd yn mhob cyfeiryd ynddi, a hau coedydd, ac eu plannu, a gwneuthur perllanau murddin, ac ymborth o ffrwythau y ddaear, o ddefawt gwŷr Rhufain."

Y mae yn amlwg oddiwrth y dyfyniad uchod, fod gwelliannau mawrion wedi cymmeryd lle yn mysg trigolion y gogleddbarth, yn ystod y rhan olaf o deyrnasiad Gruffudd ab Cynan; er nad udgenir ei glod yn gymmaint gan haneswyr a phe y buasai wedi treulio ei oes i wanhau ei dywysogaeth, trwy ryfeloedd didor âg arglwyddi y cyffindiroedd.

Dywedir hefyd ddarfod iddo wneyd amryw ddiwygiadau yn nghyfreithiau ei dywysogaeth, yn enwedig y rhai perthynol i *Gerddoriaeth:* fel hyn y mynegir—"Gruffudd ab Cynan, brenin Gwynedd, a gynnaliodd Eisteddfod at y cyfryw amcan yn Nghaerwys, i ba le y cyrchodd holl gerddorion Cymru, a rhai hefyd o Loegr ac o'r Alban; pan y dirmygai y Cymry ymarfer â phibau, ac mewn rhan a waherddid ganddynt; pan yw Ysgodawg oedd yn rhagori ar bawb yn y cyfarfod hwnw o ganu pib, ac i ba un y rhoddes Gruffudd ab Cynan y *Bib Aur*, yn arwydd o'i orchest yn pibanu. Y cyfreithiau a sefydled yno sydd eto yn parhau, ac y maent y dydd hwn yn gyfarwyddyd i gerddorion holl Gymru. Ni cheisiodd Gruffudd ymyru am fraint ar y Deheubarth, am fod estronion wedi cael goresgyndawd yno yn ei amser ef, ac nis gall chwaith tywysogion Deheubarth, drwy gynnal y fath orseddau a chyfarfodau, holi braint yn Ngwynedd, mwy nag yr holes Gruffudd yn y Deheubarth, yn Lloegyr, neu yr Alban, o ba wledydd cyrchasai amrafaelion gerddorion i'r Eisteddfod hono."

Yn yr oes yma hefyd y ffurfiwyd y defodau achawl, un o ba rai ydoedd sefydliad *Pum' Breninllwyth Cymru*, fel y canlyn:—

| *Y Talieithiau.* | *Penau cenedl.* |
| --- | --- |
| Gwynedd | Gruffudd ab Cynan. |
| Powys | Bleddyn ab Cynfyn. |
| Deheubarth | Rhys ab Tewdwr. |
| Morganwg | Iestyn ab Gwrgant. |
| Fferyllwg, neu y wlad rhwng Gwy a Hafren | Elystan Glodrydd. |

Gadawodd Gruffudd ab Cynan ei orsedd i'w fab hynaf, *Owain.*

---

# DARLITH VIII.

## HELYNTION GWLADOL Y CYMRY DAN EU TYWYSOGION: O FARWOLAETH GRUFFUDD AB CYNAN, HYD UNIAD Y DYWYSOGAETH DAN GORON LLOEGR.

---

Yn yr Ddarlith flaenorol, dygais fy mras adroddiad am helyntion gwladol y Cymry dan eu tywysogion i waered hyd ddiwedd oes y tywysog clodwiw Gruffudd ab Cynan. Efe a ddylynid yn llywodraeth Gwynedd gan ei fab henaf, Owain, a gyfenwid "*Owain Gwynedd;*" ac ar lawer o olygiadau gellir dweyd am dano, ei fod yn fab teilwng o'i dad; canys y mae ei enw a'i goffadwriaeth yn gyfresedig yn mhlith y tywysogion clodforusaf a fu ar Gymru. Yr oedd efe yn ŵr o alluoedd meddwl grymus, a gwrolder nodedig; a llywodraethodd ei dalaith yn anrhydeddus dros ddeuddeng mlynedd ar hugain, gan amddiffyn ei diriogaethau yn bybyr a dewr yn erbyn ymosodiadau pob estroniaid. Bu yn llwyddiannus a buddugawl yn ei holl orchwylion a'i ryfeloedd, ac ni chymerodd un weithred mewn llaw nas galluogid ef i'w chyflawni.

Fe grybwyllwyd eisoes ei fod ef, a'i frawd Cadwaladr, wedi gwneuthur amryw gadgyrchiadau yn erbyn Saeson a Fflandrwysiaid y Deheubarth, gan gymmeryd eu cestyll a'u llosgi, tra yr oedd ei dad hybarchus yn fyw; ac wedi iddo ddyfod i feddiannu ei gyfran, fel y mab henaf, o gyfoeth ac anrhydedd ei dad, nid ymollyngodd i ymdroi mewn moethau, meddalwch, a diofalwch; ond fel tywysog dewrfryd, a llawn o ysbryd milwraidd, yn y flwyddyn gyntaf o'i deyrnasiad, efe a'i frawd a gyrchasant yn arfog tuag yno unwaith eto; a chymerasant gestyll Ystrad Meurig, Llanstyffan, a Chaerfyrddin: a chan gadw Ceredigion yn ei feddiant ei hun, a gorfodi Dyfed i dalu iddo deyrnged, efe a ddychwelodd yn ol i'w diriogaethau ei hun, wedi enill yspail werthfawr, a chlod nid bychan, iddo ei hun.

Efallai fod y llwyddiant a ddeuai i ran tywysogion Cymru, tua'r pryd hyn, i'w briodoli, mewn mesur o leiaf, i'r ymryson oedd rhwng Stephan, brenin Lloegr, a'i arglwyddi—amryw o ba rai a gyfodasant mewn gwrthryfel i'w erbyn, yntau a warchaeodd arnynt yn Nghaer Lincoln; ac yna rhai o arglwyddi y cyffindiroedd a ddygasant luoedd o'r Cymry gyda hwy

yn erbyn y brenin: *Robert, iarll Caerloyw*, a ddyg lu mawr gydag ef; *Rhanwlff, iarll Caerlleon gawr*, a ddyg lu o wŷr Rhufoniawg a Thegeingl; a *Gilbert, iarll Clâr*, a ddyg lu o wŷr Dyfed. Daeth yr arglwyddi Seisnig hefyd a lluoedd cedyrn o drigolion Lloegr, a bu ymladd caled, yn mha un y gorthrechwyd ar y brenin, a chymmerwyd ef yn garcharor. Ac, medd y Brut, "Goreu am wrolder y gwelwyd y Cymry; ac yn yr ymladdfa yno y cymmerth *Iorwerth ab Owain ab Caradawc* y blaen ar *iarll Clâr*, a digiaw yn fawr ei lid a wnaeth yr iarll; ac efe yn gweled Iorwerth wrtho ei hunan, yn ymyl afon yn pysgotta, fe aeth attaw, ac a roddes iddaw fonclust, gan ei alw yn Gymro gwladaidd, na wyddai foneddigeiddrwydd; yna Iorwerth a darawodd yr iarll â'i ddwrn oni bu farw. A phan glybuwyd hyny yn Nghymru, myned a wnai y Cymry yn erbyn castell *Meibion Uchtryd* (lle ydd oedd yr iarlles wedi ffoi o gastell Caerfyrddin,) a gyru ar ffo y castellwyr, a hwy a'i hyspeiliasant ac a'i llosgasant; yna y dyg Owain ab Gruffudd holl Geredigiawn y danaw, ac a fynes ged ganthynt."

Felly, o'r ymrafael neillduol hyn y tarddodd i fynu ryfel cyffrediuol, yn yr hwn y cafodd y Cymry, dan flaenoriaeth Owain Gwynedd. feddiant ar y rhanau hyny o Geredigiawn, y sawl oeddynt wedi bod yn nwylaw y Saeson: ac os nad oes cyfeiliorni yn yr hanesiad hwn, eangwyd llywodraeth y gwron hwnw idd ei harferol gyffiniau, tua'r ardal hono, ar hyn o bryd.*

Mewn canlyniad i hyn, debygid, y terfynodd Stephan ar amodau heddwch â'r Cymry, gan ganiatau iddynt gadw meddiant o'r tiriogaethau uchod a enillasant, heb dalu treth na theyrnged; o leiaf, nid yw yn ymddangos fod y cyfryw yn cael ei thalu gan neb o'r tywysogion Cymreig, hyd ddiwedd ei deyrnasiad ef.†

Nis gallaf ymatal yn y fan hon rhag rhoddi y dyfyniad canlynol, er ei fod yn lled faith, o ysgrifeniadau un o'r haneswyr enwocaf, a mwyaf diduedd, a gyfansoddodd hanes y cyfnod dan sylw. Y mae yn werthfawr yn gymmaint a'i fod yn cynnwys tystiolaeth un o brif ddysgedigion y cyfandir i nodweddiad ein cenedl yn yr oes grybwylledig. Yr wyf yn cyfeirio at *M. Augustin Thierry*, Ffrancwr athrylithgar o'r oes bresenol—yr hwn, fel y byddai yn alluocach i hanesu y "*Goresgyniad Normanaidd*," a gymmerodd boen i ddysgu y Gymraeg, y Saesneg, a'r Gaeleg.‡

"O. C. 1137 hyd 1138. Tra yr oedd y pethau hyn yn myned yn mlaen yn Ngogledd Lloegr [cyfeiria yr hanesydd yma at yr hyn a ddywedasai o'r blaen, am gyfodiad yr Ysgotiaid, dan eu brenin Dafydd, yn erbyn y Normaniaid,] cenedl y Cymry, yr hon a addawsai gynnorthwyo y Saeson yn eu hymgyrch am waredigaeth [odditan iau Stephan a'r Normaniaid,] gan gyflawni eu hadduned, er aflwydd yr ymgyrch crybwylledig, a ddechreuasant ymosod ar yr holl gestyll cedyrn a adeiladasai y Normaniaid ar eu holl gyffindiroedd. Y Cymry, cenedl o ddynion tanbaid a nwydwyllt, a gymhellid gan fath o asbri cenedlaethol yn yr ymgyrch disymwth yma: nid arbedent neb a siaradai y dafodiaith Ffrancaidd; ond barwniaid, marchogion, a milwyr, mewn meddiant o diroedd Cymreig; offeiriaid a myneich a wthiasid i eglwysi Cymreig, ac a gyfoethogasid â thiroedd y Cymry, a leddid yn ddiarbed, neu a yrid ar ffo o'r tiriogaethau a drawsfeddiannasant. Yr oedd y Cymry yn greulawn yn yr attreisiau hyn; ond yr oeddynt hwythau wedi dyoddef creulonderau digyffelyb eu hunain, oddiar ddwylaw y Normaniaid Seisnig. Darfuasai i Huw Flaidd, a Robert de Malpas, ladd neu ddeoli y rhan fwyaf o drigolion swydd Cellt, ar ffiniau

* Gwel Hanes Cymru, t. d. 542, 543. † Warrington's History of Wales, p. 302

‡ Thierry's History of the Norman Conquest, pp. 153—156.

swydd Gaerlleon; a Robert o Ruddlan a ddaliasai gynnifer ag a allasai gael yn eu haneddau eu hunain, gan eu gwneyd yn gaethweision; dywaid haneswyr yr oes hono hefyd i Robert, iarll yr Amwythig, rwygo y Cymry yn greulawn âg ewinedd o ddur a wisgai am ei fysedd i'r pwrpas hwnw. Nid ymfoddlonai goresgynwyr y genedl Seisnig ar y tiroedd cynnyrchiol a ddygasent oddiar y bobl hyny; ond yn y cyffelyb fodd, yn foreu, hwy a oresgynasant fryniau a morfeydd Cymru hefyd. Blaenoriaid y minteioedd Normanaidd a ymsefydlasent yn y taleithiau gorllewinol, a atolygent ganiatad gan y brenin Gwilym, neu gan ei feibion, i drawsfeddiannu cyfoeth y Cymry, yn ychwanegol at y cyflog addawedig iddynt.—Fe gafodd llawer y cyfryw ganiatad: ond blaenoriaid ereill, heb gael y cyfryw drwyddedau, a ymosodasant ar y Cymry, y rhai a'u gwrthsafent yn ddewr, gan amddiffyn yn wrol bob troedfedd o'u tiriogaethau.

Wedi i'r Normaniaid enill y parthau dwyreiniol o Gymru, hwy a adeiladasant res o gestyll cryfion, yn ol eu harfer, ar y cyffiniau. Y gadwaen hon o gestyll Normanaidd a gyfyngasai yn raddol ar y diriogaeth Gymreig; a phan benderfynodd y Cymry dori drwyddi yn y flwyddyn 1138, yr oedd agos holl ddeheubarth eu gwlad, dyffrynoedd Morganwg a Brycheiniog, a phenrhyn mawr Dyfed, wedi ei ysgaru oddiwrth Gymru hen. Rhwyddesid y goresgyniadau hyn gan amryfal amgylchiadau. (O.C. 1088.) Yn y lle cyntaf, yn amser *Gwilym Goch*, rhyfel cartrefol yn mysg Cymry y Deheubarth, yr hyn oedd amgylchiad rhy fynych yn mysg y bobl hyny, a fu yn achlysur i ddwyn i fewn i Forganwg, fel cynnorthwywr llog i un o'r pleidiau, fintai o anturiaethwyr Normanaidd, dan dywysiad un Robert Fitz Aymon. Y Robert hwn, wrth ddychwelyd adref i'w diriogaethau ei hun, yn swydd Gaerloyw, wedi bod yn ymladd dros y tywysog Cymreig, a derbyn ei dâl, a fyfyriai ynddo ei hunan am amgylchiadau ei ryfelgyrch, a'r effaith arswydus a gaffai ei wŷr a'i feirch, gorchuddiedig mewn dur, ar y Cymry—a dueddwyd i fwriadu ymweled fel goresgynwr â'r tywysog a wasanaethasai fel milwr: ac felly, wedi cynnull byddin luosocach, efe a aeth i fro Morganwg, ac a gymmerodd feddiant o'r rhanau nesaf i'r cyffindiroedd Normanaidd. (1088 hyd 1110.) Y goresgynwyr a ranasant y wlad rhyngddynt, yn ol eu gradd.—Robert Fitz Aymon a gafodd dair tref i'w ran, ac a ddaeth yn iarll yr holl diriogaeth newydd a enillasid. Yn mysg ei brif gymdeithion, mae hanesiaeth yn crybwyll *Robert de St. Quentin*, *Pierre-le-Sourd*, *Jean-le-Flamand*, a *Richard-de-Grainville;* cafodd pob un o honynt bentrefi neu dreflanau cyfain, a thiriogaethau mawrion; ac o fod yn filwyr llog cyffredin, hwy a ddaethant yn seilwyr teuluoedd pendefigaidd a galluog. Tua'r un pryd, darfu i un *Hamlin*, fab *Dru de Balaen*, adeiladu castell yn y Fenni. Anturiwr arall o'r enw *Guillaume*, a adeiladodd gastell Mynwy, ac a gymmerth arno yr enw "Gwilym o Fynwy," yr hwn er iachawdwriaeth ei enaid, a ddyroddodd eglwys Gymreig i fyneich *St. Fflorent*, o *Saumur;* ac yn yr un gymmydogaeth, *Robert de Candos*, neu *Chandos*, a sefydlodd ac a waddolodd nifer o fyneich Normanaidd ar diroedd a oresgynasai.

Drwy yspaid y rhyfeloedd a gyfodid gan yr ymbleidiau lluosog o Normaniaid yn erbyn Gwilym Goch, ac yn erbyn Harri I., yn mhlaid eu brawd henach, Robert—gwahoddai y ddau frenin hyny gynnifer o filwyr llog ar a allent gael o Normandi, Ffrainc, a Belgium, i'w cynnorthwyo. Y rhan fwyaf o'r rhai a groesasent y môr, mewn ufudd-dod i'r alwad yma, a ofynent, fel y milwyr a ganlynasent y Goresgynwr, addewid am ryw diriogaethau yn wobrwy eu gwasanaeth, am y rhai y talent wriogaeth i'r breninoedd hyny yn mlaen llaw. Ar y dechreu, yr oedd y tiroedd a ddirwyid oddiar Normaniaid y blaid wrthwynebol, yn cael eu neillduo at

dalu y dyledion hyn; a phan nad oedd y tiroedd hyny o'r diwedd yn ddigonol, gwobrwyid hwy trwy roddi trwyddedau iddynt i yspeilio y Cymry. Amryw o gadbeniaid cadresau rhyddion, y rhai a dderbynient eu cyflog yn y modd crybwylledig, a ddosbarthent y rhandiroedd cyfnesol i Forganwg yn eu mysg eu hunain, hyd yn nod cyn eu goresgyn, ac yn ol arfer yr oes, a alwent eu rhandiroedd ar eu henwau eu hunain: yna, pan y terfynodd tymhor eu gwasanaeth yn Lloegr, hwy a aethant i'r gorllewin, dan eu harfau, i gymmeryd meddiant o'u hetifeddiaethau, fel y dywedent. Yn nheyrnasiad Gwilym Goch, cymmerodd *Bernard de Neuf-Marchè* feddiant fel hyn o diriogaeth Brycheiniog; ac ar ei farwolaeth, efe a'i gadawodd i'w ferch Sybilla, fel etifeddiaeth gyfreithlawn, medd y coflyfrau. (O. C. 1110.) Yn nheyrnasiad Harri I., darfu i un *Richard, iarll Eu*, Normaniad o enedigaeth, oresgyn talaith Dyfed, a chan ladd y trigolion yn ddidrugaredd, hwy a'i goresgynasant yn rhwydd, gan ranu y tai, y trefydd, a'r tiriogaethau, yn eu mysg eu hunain, ac adeiladu cestyll i'w hamddiffyn eu hunain rhag cadgyrchiadau y goresgynedig. Y Fflandrwysiaid a'r Normaniaid, y rhai a gyfrifid y graddau uchaf yn y fyddin fuddugol, a gaent y rhanau helaethaf a brasaf, a'u hiliogaeth a ddaethant i fod yn arglwyddi newyddion, a thirfeddianwyr goludog y wlad; ac yn mhen cannoedd o flyneddoedd ar ol hyn, yr oedd pendefigion a thirfeddianwyr y wlad hon yn rhagddodi i'w henwau y *de*, neu y gair *fils*, neu yn ol yr hen ysgrifddull, *fitz*. Hiliogaeth y Saeson, y rhai a ymrestrasent yn y rhyfelgyrch yma, a ffurfient y canolradd o fân dirfeddianwyr a rhydd dyddynwyr; a daeth eu hiaith yn iaith gyffredin y wlad oresgynedig, a gweithiodd allan yr hen iaith Gymraeg o Benfro, yr hyn a barodd i'r wlad gael ei galw '*Lloegr fach tu hwnt i Gymru.*' Bu yn y wlad uchod gofarwydd hir o'r goresgyniad crybwylledig, sef ffordd fawr y gellid ei holrhain ar hyd cribau y bryniau, fel nas gallai neb ddyfod ar warthaf y sawl a'i teithiai, yn un man, heb ei weled ganddynt. Gwnelid y ffordd hon gan y goresgynwyr, er rhwyddhau a dyogelu eu hymdaith o'r naill gŵr i'r llall o'r wlad; a thros amryw flyneddoedd cadwodd yr enw '*Ffordd y Fflandrwys.*'

Wedi eu calonogi gan esampl Richard, iarll Penfro, hwyliai anturwyr ereill allan, a glaniasant yn morgilfach Aberteifi; a *Martin de Tours* a oresgynodd diriogaeth Cemmaes, ac a gymmerth arno ei hunan yr enw *Arglwydd Cemmaes*, fel prif lywydd y rhan hono o'r wlad, lle y gwladychasai ei ddylynwyr arfog. Efe a roddes gyhoeddiad allan y derbyniai yn roesawus yr holl Ffrancod, Fflandrwysiaid, neu hyd yn nod Saeson ganedig, a ddeuent ato i chwyddo a chryfhau ei drefedigaeth, gan dyngu llw o ffyddlondeb a gwarogaeth iddo ef yn erbyn y Cymry; ac y caent diroedd a'r teitl o *rydd westeiwyr Cemmaes*, ar yr amod o'i wasanaethu. Y dref a ffurfid gan yr anturiaethwyr hyn a elwid '*Y Dref newydd;*' a'r lle a adeiladwyd gan y blaenor, fel ei brif drigias, a alwyd dros hir amser '*Castell Martin.*' Er sancteiddio ei oresgyniad, Martin a adeiladodd eglwys a phriordy, y rhai a lanwodd efe â llenorion a ddygasai efe drosodd, drwy draul fawr, o fonachlog St. Martin o Tours. Pan fu efe farw, efe a gladdwyd mewn bedd o faen mynor, yn ei eglwys newydd; a'r offeiriaid a gyfleasid yn arglwyddiaeth Cemmaes a arganmolent goffadwriaeth eu noddwr i fendithion yr holl eglwys Gristionogawl, am ei fod (meddynt hwy) trwy ei sel dduwiol, wedi adnewyddu ffydd ddirywiedig y Cymry yn y wlad hono. Yr achwyniad hwn, a ddygid o'r blaen gan yr esgobion Normanaidd, er esgusodi eu hymwthiad eu hunain, a gwarthruddiad yr holl lenorion Seisnig, a adnewyddid yn erbyn y Cymry gan yr holl rai a gawsent eglwysi neu abad-dai gan y goresgynwyr. Er rhoddi lliw o gyf-

iawnder ar eu gwaith yn diswyddo esgobion ac offeiriaid brodorawl y wlad, hwy a haerent fod yr holl gorph o honynt yn hereticiaid a Christionogion drygionus. Er hyny yr oedd esgobion Cymry wedi ymheddychu âg Eglwys Rhufain er ys talm; ymostyngasent i undeb cyffredinol yr Eglwys Gatholig; ac yr oedd un o'u nifer, esgob Ty Ddewi, wedi ei addurno â'r addurnwisg archesgobawl o Rufain. Am hyny, hwy a anfonent gwynion chwerwon at y Pab, o herwydd trawsfeddianniad eu heglwysi gan estroniaid, y rhai ar yr un pryd oeddynt lwyr amddifaid o nodweddiad crefyddol. Ond y Pab ni wrandawai ar y cwyn hwn, ac nid amheuai am funud fod penaethiaid a milwyr, a adsefydlasant y dreth o 'geiniog Pedr,' yn farnwyr rhagorol ar yr hyn oedd dda i eneidiau dynion. Wedi yr apeliad difudd yma, y Cymry, wedi eu gyru i'r eithaf yn awr, a gymmerasant weinyddiad cyfiawnder eglwysig i'w dwylaw eu hunain; ac mewn amryfal fanau gyrasant ymaith, drwy rym arfau, yr offeiriaid estronaidd a ddifeddiannasant y llenorion Cymreig, gan drefnu yr eglwysi fel pe buasant dreftadaeth bersonol.

Yr oedd y cyfryw weithredoedd o ddialedd cenedlaethol yn cymmeryd lle yn fynych yn y rhanau arforawl o Gymru, yn mhellach o Loegr, ac oddiwrth ganolbarth yr awdurdod Normanaidd. Ar lan y Menai, ar gyfer Ynys Fon, yr oedd dinas esgobawl a elwid Bangor, yr hon a oresgynwyd ar yr un pryd a'r ynys hono, gan wŷr arfog iarll Caer; ac yn y ddinas hono yr oedd Harri I. wedi gosod esgob Normanaidd, o'r enw *Herve;* yr hwn, fel y cyflawnai y swydd esgobawl wrth feddwl y brenin, gan wybod yn dda i ba ddyben y'i cyfleasid yn y fath swydd, yn nghanol gwlad nad oedd eto prin wedi ei darostwng, a ddechreuodd dynu y cleddyf dau finiog allan, medd hen awdwr, gan gyhoeddi anathemau beunyddiol yn erbyn y Cymry; ac ar yr un pryd, gan flaenori byddin o arfogion, efe a aeth allan i ryfel â hwynt. Ond ni chymmerai y Cymry eu hysgmuno a'u lladd heb wneuthur gwrthsafiad dewr; felly hwy a orchfygasant fyddin yr esgob, gan ladd un o'i frodyr, a llawer o'i wŷr, a'i yru yntau ei hun ar ffo. Dychwelai Hervé i Loegr, at y brenin Harri, yr hwn a'i canmolai o herwydd goddef o honaw dros grefydd, ac a addawai ei wobrwyo; a'r Pab Pascal a ysgrifenai lythyr â'i law ei hun at y brenin, yn arganmol i'w ffafr fwy arbenig eto, y gŵr crefyddol a wnelsid fel hyn yn wrthddrych erledigaeth a chreulondeb barbaraidd.

Er hyny, yr oedd cenedl y Cymry yn llai teilwng o'r enw *barbariaid,* nag un genedl arall yn Ewrop, efallai, yn yr oes hono. Er yr holl gamwri a ddyoddefent beunydd oddiar ddwylaw y Normaniaid Seisnig, yr oedd pawb a ymwelent â Chymru fel teithwyr, ac yn anarfog, yn sicr o gael y croesawiad mwyaf calonog yn mhob man; derbynid hwynt o'u dyfodiad cyntaf i gyfeillach deuluaidd, a chyfranogent beunydd yn nifyrion cymdeithas Gymreig, prif hyfrydwch pa rai oedd yn gynnwysedig mewn peroriaeth a chân. Fel hyn y dywaid awdwr a ysgrifenai yn y ddeuddegfed ganrif:—'Y rhai a gyrhaeddant yno yn y bore a ddifyrir hyd yr hwyr âg ymddiddanion y rhianod, ac a sŵn y delyn. Yr oedd telyn yn mhob ty, pa mor dlawd bynag a fyddai y penteulu; a'r cymdeithion, gan eistedd o amgylch y perorydd, a ganent benillion ar gylch, a'r rhai hyny, weithiau, o gyfansoddiad difyfyr. Rhoddent her-feiddiad i'w gilydd yn fynych i ganu penillion difyfyr, gan ymdrechu i ragori mewn dawn farddonawl a pheroriaethol; a beirdd un pentref a ymorchestent yn erbyn beirdd treflan arall.'

Heblaw hyny, yr oedd y bywiogrwydd anianawl i'r llwythau Celtaidd, yn cael ei amlygu yn nodedig yn mhlith y Cymry, trwy eu gorhoffedd o ymddiddan, a ffraethder eu hatebion. 'Mae yr holl Gymry, yn ddi eithr-

iad, hyd yn nod yn mysg y graddau isaf,' medd un hen awdwr,* 'wedi eu doniaw wrth naturiaeth â ffraethder ymadrodd mawr, ac â hyfdra mawr yn eu hatebion ger bron tywysogion a gwŷr mawr.'

Y Cymry, fel yr Almaeniaid, ni chynnygient byth ymosod ar diriogaethau cenedloedd ereill, allan o'u gwlad eu hunain, ond a ddymunent, yn ol un o'i hen ddiarebion, fod pob pelydr o oleuni yr haul yn ddagr i drywanu calon y sawl a garai ryfel; nid ymheddychent byth âg estron tra fyddai yn trawsfeddiannu eu tiriogaethau hwy: ïe, er iddo fod yn preswylio arno dros lawer o flyneddoedd, ac yn meddu cestyll, pentrefydd, a threfydd arnynt. Byddai blwydd-wyl llwyr ddistrywiad un o'r cyfryw gestyll, yn ddydd llawenydd cyffredinol: yn ddydd—i ddefnyddio geiriau un ysgrifenydd Cymreig †—ar yr hwn y byddai tad a gollasai ei unig fab yn annghofio ei ofid."—Ni chwanegaf ar hyn o bryd o waith yr awdwr Ffrengig dysgedig hwn, yr hwn a ddyg y fath dystiolaeth ddiduedd i nodweddiad ein henafiaid: ond dychwelaf i roddi ychydig o adroddiad mwy neilltuol o helynt Owain Gwynedd a'i bobl.

Yr oedd llawer rhan o Gymru mewn cyflwr tra therfysglyd tuag adeg dechreuad teyrnasiad Owain, a'r ymrysonau mwyaf gwrthun rhwng y naill a'r llall o benaethiaid ein cenedl, lle y dylasent fod fel un gŵr yn gwrthsefyll y gelyn cyffredinol; fel y canfyddwn oddiwrth y byr grybwyllion a ganlyn: ‡—"Yn y flwyddyn 1138, lladdwyd Cynfrig ab Owain Gwynedd, gan Fadawg ab Meredydd ab Bleddyn ab Cynfyn. Ac yn 1140, y llas Hywel ab Meredydd ab Rhydderch, arglwydd y *Cantref Bychan*, gan y Ffrancod; a'r un flwyddyn y llas Hywel ab Meredydd ab Bleddyn, gan ei genedl ei hun. A bu ymryson rhwng Hywel a Chadwgan, meibion Madawg ab Idnerth, ac a laddasant y naill y llall."

Yn fuan wedi hyn hefyd digwyddodd i Anarawd, fab Gruffudd ab Rhys, tywysog y Deheubarth, yr hwn a briodasai â merch i Gadwaladr, brawd tywysog Gwynedd, amrafaelio â'i dad-yn-nghyfraith; a'r amrafael a aeth mor boeth fel yr aethant i ymladd â'u gilydd, a Chadwaladr a laddodd ei ddaw Anarawd, etifedd gorsedd y Deheudir, a gobaith y rhan hono o Gymru · teimlai Owain yn dra gofidus o herwydd yr ymddygiad annynol yma o eiddo ei frawd, ac efe a'i fab Hywel a gynnullasant fyddin i ddial y cyfryw sarhad arno, ac a ddifrododd ei diriogaeth, gan losgi ei gastell yn Aberystwyth, a'i orfodi yntau i ffoi am ei einioes i'r Iwerddon: ac yno efe a gyflogodd fyddin fawr o'r Daniaid a'r Gwyddelod, i'w gynnorthwyo i ddial ei gam ar ei frawd Owain; a chyda'r bwriad hwnw, glaniodd ei fyddin yn ochr Arfon i Abermenai. Owain a brysurai i wrthladd y cyfryw oresgyniad annaturiol â byddin gref; ond cyn i'r ddwy fyddin daro, y ddau frawd a ymheddychasant; at yr hyn y cythruddodd y Gwyddelod yn ddirfawr, a hwy a gadwasant Gadwaladr yn garcharor, fel gwystl am y cyflog a addawsai efe iddynt, ac nis gollyngent ef nes rhoddi o hono iddynt ddwy fil o wartheg, heblaw yspail fawr; ond can gynted ag y deallodd Owen fod ei frawd yn rhydd o'u bachau, efe a ruthrodd arnynt yn ddisymwth, a laddodd lawer o honynt, ac a ddygodd yn eu hol yr anifeiliaid a'r holl yspail a gymmerasent; a'r rhai a ddiangasant yn fyw a ddychwelasant i'w cartrefi yn gywilyddus a cholledus.

Tua'r flwyddyn ganlynol cynnullodd Hywel a Chynan, meibion Owain Gwynedd, fyddin o wŷr dewisol i fyned i'r Deheubarth, i gynnorthwyo eu ceraint, meibion Gruffudd ab Rhys ab Tewdwr, yn erbyn trais y Normaniaid a'r Fflandrwysiaid, y rhai a gyfarfuant yn agos i Aberteifi; ac ar ol

* Giraldus Cambrensis. † Cambro Briton, vol. i., p. 137.

‡ Hanes Cymru, t. d. 542.

brwydr galed iawn, yn yr hon y lladdasant lawer o'r Fflandrwysiaid, y Normaniaid, a'r Saeson, hwy a gymmerasant feddiant o Aberteifi; ac wedi cymmeryd castell Caerfyrddin, a chastell meibion Uchtryd, hwy a ddychwelasant, yn llwythog o anrhaith fawr.

Yn fuan ar ol hyn, ceisiodd *Gilbert de Clare*, iarll Penfro, adenill y rhannau a gollasant o'r wlad; ac felly dyg fyddin fawr i Ddyfed, ac a adeiladodd gastell Caerfyrddin, a chastell meibion Uchtryd. Ond o fewn yr un flwyddyn, sef 1145, Rhys ab Gruffudd, a Chadell ei frawd, a ymroisant yn bybyr yn erbyn yr estroniaid, ac a'u difeddiannasant o gestyll Dinefwr, Caerfyrddin, a Llanstephan, ac a laddasant lawer o'r estroniaid; a chyn diwedd yr un flwyddyn, nyni a gawn y ddau dywysog yn ymosod ar gastell Gwys, yn Mhenfro; ond am fod hwnw yn dra chadarn, nis gallent ei ennill. Am hyny hwy a anfonasent at eu car Hywel, mab Owain Gwynedd, i grefu am ei gynnorthwy, gan ei fod yn rhyfelwr gwych a medrus; yntau a ddaeth, a byddin o wŷr glewion ganddo, at warchaead y castell; ac yno efe a barodd wneuthur peiriannau celfydd a chryfion, y rhai a dorent y muriau yn ofnadwy, ac a daflent gerig aruthrol o faint i'r castell; ac felly enillwyd hwnw hefyd. Yna y dychwelodd Hywel i Wynedd âg anrhydedd mawr.

Yn y cyfamser, nid oedd Owain yn hollol segur—er i gwmwl dudew doi drosto, ychydig cyn hyn, drwy farwolaeth disymwth ei hoffus fab Rhun, yr hwn oedd ŵr ieuanc o gynneddfau ac anianawd tra ardderchog; ac fel hyn y'i dylunir yn y Brut:—"Teg oedd o ffurf a drych, ac hynaws o ymadroddion a huawdr wrth bawb. Rhagwelawdr yn rhoddion, ufudd yn mhlith ei dylwyth, balch yn mhlith estronion, a therwyn garw wrth ei elynion, digrif wrth ei gyfeillion.—A phan ddaeth y chwedl irad angau ef at ei dad Owain, ef a godded ac a dristaed yn gymmaint, ag ni allai dim ei hyfrydu ef—na thegwch teyrnas, na digrifwch, na thaer ddiddanwch gwyrda, nac edrychedigaeth mawr-weirthogion bethau." Ond wrth glywed am ymdrechion dihafal ei neiaint, yn y Deheudir, er adenill eu tiriogaethau a sicrhau rhyddid eu pobl, efe a deimlai ddymuniad i gydweithredu â hwy; ac felly efe a ymosododd ar gastell y Wyddgrug, yr hwn ydoedd yn lle cadarn iawn, ac yr oedd y gwarchawdlu a'i cadwai yn blino yr holl wlad oddiamgylch; ac er gwarchae ac ymosod arno lawer gwaith, gwrthsafai bob ymosodiad a wnelid arno, gan ei gadarned. "Ond pan ddaeth gwŷr Owain yn ei erbyn y tro hwn, ni allai nag anian y lle, na chadernid ei furiau, nac ychwaith wrolder ei amddiffynwyr, ei arbed rhag y rhuthrau ffyrnig a wnaethpwyd arnaw, eithr cymmerwyd ef ar ol dirfawr alanastra, a llosgwyd ef i'r llawr. A phan glybu Owain am y gorchestwaith hyn, ysgydwodd ymaith ei holl flinder ar unwaith, o bob meddwl cwynfanus, ac y daeth yn rymus yr ansawdd a oedd arnaw gynt."

Fel hyn yr oedd y Cymry yn dechreu meddiannu cestyll y Saeson, ac hefyd yn adeiladu rhai newyddion iddynt eu hunain.—Yn y flwyddyn 1148, Owain Gwynedd a adeiladodd gastell yn Iâl, a'i frawd Cadwaladr a wnaeth gastell arall yn Llanrhystyd (*Castell Rhodwydd,*) ac a roddodd ei ran o Geredigiawn i'w fab *Cadwgan*. Tua diwedd yr un flwyddyn, Madog fab Meredydd ab Bleddyn a adeiladodd gastell Croesoswallt, ac a roddodd ei ran o Gyfeiliog i'w neiaint, Owain a Meurig, meibion Gruffudd ab Meredydd. Y flwyddyn hon y bu farw Barnard, esgob Ty Ddewi; ac ar ei ol ef y daeth Dafydd Fitzgerald i fod yn esgob, yr hwn o'r blaen oedd yn archddiacon Aberteifi.

Ryw bryd yn y blyneddoedd hyn, torodd amrafael blin rhwng *Hywel* a *Chynan*, meibion Owain, a'u hewythr *Cadwaladr;* ar yr hyn y cynnullasant eu holl nerth, ac a arweiniasant eu byddin i diriogaeth eu hewythr yn

Meirionydd; yr hyn pan ddeallodd y trigolion, dychrynu a wnaethant, a ffoi i'r eglwysi am nawdd; ond y ddau dywysog ieuainc a barasant gyhoeddi drwy y wlad, nas niweidid neb a ymostyngai iddynt hwy. Yna y bobl a ddychwelasant bawb i'w dŷ, a'r holl wlad a ymostyngai yn rhwydd i'w hawdurdod; a hwy a arweiniasant eu lluoedd i warchae ar gastell Cynfael, yr hwn a adeiladasai Cadwaladr, ac a amddiffynasai, gan adael ei gadwraeth ar Morfran, abad y *Ty Gwyn ar Daf;* yr hwn, yn ffyddlon i'w arglwydd, a wrthodai ei roddi i fynu er bygythion na gwobrwyon, fel y bu raid i'r tywysogion ieuainc gymmeryd y lle trwy rym arfau, yr hyn a wnaethant, gan ladd ac archolli yr holl warchawdlu, oddieithr yr abad ei hunan, yr hwn a ddiangodd yn ddirgelaidd, trwy gynnorthwy cyfeillion personol iddo, y rhai oeddynt yn myddin Hywel.

Tua'r adeg yma hefyd yr amddiffynodd *Cadell,* fab Gruffudd ab Rhys, gastell Caerfyrddin, ac oddiyno efe a arweiniodd ei fyddin i Gydweli, gan ddifrodi yr holl wlad; ac wedi dychwelyd o'r rhyfelgyrch yma, efe a ymunodd â'i frodyr, Meredydd a Rhys, ac enillasant y rhan o Geredigion a elwir Is Aeron.

Yn mhen ychydig wedi hyn, torodd amrafael allan rhwng *Randwlff, iarll Caer,* ac Owain; a Randwlff a gynnullodd fyddin gref o'i gyfeillion, ac o filwyr llog o bob parth o Loegr, a Madawc ab Meredydd, tywysog Powys, a unai ei allu â'r eiddo yntau, o eiddigedd at uchafiaeth Owain, ac anfoddlonrwydd i ddal dim o'i diriogaethau dano ef; a hwy a arweiniasant eu lluoedd cyfunawl i gŵr tiriogaethau Owain: ond efe, fel tywysog teilwng, nis goddefai i'w ddeiliaid gael eu hyspeilio; ond prysurai i roddi câd iddynt, a chyfarfu â hwynt yn Nghwnsyllt, yn agos i Fflint; ac am fod ei elynion yn lluosocach ac yn meddu gwell arfogaeth na byddin Owain, yr oeddynt yn barod i'r frwydr, ac yn dra hyderus o'r fuddugoliaeth: ond i'r gwrthwyneb yn hollol y bu, canys Owain a'i fyddin a'u gorthrechasant mor llwyr, fel y bwriasant ymaith eu holl arfogaeth, gan ffoi o nerth eu carnau, a'r Gwyneddwyr yn eu hymlid mor bybyr fel na ddiangodd o honynt yn fyw ond ychydig o'r penaethiaid, a farchogent ar feirch cyflym.

Heb i mi ymdroi i geisio rhoddi adroddiad manol am holl fân frwydrau yr amryfal dywysogion Cymreig â'u gilydd, tua'r adeg hon, digon i mi grybwyll yma, fod *Rhys ab Gruffudd,* trwy farwolaeth ei frawd Meredydd, a mynediad ei frawd Cadell ar bererindod crefyddol i Rufain, wedi dyfod i brif arglwyddiaeth y Deheudir: *Cadwaladr,* brawd Owain Gwynedd, yr hwn a garcharesid gan ei nai Hywel, a dorasai o'r carchar, ac wedi ceisio enill ynys Fon, a thrwy hyny gythruddo ei frawd Owain yn fwy i'w erbyn, wedi gorfod ffoi i Loegr, at berthynasau ei wraig Alis, ferch Risiart, iarll Clâr: a *Madawg ab Meredydd,* tywysog Powys, yn llawn eiddigedd at dywysog Gwynedd.

Yn y flwyddyn 1154, bu farw Stephan frenin Lloegr, a daeth Harri II. i'r orsedd yn ei le; ac efe oedd ŵr o egni a dewrder tra rhagorol; yn hynod o synwyrol; ond yn dra uchelfrydig. Cadwaladr, brawd y tywysog Owain, a'i hen elyn Madawc ab Meredydd, tywysog Powys, a'i cymhellasant i ymroddi i ddarostwng Gwynedd; yntau a gynnullodd fyddin fawr yn nghyd i'r perwyl hyny, ac a'i harweiniodd hyd yn agos i Gaerlleon, gan drefnu ei wersyll ar y morfa hwnw a elwir *Saltney;* ac mor benderfynol oedd y brenin Harri i gyflawni amcan y rhyfelgyrch yma, fel y dywaid yr hen hanesydd Matthew Paris, iddo roddi gorchymyn i bob dau filwr trwy Loegr ychwanegu trydydd, ac felly ychwanegai drydedd ran i'w fyddin; a chyda'r fyddin fawr yma, a llynges gref hefyd, penderfynai ddarostwng Gwynedd yn drwyadl dan ei iau. Ond Owain, yn ol ei bybyr-

wch arferol, a brysurodd gyda'i feibion a'i luoedd, i gyfarfod y gelyn ofnadwy hwn; a gwersyllodd ei fyddin yn y *Maes glas*, ger Treffynon, gan ddysgwyl yno am ddyneshad y Saeson. Eofndra y mudiad yma a barodd i Harri obeithio y byddai i'r tywysog Cymreig anturio brwydr gyffredinol, ac felly efe a anfonodd gorph dewisol o wŷr, dan dywysiad ei ieirll a'i farwniaid, i geisio cymhell y Cymry i frwydr; ond fel yr oeddynt yn myned trwy *Goed Eulo*, yn agos i *Ben-ar-lag*, rhuthrid arnynt gan Dafydd a Chynan, dau o feibion Owain, y rhai gyda mintai o arfogion dewrion, a osodasant gynllwyn iddynt yn y goedwig hono; ac mor annysgwyliadwy a chynddeiriogwyllt ydoedd yr ymosodiad yma, fel y llwyr orthrechwyd y Saeson, a llawer o honynt a laddwyd, a'r gweddill a ffoisant yn yr annhrefn mwyaf tua'r gwersyll breninol. Y brenin, gan fwriadu ymddial am y gwaradwydd yma, a fudodd yn y blaen gyda glan yr afon Dyfrdwy, hyd dref y Fflint, gan feddwl felly dori rhwng y tywysog Cymreig a'i diriogaethau ei hun; ond fel yr oedd y fyddin freninol yn myned trwy nant gyfyng, yn Nghwnsyllt, gerllaw Fflint, rhuthrai y Cymry arnynt yn ddisymwth, gan grochlefain yn arswydus, a bwriasant y fyddin Seisnig i'r braw a'r annhrefn mwyaf, heb allu encilio, na gwrthsefyll y fath ymosodiad annysgwyliadwy. Yn y terfysg, bu orfod i'r brenin Harri ei hunan ffoi; ac Eustace Fitz John, a Robert de Courcy, yn nghydag amryw bendefigion uchelradd ereill, a laddwyd. Fel yr oedd yr ychydig weddillion o'r flaenfyddin, y rhai a ddiangasant rhag cleddyfau y Cymry, yn disgyn yn ol ar gorph y fyddin, oedd yn dechreu cychwyn yn rheolaidd i'r nant, aeth y gair ar led yn mysg y milwyr fod y brenin wedi ei ladd; ac iarll Essex, llumanwr treftadawl Lloegr, wedi ei ddal gan y dychryn cyffredinol, a daflodd y lluman breninol i lawr, gan floeddio â llef uchel, "Y mae y brenin wedi ei ladd!" Ond ar hyny, daeth y brenin ei hun yno, a chan gyfodi ei helm i ddangos ei wyneb i'w filwyr, rhoddodd ail galon ynddynt, fel y gwnaethant wrthsafiad dewr yn erbyn y Cymry, ac y'u curasant yn ol i'r coedwigoedd; a'r brenin a giliodd gyda'i wŷr i ryw amddiffynfa gyfagos—y *Gadlys*, yn ol barn Pennant—ac yno y gwersyllodd efe dros dro. Owain Gwynedd yntau a enciliodd i le a elwir ar y cyfrif yma, "*Cil Owain*," nid yn mhell o Lanelwy; ac fel yr oedd y brenin yn neshau, efe a enciliodd i sefyllfa grefach, mewn lle a elwir "*Bryn y pin*," bum' milldir i'r gorllewin o Lanelwy. Ar yr un pryd, drwy orchymyn y brenin Harri, yr oedd llynges fawr a grynhoasid o Loegr, a Normandi, yr Iwerddon, a Llychlyn, a phob darpariadau rhyfelfawr yn y modd perffeithiaf ynddi, yn ymosod ar ynys Fon, dan dywysiad y tywysog Cymreig bradwrus—*Madawg ab Meredydd;* tiriodd y milwyr, ac anrheithiasant eglwys Mair a Phedr, ac amryw ereill; ond ni chawsant eu rhwysg yn ddiatalfa yn hir, canys gwŷr Mon a gyfodasant oll yn arfogion, ac a roddasant gad ar faes yn eu herbyn, a bu brwydr dra gwaedlyd mewn lle a elwid *Tal y Moelfre;* yr un lle ag a elwir yn awr "Tal y foel," ond odid. Oddiwrth y cofion o'r Llyfr Du a gedwid yn Abatty y Maes glas, ymddengys bod y frwydr wedi bod yn dra dinystriol i'r Saeson:—"Yna y daeth Madoc ap Meredydd, a llawer o lu y brenin gydag ef, a'r llongau, hyd yn Abermenai yn Mon, ac yna yspeilio eglwys Fair a Phedr, yn Rhosfair; a hyny a ddangoses Duw iddynt dranoeth, pan ddaeth ieuenctyd Mon i ymladd ac wynt, a'u gyru ar ffo arnynt, a lladd llawer, a gyru ereill i'w boddi, y llas Harri fab Harri frenin, a thywysogion y llongau oll."

Am y fuddugoliaeth hon y canai bardd cyfoesol—sef, *Gwalchmai ab Meilir*—y bryddest ganlynol, wrth yr hon y gallwn gasglu fod yr alanastr a wnaeth gwŷr Mon ar y Saeson yn y tro yn ofnadwy:—

"Ardwyreaf hael o hil Rhodri,
Ardwyad gorwlad, gwerlin teithi,
Teithiawg Prydain,
Twyth arfdwyth Owain,
Teyrnain ni grain,
Ni grawn rëi.

Teir lleng a ddaethant, liant lestri,
Teir praff brif lynges wy bres brofi,
Un o'r Iwerddon,
Arall arfogion
O'r Llychlynigion,
Llwrw hirion lli.

A'r drydedd dros for, o Norddmandi,
Ar drafferth anferth, anfad iddi,
A draig Mon mor ddrud ei eissillydd yn aer,
A bu terfysg taer i haer holi.

A rhagddaw rhewys dwys dyfysci,
A rhewin, a thrin, a thranc cymmri;
A'r gad gad greudde,
A'r gryd gryd graendde,
Ac am Dal Moelfre
Mil fanieri.

A'r ladd ladd lachar, a'r bar beri,
A ffwyr ffwyr ffyrfgawdd, a'r ffawdd foddi,
A Menai heb drai, o drallanw gwaedryar,
A lliw gwyar gwŷr yn heli;
A llurygawr glas, a gloes trychni,
A thrychion yn nhud rhag rheidrudd ri,
A dygyfor Lloegr, a dygyfranc a hi,
Ag ei dygyfyno yn astrusi,
A dygyfod clod cleddyf difri,
Yn saith ugain iaith wy faith foli."

Gan fod iaith y bryddest uchod yn annealladwy i'r lluaws, dodaf fath o aralleiriad mor gywir ac eglur ag y gallaf:—

"Clodforaf y gwron hael o hil Rhodri; amddiffynydd y wlad; un o arwedd pendefigion; gogoniant Prydain. O! fywiogrwydd Owain! Pennadur yw efe nas plyg, ac na cheidw olud.

Tair lleng a ddaethant yn llestri y dyfnder—tair dirfawr brif lynges, i chwyrn ymosod arno—un o'r Iwerddon; arall yn arfog o wŷr Llychlyn—yn dyfod rhagddynt mewn hirion lestri ar y dyfnder.

A'r drydedd a ddaeth ar draws y môr o Normandi, âg ymdrech anferth—ond aflwydd a fu iddi. A llywiawdwr Mon mor ddewr ei hiliogaeth yn y frwydr! A bu terfysg ffyrnig, ac eofn ymgeisiaw; ac o'i flaen ef yr oedd afreolaidd drabludd, a dwys ymgymmysg, a dinystr, ac ymladd, ac angau pendefigion. A byddin yn myddin, yn waedlyd, a dychryn ar ddychryn, yn arswydawl; ar o amgylch i Dal Moelfre, mil o fanieri.

Yno yr oedd lladdfa ar laddfa, gloywiad picellau ar bicellau; a chyrch gyrch gadarn angerddawl—boddi ar foddi. A Menai heb drai o herwydd y mawr lanw gan waedrediad; a lliwid yr heli â gwaed gwŷr. A gwelw oedd y llurigwyr, a gloesiad archollion a deimlid; a'r clwyfedig ar y llawr o flaen y pennaeth cochwaewawr. A Lloegr yn dygyfor, a'r ymgyrchu â hi; a'u bwrw i ddyryswch, a dyrchafu clod cleddyf y gwron. Mewn saith ugeiniaith y'i hir ganmolir."

Yn fuan ar ol y frwydr hon, cyfansoddai Hywel ab Owain Gwynedd awdl er coffa am y fuddugoliaeth uchod; ac y mae yn debyg mai at y tywysog hwn y cyfeiriai *Gwalchmai* yn yr awdl flaenorol, dan yr enw "eissyllydd" Owain. Fel hyn y canai Hywel—

"Pan fei lawen frein, pan frysyei—waed,
Pan wyar waryei,
Pan ryfel, pan ruddit e thei,
Pan ruddlan, pan ruddlys losgei,

Pan rudam ruddfflam fflemychei—hyd nef,
Yn addef ny noddei,
Hawdd gweled goleulosc arnei,
O gaer wen geir emyl Menei.

Treghiasant trydydd dydd o Fei—trichan-llong
Yn llynges fordei,
A deg cau cymmain a'u cilici,
Kywaryf heb un faryf ar Fenei."

Oddiwrth y crybwyllion blaenorol gallem gasglu bod y tywysog Owain wedi gadael ei wersyll yn Mryn y Pin, i warchawd ysgogiadau y brenin, yr hwn oedd y pryd hyny yn aros yn nghastell Rhuddlan, a phrysuro i Fon i wrthladd glaniad y llynges Seisnig aruthrol hon.

Yr holl faeddiadau hyn gan y tywysog Cymreig dewrwych, ar ei fyddin a'i lynges a ystyrid ar ddechreu y cadgyrch yn anorchfygol, a dorai grib y brenin uchelfrydig, ac a barai iddo awyddu am gael rhyw esgus i ddychwelyd adref. Felly efe a dreiodd enill Owain trwy deg, ac a lwyddodd trwy yr ystryw hon i gael gan y gwron Cymreig wneyd rhyw fath o ymostyngiad iddo, gan roddi i fynu y cestyll a'r rhandiroedd hyny yn Ngogledd Cymru a ddygasid oddiar y Saeson yn ystod y teyrnasiad blaenorol, ac ymheddychu â'i frawd Cadwaladr, gan adferu iddo ei diriogaethau.

Yn fuan ar ol hyn, daeth y brenin Harri II. i amodau heddwch â holl dywysogion ac arglwyddi Cymru, oddieithr *Rhys ab Gruffudd ab Rhys*, tywysog y Deheubarth; yr hwn, yn llawn gwrhydri ac yspryd annibynol a gwladgarol, ni fynai blygu ei war dan iau estroniaid; a chan ofni dialedd y brenin, efe a archodd i'w holl ddeiliaid symud eu hanifeiliaid a'u meddiannau i goedwig Tywi, lle y penderfynai efe wneyd gwrthsafiad dewr i'r Saeson, er nad oedd ganddo un cynghreiriwr Cymreig i'w gefnogi, heblaw ei ddeiliaid ei hunan. Nis gallasai Harri lai na mawrygu y cyfryw amlygiad o ddewrder diledryw; a chan ofni hefyd, efallai, y buasai y tywysogion Cymreig ereill yn debyg o gydymdeimlo â'u cydwladwr dan y fath amgylchiadau, efe a anfonodd genadwri at Rhys, i'w wahodd i ddyfod i'w lys, i wneuthur heddwch âg ef, cyn y byddai i holl gadernid Cymru a Lloegr gael ei ddwyn allan yn ei erbyn—gan addaw derbyniad croesawus a charedig iddo, os deuai felly drwy deg; ond os gwrthodai, bygythiai ei drin yn chwerw. Felly, trwy gynghor ei gyfeillion, efe a aeth i lys y brenin Harri, â'r hwn yr ymheddychodd, dan yr amod o fod iddo gael y *Cantref Mawr*, a chantref arall a fynai y brenin ei roddi iddo yn gyfan, heb ei wasgaru. Ond y brenin, yn ffals a dichellgar, ni chyflawnodd ei addewid iddo, "ond a roddodd iddaw ddryll o dir yn nghyfoeth pob barwn, o ymrafaelion farwniaid;" a hyny, mae yn debyg, er mwyn gwneyd ei allu yn llai peryglus, trwy y cyfryw fân raniadau gwasgaredig ar ei etifeddiaeth. Er fod Rhys yn ddigon craffus i ganfod y ddichell hon, ni thybiodd yn ddoeth iddo rwgnach ar hyn o bryd, ond efe a benderfynodd gymmeryd y tiroedd a gaffai yn ddystaw, a chadw yr heddwch; canys

gwelai nad oedd ganddo nerth digonol i wrthsefyll y fath frenin galluog yn effeithiol, ac yr oedd dau o'i feibion yn nwylaw y brenin, fel gwystlon y byddai iddo gadw yr heddwch. Ond ni bu heddwch yn hir—canys *Iarll Clâr*, yr hwn oedd bendefig galluog, ac yn dra chwannog o gyfoeth y Cymry, a aeth at y brenin, ac a ofynodd ganiatad i fyned i oresgyn eu tiroedd, yr hyn a roddwyd iddo; ac yna efe a aeth i Geredigiawn, yr hyn nis beiddiai wneuthur cyn ymheddychu o Rys â'r brenin; ac yno efe a gadarnhaodd ac a ddygodd gynnaliaeth i amryw gestyll—megys, castell Ystrad Meurig, Hwmffrai, Aberdyfi, Dinerth, a Llanrhystyd. Ac wedi ymgadarnhau o Iarll Clâr yn y wlad yn y modd hyn, aeth *Walter Clifford*, yr hwn a biau gastell Llanymddyfri, ac a wnaeth gadgyrchiad i gyfoeth Rhys, a chan ladd llawer o'i wŷr, anrheithiodd ei feddiannau. Anfonai Rhys achwyniad at y brenin o'r cam a gawsai, gan geisio iawn am y sarhad a'r golled. Y brenin, mewn modd twyllodrus, a gymmerth arno erchi gwneyd iawn i Rys, ond nid oedd yn gofalu am i hyny gael ei wneyd: "canys arfer breninoedd Lloegr erioed ydoedd cefnogi y Saeson yn eu gormesau ar y Cymry; ac ni chai y Cymry un amser iawn ganddynt, oddieithr trwy law gadarn a nerth arfau."* Y cyfryw ymddygiad ffals a thrahaus a gyffrodd Rys, fel y penderfynodd fynu iddo ei hun drwy hagr a nerth ei gleddyf, yr hyn y gwelai nas mynai brenin Lloegr ei roddi iddo drwy degwch ac addfwynder; ac felly efe a warchaeodd ar Lanymddyfri, ac a enillodd y castell yn fuan; ac Einion, fab Anarawd, brawd Rhys, gŵr ieuanc dewr, yr hwn yr oedd ei galon yn llosgi ynddo o awydd am ymryddhau oddiwrth iau waradwyddus y Saeson, pan welodd bod ei ewythr yn rhydd oddiwrth ei lw i'r brenin, a gynnullodd fintai o wŷr ieuainc o gyffelyb feddwl iddo ei hun, ac a ymosododd ar gastell Hwmffrai, yr hwn a gymmerodd efe drwy ruthr, gan ladd yr holl warchawdlu, a dwyn oddiyno yspail fawr o feirch a phob arfau rhyfel; a Rhys, gyda chyflymdra a llwyddiant digyffelyb, a oresgynodd holl Geredigion, gan wneuthur pob castell a berthynai i'w elynion Seisnig drwy y wlad yn gydwastad â'r llawr.

Y brenin, wedi clywed am hyn, a ddaeth i'r Deheudir, gan lanio ei wŷr ar dueddau Browyr a Morganwg, ar fedr llwyr ddarostwng Rhys, a gwneyd pen buan ar yr hyn a gyfrifai efe yn wrthryfel. Ond pan welodd efe fod ei holl ymdrechion yn aneffeithiol, a bod y Cymry yn dylifo i mewn i chwyddo byddin Rhys beunydd, gorfu iddo roddi ei fwriad i fynu, a chynnyg amodau heddwch i Rys, gan ganiatau iddo fwynhau yr hyn oll a enillasai; dan yr amod iddo yntau roddi gwystlon i'r brenin, na thorai yr heddwch yn ei absen; a'r brenin a roddes gestyll yn wystlon i Rys, ac a ddychwelodd yn ol o Gymru y waith hon eto heb enill o'i gadgyrchiad nac elw nac anrhydedd; ac efe a barotodd ar frys i fyned i Normandi, megys yr arfaethasai efe eisoes.

Yna Rhys a aeth i gymmeryd meddiant o'r cestyll a roisai y brenin yn wystlon iddo, y rhai mae yn debyg oeddynt yn Nyfed; ond y castellwyr nis gollyngent hwy iddo; am hyny efe a gynnullodd ei wŷr, ac a ddiffeithiodd Ddyfed, gan dori yr holl gestyll yn garneddau. Yr ymddygiad yma o eiddo Rhys, er nad oedd namyn ymdrechu am ei iawnderau ei hunan, a frycheuai ei nodweddiad i ryw fesur; yn gymmaint a'i fod drwy hyny yn gwneuthur y gwystlon a roisai efe i'r brenin yn ddarostyngedig i'r creulonderau a arferid tuag at y cyfryw rai dan y fath amgylchiadau yn yr oes hono: ac fel yr oedd efe yn myned rhagddo yn ei rwysg, gan warchae ar Gaerfyrddin, Iarll Brystei, mab o ordderch i'r brenin, a ymgynghreiriodd

* Hanes Cymru, t.d. 561.

âg Iarll Clâr, a rhai ieirll ereill, ac a gynnullodd lu dirfawr o Ffrancod, a Normaniaid, a Fflemysiaid, a Saeson; a thrwy fod Cadwaladr, brawd Owain Gwynedd, yn frawd-yn-nghyfraith i Iarll Clâr, efe a'i neiaint—Hywel a Chynan—meibion tywysog Gwynedd, er gwarth bythol i'w cenedl, a ymunasant â'u hen elynion cenedlaethol, yn erbyn eu cydwladwr dewrwych; ond yr oedd Rhys yn rhy gall i gyfarfod â'r fath allu annghyfartal mewn brwydr; am hyny efe a enciliodd gyda'i wŷr i fynydd *Cefn Rhestr*, lle y gwersyllodd; a'r gelynion a ddaethant hyd gastell Dinweilir, lle y gwersyllasant hwythau: ac wedi bod yno enyd o amser, heb feiddio ymosod ar y tywysog Rhys, hwy a aethant ymaith yn waglaw; yna yr ymadawodd yntau o'i wersyllfa, ac a adawodd i'w wŷr ddychwelyd i'w cartrefi. Yn yr holl yspaid yma, yr oedd y brenin Harri yn Normandi, yn rhyfela âg *Iarll St. Giles*, am ddinas ac iarllaeth Tholouse.

Yn y flwyddyn 1160 y bu farw Madoc ab Meredydd ab Bleddyn, tywysog Powys, yn Nghaerwynt. Yr oedd y gŵr hwn yn un â gair da iddo fel tywysog yn ei dalaith ei hunan—fel gŵr crefyddol ac elusengar; ond trwy ei eiddigedd at Owain Gwynedd, efe a ymgystlynai yn ddidor â brenin Lloegr, yr hyn oedd yn frycheuyn gwaradwyddus ar ei nodwedd cenedlaethol. Dygwyd ei gorph i Feifod, lle y'i claddwyd yn anrhydeddus. Bu iddo dri o feibion o'i wraig Susanna, ferch Gruffudd ab Cynan, tywysog Gwynedd—sef, *Gruffudd Maylor*, *Owain*, ac *Elise*—a merch o'r enw *Marred;* yr oedd iddo fasdarddiaid hefyd—sef, *Owain Brogyntyn*, *Cynric Efell*, ac *Einion Efell*—y rhai a gyfrifid yn wŷr enwog, ac a wnaed yn gyfranogion â'r plant cyfreithlawn o etifeddiaeth eu tad. Ar farwolaeth Madoc ab Meredydd, rhanwyd ei etifeddiaeth rhwng tri o'i feibion—sef, *Gruffudd Maylor*, *Owain Fychan*, ac *Owain Brogyntyn*—yn y modd canlynol: Gruffudd Maylor a gafodd arglwyddiaethau Bromfield, Iâl, Ystyn, Nanhedwy, Mochnant is Rhaiadr, y Waun, Cynllaeth, a Glyndyfrdwy: Owain Fychan a gafodd Mechain Iscoed: ac Owain Brogyntyn a gafodd Ddinmael ac Edeyrnion. Y rhan arall o Bowys, a elwid Powys Wenwynwyn, a berthynai i *Gruffudd ab Meredydd*, brawd Madoc; ac ar ei farwolaeth ef, daeth yn eiddo i'w fab, *Owain Gyfeiliog*.

Wedi gwneuthur y crybwyllion uchod am helyntoedd Deheubarth a Phowys, dychwelaf eto i olrhain helyntoedd Owain Gwynedd.—Parhaodd yr heddwch a wnaethai â Harri II. am tua phum' mlynedd; ac nid rhyfedd—canys yr oedd dau o feibion y tywysog Cymreig—*Rhys* a *Chadwallon*—yn wystlon yn llys Harri. Ond tra yr oedd y Cymry yn cael llonydd dymunol oddiwrth eu gelynion estronol, yr oedd rhyw ysfa felldigedig o drachwant a chenfigen yn gyru eu penaethiaid benben â'u gilydd: felly, tua'r flwyddyn 1162, darfu i un *Hywel*, fab Ieuaf ab Cadwgan ab Athelstan Glodrydd, gymmeryd castell Walwern yn Nghyfeiliog, trwy drais, a'i wneuthur yn gydwastad â'r llawr, yr hyn a gythruddodd dywysog Gwynedd yn ddirfawr pan y'i mynegwyd iddo; ac mor ddwys yr ymofidiai o'r herwydd, fel nad oedd dim a'i llonai hyd oni chynnullodd efe ei luoedd yn nghyd i ymddial arno ef a'i bobl; felly efe a ddaeth hyd Landdinam yn Arwystli, gan anrheithio yr holl wlad, ac yspeilio y trigolion yn ddiarbed. Yna pobl y wlad a ymgynnullasant yn fyddin gref, dan dywysiad eu harglwydd Hywel, ac a erlidiasant ar ol yr anrheithwyr hyd lenydd yr Hafren; ond yno, Owain, yn falch o'r fath arfod i ymddial, a drodd arnynt fel llew, ac a laddodd y rhan fwyaf o honynt; a'r lleill, yn nghyda'u harglwydd, a ffoisant am eu bywyd i'r coedydd a'r mynyddoedd. Yna y tywysog Owain a ddychwelodd o'i gadgyrch yn llwyddiannus, ac a ailadeiladodd ei gastell drachefn, gan ei amddiffyn yn gadarn.

Tra yr oedd Cymru yn llawn cyffro gan ymrysonau cartrefol, yr oedd y

brenin Harri a'i bendefigion trahausfalch yn awyddus am ryw arfod i ddial y baeddiadau chwerwon a gawsent oddiar ddwylaw y Cymry glewion yn eu cadgyrchiadau blaenorol i'w gwlad, yn enwedig gan dywysog Gwynedd; ac yn y flwyddyn 1165, cawsant yr hyn a fawr chwennychent —sef, esgus i dori yr heddwch âg Owain, ac i roddi un cynnyg drachefn ar oresgyn ei dalaith ef; canys Dafydd ab Owain a anrheithiodd swydd Fflint, gan gaethgludo ei thrigolion a'u hanifeiliaid i Ddyffryn Clwyd; yr hyn pan ddaeth i glustiau Harri, a'i cynhyrfodd i gynnull ei fyddin ar frys, a dyfod gyda hwy hyd yn Rhuddlan, er amddiffyn ei gestyll a'i bobl; ond wedi bod yn gorwedd yno am dridiau, a gweled nas gallai wneyd dim yn effeithiol â hyny o gadernid oedd ganddo yn ei ganlyn, efe a ddychwelodd i Loegr, lle yr ymroddes i gynnull byddin gref o filwyr dewisol, o'i holl arglwyddiaethau—yn Lloegr, Normandi, Anjou, Gascoine, &c.; a meddyliai nad oedd unrhyw amheuaeth bellach nas cyflawnai ddumuniad ei galon yn llwyddiannus, gan lwyr ddarostwng Gwynedd dan ei arglwyddiaeth ei hun, a thori crib y dewrwych Owain am byth. Ond haws bwriadu na chyflawni llawer peth—ac felly y profodd Harri y tro hwn; canys y Cymry, pan glywsant y llew Normanaidd yn chwyrnu mor ofnadwy yn ei ffau, gan fwgwth eu llwyr ddystrywio, fel nas gadewid iddynt mwyach fodoliaeth cenedlaethol, a nesasant at eu gilydd, gan gytuno i annghofio eu mân amrafaelion, ac ymgynghreirio i sefyll yn erbyn y gelyn cyffredinol, dros ryddid ac anymddibyniaeth eu gwlad a'u cenedl. Felly yn y flwyddyn 1164, y brenin Seisnig yn awchus am fuddugoliaeth, a sychedig am ddialedd, a arweiniai ei fyddin fawr a threfnus hyd gymmydogaeth Croesoswallt; ac yn y cyfamser hefyd, Owain Gwynedd a arweiniodd ei fyddin i Gorwen; ac yno y daeth yn gyfnerth iddo—ei frawd Cadwaladr a'i wŷr, yr arglwydd Rhys a chadernid y Deheubarth, Owain Gyfeiliog a meibion Madog ab Meredydd gyda chadernid Powys, a dau o feibion Madog ab Ednerth, yn nghyda chadernid y wlad a orweddai rhwng Gwy a Hafren. Y brenin, pan ddeallodd eu bod mor agos iddo, gan ei fod yn dra awyddus cael brwydr â hwy, a ddaeth at afon *Ceiriog*, gan beri tori y coed o'i flaen, rhag y buasai Owain yn gosod cynllwynwyr i'w wylied ynddynt, fel y gwnelsai o'r blaen yn nghoed Eulo; ond nid digon y rhagddarbodaeth yma i'w ddiogelu rhag rhuthrau y Cymry pybyr; fel yr oedd ei flaenfyddin yn myned trwy ryw gulnant, rhuthrid arnynt gan ychydig ddewrion o'r fyddin Gymreig, yn ddiarwybod i'w tywysogion, a bu ymgiprys poeth rhyngddynt, lle y lladdwyd amryw o'r goreuwyr o bob tu. Ond cydsyniaf yn rhwydd â dyfaliad *Carnhuanawc* ar hyn, yr hwn a ddywaid—"Er mai ychydig a ddechreuasant y frwydr, y mae yn ddiamheuol mai nid ychydig a'i gorphenasant: canys nid tebygol y buasai y Saeson yn gadael i'w rhagfyddin gael ei gorthrechu heb ddyfod â'u holl alluoedd i'w cynnorthwyo; ac nid dynion oedd y Cymry i sefyll â'u breichiau yn mhlyg, tra yr oedd eu cyfeillion yn ymladd yn ngwydd eu llygaid yn erbyn nifeiriolach llu. Ac y mae mor ddiamheuol genyf a phe cyfranesid ef gan dyst gydrychiol, fod y frwydr hon yn frwydr gyffredinol rhwng holl luoedd cynnulledig Lloegr a Chymru. Ac i'r brenin oddef y fath orthrechiad, a gorfod gadael y maes, a chiliaw i'r mynydd; ac yn lle parhau i dori y coed, yn ol ei amcan cyntaf, a threiddio i'r wlad gyda rhwysg goresgynawl, gorfu arnaw yno wersyllu er hunan-ymddiffyniad, mewn oerfel a newyn, nes i ruthriadau dibaid y Cymry, yn nghyda chwerwder y tywydd, beri iddaw frysiaw yn ol i Loegr, ar hyd y ffordd y daeth."*

* Hanes Cymru, t.d. 574.

Y mae rhai haneswyr yn crybwyll i'r brenin fod mewn dirfawr berygl yn y frwydr hon; yn gymmaint ag i Gymro ei adwaen, tra yr oedd efe yn gwarchae y bont, ac anelu saeth ato, yr hon yn ddiau a fuasai yn myned drwyddo, oni buasai i un o'i bendefigion—*Hubert de St. Clere*, cwnstabl *Colchester*—wrth ganfod y saeth yn dyfod, neidio cydrhwng y brenin a hi, ac felly er achub bywyd ei benadur, golli ei fywyd ei hun.† Wedi i'r brenin allu tynu gweddill ei fyddin o'r bwlch peryglus yma, efe a drefnodd ei wersyll ar ben y Berwyn; a'r Cymry a'i gwylient mor ddyfal, fel nad ellid cael ymborth i'r gwersyll i ddyn nac anifail; ac ni feiddiai un milwr fyned allan o'r gwersyll, na byddai mewn perygl o gael ei dori i lawr yn y fan. Am hyny gorfu ar y brenin wynebu yn ol tua Lloegr unwaith eto, wedi bod yn hollol aflwyddiannus yn ei ymosodiad ar Gymru, ond wedi colli llawer o'i filwyr glewaf, ac arlwy rhyfel nid ychydig—heblaw yr holl draul fawr yr elsai dani i ddwyn y gadgyrch uchod yn mlaen; ac yn llawn cynddaredd o herwydd y fath siomedigaeth a gwarthrudd, am na adawai y Cymry iddo dynu eu llygaid, a dwyn eu gwlad a'u cyfoeth, efe a barodd dynu llygaid y gwystlon oedd yn ei gadwraeth—sef, Rhys a Chadwallawn, meibion Owain, tywysog Gwynedd; a Chynric a Meredydd, meibion Rhys, tywysog y Deheubarth.

Yr oedd Owain Cyfeiliawc yn fardd awenyddawl, cystal a thywysog gwrol; ac efe a ganai Awdl Hirlas, er coffhad o orchestion ei gyfeillion yn y frwydr uchod, yr hon a elwir "*Brwydr Crogen*," am ei hymladd ychydig i'r naill du o gastell *Crogen*, neu "*Gastell y Waun*," fel y'i gelwir yn bresenol.—Egyr yr awdl gyda chyfeiriad at ddechreuad y frwydr, ac adgof o gadfloedd y Cymry ar doriad y wawr; ac yna mynega anffodus dynged y gelynion—y modd yr oedd eu gwŷr eu hunain yn gochffrydiog gan chwys a gwaed cymmysgedig, wedi ymdrech dwys—ac yn galw yn dystion edrychwyr y frwydr oddiar furiau y castell.

"Gwawr pan ddwyre, gawr a goded,
Galon yn anfon anfut dynged,
Goleurudd ein gwŷr gwedi lludded—trwm,
Tremit gofwy mur Maelawr Drefred."

Yna ar ol ychydig linellau cyfanian, y tywysog, gan gyfeirio at ei fwriadau lleteugar a gwresoglawn, a archa i'r gweinydd lanw y corn Hirlas, a'i ddwyn at un o'r gwesteion, o'r enw *Rhys*.—

"Dywyllaw di fenestyr gan foddäed
Y Corn yn llaw Rhys, yn llys llyw ced.
Llys Owain, ar braidd y'th ryborthed eirioed,
Porth mil a glywi pyrth agored.
Diwallaw di fenestr na fyn angau,
Corn can anrhydedd yn nghyfeddau:
Hirlas buelin breint uchel, hen ariant
A'i gortho, nid gortheneu; [gordeneu]
A dydwg i Dudur, eryr aerau,
Gwirawd gyssefin o'r gwin gwineu
Oni ddaw i mewn o'r medd goreu oll,
Gwirawd o ban dy ben fadddeu,
Ar law Foreiddig, llochiad cerddau,
Cerddyn hyn i glod cyn oer adnau,
Dieithr frodyr fryd ucheldeu,
Diarchar alar a dan daleu,
Cedwyr am gorug gwasanaetheu,

† Dr. Powell's History of Wales, p. 162.

Nid ym hyn dihyll nam hen deheu,
Cynnifieid gyrthieid, fleinieid fleiddiau,
Cynfaran creulawn, creulyd fereu,
Glew glyw Mochannwys o Bowys beu,
O glew gwnet arnaddynt deu,
Achubieit pob rheid rhudd eu harfeu,
Echedwynt rhag terfysg eu terfynau,
Moliant yw ei ran y rei gwynnau."

Ond wedi gorchymyn i'r gweinydd fyned a'r corn iddynt fel uchod, a'u canmawl am eu rhagoriaethau, y mae y bardd tywysogaidd megys yn gweled eu lle yn wag yn ddisymwth, ac yna yn cofio yn uniongyrchol eu bod wedi syrthio yn y frwydr ragflaenorol, yn tori allan mewn cwynfaniad am danynt, gan ddywedyd—

"Marwnad fu, neud mi newid y ddau;
O gan Grist, mor drist wyf o'r anaelau!
O goll Moreiddig, mawr ei eisiau."

Gan fod Harri yn benadur balch ac uchelfrydig, rhaid ei fod yn teimlo yn ofnadwy wrth gael ei wrthladd gan y Cymry mor effeithiol yn mhob cyrch fel hyn o'r eiddo i'w gwlad; ac am hyny, yn llawn o fwriadau dialeddol, dychwelodd yn fuan drachefn i Gaerlleon-gawr, gyda phenderfyniad i wneuthur un cynnyg eto i oresgyn y Cymry, a'u cosbi am y gwarth a gawsai oddiar eu dwylaw; ac i'r dyben o gyflawni hyn, parodd gasglu ei holl gadernid llyngesawl ato; ac er cyfnerthu ei ddarpar, cyflogodd longau o'r Werddon—ac hyd yn nod anfonodd am rai yr ail waith oddiyno. Ond wedi yr holl barotoadau drudfawr yma, pan y clybu fod Rhys ab Gruffudd ac Owain Gwynedd yn ymluyddu yn gadarn yn ei erbyn, er dial am ei greulonedd at eu meibion, efe a ollyngodd y llongau ymaith, ac a ddychwelodd yn ol i'w gartref ei hun.

Ond er i'r brenin roddi heibio ei fwriad, eto y Cymry ni lesgasant yn eu hymdrechiadau gwladgar.—Rhys a aeth yn erbyn castell Aberteifi, ac a'i torodd yn ddrylliau, a chastell Cilgeran yr un modd; ac wedi cymmeryd Robert Fitz-Stephan, ceidwad castell Aberteifi, efe a ddychwelodd adref gydag anrhydedd a dirfawr anrhaith.

Yn y flwyddyn ganlynol, gwnaeth Fflemysiaid a Normaniaid Penfro amryw ymdrechion i adenill castell Cilgeran; ond Rhys a'u baeddai bob tro.

Yn y cyfamser, yr oedd y tywysog Owain yn myned rhagddo yn ei rwysg anrhydeddus, gan gymmeryd hyny o gestyll a feddai Harri yn Ngwynedd—sef, castell Basing, castell Rhuddlan, a chastell Prestatyn; ac felly llwyr waredai Wynedd oddiar y Saeson.

Yn y flwyddyn 1169 y bu farw yr ardderchog *Owain Gwynedd*, ar ol teyrnasiad gogoneddus o ddeuddeng mlynedd ar hugain; yn yr hwn yspaid maith ni chyfarfu âg aflwyddiant prin unwaith—gan adael ei wlad yn y fath ystad o dawelwch nas mwynhasai ei gyffelyb ers llawer oes o'r blaen, a'r cyfryw nas mwynhai dros nemawr yspaid yn hwy yn awr ychwaith: gadawodd ar ei ol luaws mawr o blant—enwir ugain gan yr haneswyr Cymreig—o ba rai yr oedd dau ar bymtheg yn gorfucheddu eu tad.

Claddwyd gweddillion marwol y tywysog enwog hwn yn eglwys gadeiriol Bangor, yn Arfon, o flaen yr allor fawr. Ond yn gymmaint a'i fod wedi marw dan ysgymundod *Thomas a Beckett*, am ei fod wedi priodi â'i gyfnither, gorchymynid i'r esgob ofalu am symud ei lwch yn mhellach oddiwrth yr allor, mor fuan ag y gallai—ac yn wir, allan o ffiniau yr

eglwys; yr hyn a wnaed cyn hir. Ond rhag tynu digllonedd y bobl yn ei ben, trwy y weithred, yr esgob a barodd gloddio ffordd danddaearol o'r eglwys i'r fynwent, ar hyd yr hon y cymmerwyd y corph yn ddirgelaidd, i'r lle a ddarparesid iddo, oddiallan i furiau y llan. Fel hyn gwelwn, os na allai brenin a holl gadernid Lloegr ddarostwng Cymru fel gwladwriaeth, fod estronlywodraeth eglwysig wedi ei gwthio arnynt drwy ddichell mor foreu a hyn—fel yr oedd dyeithrddyn trahaus, o eithafoedd Caint, yn beiddio bwrw allan dan ysgymundod, lwch tywysog clodwiw, o'r gysegrfa a amddiffynodd efe mor wrol dros gynnifer o flyneddau.

Buasai Owain yn briod â *Gwladus*, ferch Llywarch ab Trahaern ab Caradawg, ac o honi bu iddo blant—Iorwerth Drwyndwn, Cynan, Maelgwyn, a Gwenllian; ac â *Grisiant*, ferch Goronwy ab Owain ab Edwin, o'r hon y cenhedlwyd iddo Ddafydd, Rhodri, Cadwallon (abad Enlli,) ac Angharad, yr hon a fu yn briod â Gruffudd Maelor. Heblaw hyny, ganwyd o fastarddiaid iddo—Cynan, Llewelyn, Maredydd, Idwal, Rhun, Hywel, Cadell, Madawg, Einion, Cynrig, Phylip, a Ririd (arglwydd Clochran yn Iwerddon.) O'r ugain uchod, fe fu tri feirw o flaen eu tad—sef, Rhun, Llewelyn, a Chynrig.

Ar ol marwolaeth Owain, aeth yn gryn ymryson rhwng ei feibion am yr orsedd: cyfrifid fod anaf *Iorwerth*, o herwydd yr hyn y'i cyfenwid y "*Trwydwn*," yn ei annghymmwyso i deyrnasu, er mai efe oedd yr etifedd cyfreithlawn, fel y mab henaf. Mae yn debyg iddo ef roddi ei hawl i fynu yn dangnefeddus ar y pryd, gan gyfrif yr anaf crybwylledig yn ei annghymmwyso ef ei hunan i lanw y sefyllfa urddasol, ac ystyried fod ei fab *Llewelyn* ar hyn o bryd yn rhy ieuangc a digyfnerthiad i ymdaraw yn erbyn yr ymgeiswyr haerllug: ond yn ei dro efe a ddaeth i'r orsedd, ac a fu yn enwog yn ei ddydd, dan yr enw *Llewelyn ab Iorwerth*. Mae yn ymddangos i Iorwerth gael tuag at ei gynnaliaeth, ran o etifeddiaeth ei dad—sef, cantrefi Nanconwy ac Ardudwy, a gwnaeth ei anedd yn nghastell Dolwyddelen. Ond cyn hir wedi hyny, nyni a'i cawn wedi ffoi am noddfa i Bennant Melangell, yn swydd Drefaldwyn; a dywedir ddarfod iddo gael ei ladd yn gyfagos yno—mewn lle a elwir *Bwlch Croes Iorwerth;* ac y mae yn y fynwent faen cerfiedig, ac arno lun gŵr arfog yn dwyn tarian, ar yr hon y mae yn gerfiedig, *Hic Jacet Edwart*.

Hywel, yr hwn oedd fastardd i'r diweddar dywysog, o Wyddeles, a drawsfeddiannodd y llywodraeth, ac efe a gadwodd feddiant arni dros yn agos i ddwy flynedd. Yr oedd Hywel yn rhyfelwr gwrol a galluog, ac yn fardd a hynafiaethydd athrylithgar: er hyny, ei frodyr ieuengach nag ef nid ymfoddlonent iddo gael y llywodraeth, am nad oedd yn fab cyfreithlawn i'r tywysog Owain. Fel hyn y mae yr hysbysiad a gawn ni am dano mewn un ysgrif o'r Brut, allan o *Lyfr Aberpergwm*:—

"Oed Crist 1169, bu farw *Owain*, tywysog Gwynedd, gwedi gwladychu ddeuddeng mlynedd ar hugain; a gwedi hyny ydd aeth ymryson rhwng ei feibion, am a gai fyned yn ei le; eithr *Hywel ab Owain* a gymmerth arnaw y llywodraeth, canys hynaf oedd efe; ei fam oedd *Pyfog*, merch arglwydd urddasawl o'r Werddon; a gwedi bod yn ngoresgynaeth y dywysogaeth ddwy flynedd yn heddwch, bu farw ei chwegrwn, ac efe a aeth i'r Werddon i oresgyn y cyfoeth a gawsai yn hawl ei fam, a'i wraig, canys unig etifeddes oedd hi: a thra y bu efe yno, Dafydd ab Owain, ei frawd, a gynhullawdd genedl—sef oedd hi, *Crisiant*, merch *Goronwy ab Owain ab Ednywain;* a chyda hyny daeth ato lawer ereill ni charent Hywel; a phan weles efe gadernyd yn gyfnerth iddaw, cymmerth arnaw y llywodraeth, a goresgyn Gwynedd. A Hywel yn clywed hyny, efe a ddaeth yn ebrwydd i Wynedd, ac a ddodes gad ar faes yn erbyn ei frawd; eithr

llawer mwy nifeiriawg llu Dafydd nag un Hywel, a gwedi ymladd caled, gyrwyd ffo ar Hywel, ac efe a glwyfwyd dan ei ais yn flin; eithr *Rlirid* ei frawd a'i dug i long, ac yna i'r Werddon, lle y bu Hywel farw, ac efe a roddes i Ririd ei frawd ei gyfoeth yno."

Mae y bardd *Perif ab Cadifor* yn rhoddi rhai cyfeiriadau at amgylchiadau marwolaeth Hywel; ac fel un a fuasai yn dyst o'r amgylchiad, y mae efe yn nodi y lle a'r amser, fel hyn—

Difiau i'n diau leas,*
Yn y Penrhyn uwch Penrhos,
Ym Mon y mewn ei hynys,
Ydd ym lleddir â llafn glas,
Dielid mab Duw dygn alaeth—Hywel,
Hael echel, och arfaeth.
Am ledrad frad freuolaeth,†
Ef a'i frodyr, mawr wŷr anaeth.‡
Llas arth yn y gyfarthfa,
Llas nerth gwŷr eryr aerfa,§
Llas Hywel wyn|| fab Ywain,
Llas gŵr mirain uwch morfa.

Mae llawer o briodoldeb yn marn y diweddar hanesydd *Carnhuanawc*, yr hwn, wrth gydmaru y dyfyniad uchod o'r Brut â'r farwnad hon, a gasglai fod Dafydd wedi arwain ei fyddin i wrthladd ei frawd Hywel, ar ei laniad o'r Iwerddon, yn agos i Gaergybi, cyn iddo gael adeg i ymadferthu yn mysg ei bobl ei hun; i Hywel gael ei archolli yn angeuol yn y frwydr; a bod ei frawd Rhirid, pan welodd ei glwyfo mor dost, wedi peri hwylio gydag ef i'r Werddon, lle y bu efe farw, ac o ba le y dygid ei gorff drachefn i'w gladdu yn Mangor, yn meddrod tywysogion Gwynedd: canys fe ddywaid y bardd fel hyn—

"Am fyned Hywel, hawl diachor—traws,
Daeth tristyd i'm cyngor;
Yn naear freuar Fangor,
Doe, a dau fab Cedifor;
Fy nghalon a gryn, rhac erchlais—y fran,
Dechreu gwan dychrynais,
Gwae fi, pan ei harais,
Gwaew yn Hywel a welais.
Bran a gre yn y gyfarthfa—
Ni ddarogan im ddim da,
Bod mab brenin gwyn Gwynedd
Yn gorwedd yn yr aerfa."

Mewn man arall cyfeiria y bardd at ei angeu fel hyn—

"Yr a ddel o dda, o ddala tir—pressent,
Preswylfod annghywir;
A gwaewffon gwae Dafydd anwir
Drywanu gwalch rhyfel, Hywel hir."

Wedi lladd Hywel fel yna, cymmerodd *Dafydd*, yr hynaf o feibion Owain Gwynedd, o'i ail wraig *Grisiant*, y llywodraeth i'w ddwylaw ei hun; ac ymddengys iddo ymsefydlu ynddi gyda chadernid mawr.

* Dydd Iau yn ddiau fe laddwyd.
† Marwolaeth. ‡ Maeth. § Aer—brwydr. || Bendigaid.

Yn yr adeg yma y dywedir i *Madawg*, un arall o feibion Owain Gwynedd, gan ffieiddiaw yr ymryson annynawl oedd rhwng ei frodyr, ddarpar llongau a gwŷr ac arlwy, ar fedr hwylio allan i'r cefnfor, i edrych a ddeuai efe ddim o hyd i dir yn rhywle, lle y gallai gael etifeddiaeth mewn heddwch: a'r traddodiad yw—iddo hwyliaw tua'r gorllewin, gan adael yr yr Iwerddon gymmaint tua'r gogledd, ag y daeth i wlad anhysbys, lle y gwelodd lawer o bethau dyeithr. Yno y gadawodd y rhan fwyaf o'i ganlynwyr, a dychwelodd i Gymru, lle y mynegai i'w gydgenedl, y fath wlad eang a ffrwythlawn, ond di-drigolion—neu o leiaf, hynod deneu ei thrigolion—a gawsai efe, yn yr hon y gallai efe a'i ganlynwyr gael etifeddiaethau meithion, heb gyfyngu ar eu gilydd, tra yr oedd ei frodyr yma yn llofruddio eu gilydd yn ddiarbed, am ryw ddernyn o ynys anffrwythlawn; a chan grynhoi cynnifer o wŷr ac o wragedd ag a garent fwynhau heddwch, hwyliodd gyda deg llong tua'r un gororau, ac ni welwyd ef byth mwyach.

Er cadarnhad o'r hanes yma, dygir yn mlaen rai llinellau o waith *Dafydd ab Meredydd ab Rhys*, yr hwn y dywedir ei ysgrifenu bymtheng mlynedd cyn mordaith *Columbus;* a'r hwn, mewn cywydd a wnaeth i ddiolch am rwyd bysgotta, a ddywaid fel hyn—

"Helied Ifan hael dyfiad
Ar y tir teg, wedi'r tad;
Mewn awr dda minau ar ddwr,
O fodd hael, a fydd heliwr.—
Madog wych, mwyedig wedd,
Iawn geneu Owain Gwynedd,
Ni fynai dir, f'enaid oedd,
Na da mawr, ond y moroedd."

Mae Powel, yn ei "*Hanes Cymru,*" a ysgrifenid yn y flwyddyn 1584, yn adrodd yr hanes, gan ddywedyd ddarfod iddo ei chael o ysgrifen *Gutyn Owain*,* yr hwn oedd yn hanesydd, achyddwr, a bardd, perthynol i Abattai y Maes glas, swydd Fflint, ac Ystrad Fflur, Ceredigiawn, ac a ysgrifenai rhwng y blyneddoedd 1460 a 1490, ac felly cyn mordaith *Columbus;* canys yn 1492 yr hwyliodd *Columbus*, ac a ddychwelodd o'i fordaith gyntaf yn 1493. Crybwyllir yr un peth yn y Trioedd hefyd :—

"Tri Difancoll Ynys Prydain: cyntaf, *Gafran ab Aeddan* a'i wŷr, a aethant i'r mor ynghyrch *Gwerddonau Llion*, ac ni chlywyd mwyach am danynt. Ail, *Merddyn*, bardd Emrys Wledig, a'i naw Beirdd Cylfeirdd, a aethant i'r mor yn y tŷ gwydrin, ac ni bu son i ba le ydd aethant. Y trydydd, *Madawg ab Owain Gwynedd*, a aeth i'r mor, a thri channyn gydag ef, mewn deg llong, ac ni wyddys i ba le ydd aethant."—Tri. 10.

Os gwir hynyna, ac nis gwn pa fodd y gellir ei wadu, mae yn ymddangos fod yr anrhydedd o ddarganfod y byd gorllewinol yn perthyn i'n cydwladwr *Madawg*, o flaen pob Ewropiad arall.

Trown yn awr am ychydig i olrhain helyntion gwladol Cymry y Deheubarth eto.—Fel yr oedd y brenin Harri ar ei daith tua'r Iwerddon, daeth *Rhys ab Gruffudd*, tywysog y Deheubarth, i'w gyfarfod, a'r brenin a'i derbyniodd i'w heddwch, gan ei gadarnhau yn y meddiant o'r hyn oll a fwynheid ganddo y pryd hyny; ac fel cydnabyddiaeth o'i ddiolchgarwch, y tywysog a gynnygiodd arlwy i'r brenin nifer mawr o ychain a meirch, at ei gynnorthwyo yn ei gadgyrchiad bwriadol; ac fel sicrwydd o'i ffyddlondeb rhagllaw, cynnygiai roddi pedwar ar ddeg o wystlon iddo. Yna yr aeth Harri rhagddo ar ei daith i Ddeheubarth Cymru; ac wedi cyrhaedd Caerlleon ar Wysg, efe a fwriodd *Iorthwerth*, arglwydd y lle hwnw,

* Powel's Hist. of Wales, p. 167.

o'i arglwyddiaeth, gan ei fod yn ameu ei ffyddlondeb iddo, ac a gymmerth feddiant o'i gastell ei hunan. Ond can gynted ag yr ymadawodd y brenin, Iorwerth, yn dra digofus o herwydd y fath ymddygiad, a anfonodd ei ddau fab, ac ereill o'i garenydd, a nifer o wŷr arfog i'w canlyn, i adgymmeryd y lle, y rhai a lwyddasant i gymmeryd y dref, a'i hanrheithio; ond er pob ymdrechion, buant aflwyddiannus i gymmeryd y castell. Y brenin, gan fyned rhagddo, a ddaeth hyd Benfro, ac yno efe a chwanegodd at diriogaethau Rhys, holl Geredigion, Ystradtywy, Arwystli, ac Elfael—hyny ydyw, debygid, y rhanau o'r ardaloedd hyny oeddynt yn meddiant y brenin. Yr oedd Rhys y pryd hyn yn Aberteifi—lle a enillasai yn ddiweddar oddiar iarll Caerloyw, ac a amddiffynasai yn gadarn: ac oddiyno efe a aeth i Benfro i ymddiddan â'r brenin, ac a ddychwelodd yn ol dranoeth; ac yna yr anfonodd efe 86 o feirch i'r brenin, yr hwn a ddewisodd 36 o'r goreuon o honynt, ac a ddychwelodd y gweddill i Rhys, gyda llawer o ddiolchgarwch. Yr un dydd, aeth y brenin i Dŷ Ddewi, ac wedi offrymu yno, efe a giniawodd gyda'r esgob, *Dafydd ab Gerallt*, cefnder i'r tywysog Rhys; ac yn fuan wedi hyn ymwelai y brenin â'r tywysog Cymreig, yn ei lys yn Tŷ gwyn ar Daf, ac yno efe a roddes ei fab Hywel iddo, yr hwn a fuasai yn wystl gyda'r brenin ers amser maith; ac a omeddodd dderbyn y gwystlon ereill na'r deyrnged ganddo, hyd ei ddychweliad o'r Iwerddon. Tra yr oedd y brenin yn aros yn Nulyn, torodd pla allan yn ei fyddin, yr hyn a barodd iddo ddychwelyd oddiyno yn gynt nag y bwriadai; ac wedi glanio yn Nghymru, efe a dreuliodd wyliau y Pasg yn Mhenfro. Ddydd Mawrth wedi y Pasg, efe a gychwynodd tua Lloegr, a Rhys a'i cyfarfu yn Nhalacharn, i dalu y deyrnged iddo. Ar ei ddychweliad y tro hwn, y brenin a anfonodd at Iorwerth, y pendefig a driniasai mor arw ar ei fynediad, i ddeisyf arno ef, a'i feibion, a'i gyfeillion, ei gyfarfod ef yn heddychol mewn lle penodol ar y cyffiniau, fel y gallai gadarnhau cyfamod heddwch â hwynt; ond fel yr oedd *Owain ab Iorwerth* ar y ffordd yn myned i gyfarfod â'i dad, heb feddwl yn amgenach na'i fod yn berffaith ddyogel, gwarchawdlu Casnewydd ar Wysg a osodasant gynllwyn iddo, ac a'i llofruddiasant mewn gwaed oer; ac er nas meddwn sail i farnu fod gan Harri law yn y fath lofruddiad, pan hysbyswyd y newydd gofidus i Iorwerth, efe a ddychwelodd adref, a'i fab arall Hywel i'w ganlyn, gan lawn fwriadu nad ymddiriedai yn y Saeson mwyach; a chan gynnull yn nghyd gynnifer o'r Cymry ag a allai ef a'i gyfeillion ddarbwyllo i gymmeryd rhan yn ei ymrafael, efe a wnaeth gadgyrchiadau i Went, yr hon oedd yn meddiant y Saeson, gan anrheithio yr ardaloedd hyny, a chyffindiroedd Lloegr, hyd byrth Henffordd a Chaerloyw, â'r tân ac â'r cleddyf, yn ddiarbed. Pan glybu y brenin y pethau hyn, efe a benododd Rys ab Gruffudd yn brif farnwr Deheubarth Cymru—hyny yw, yn ol barn y Parch. Thos. Price, "y rhan Saesonaeg o Benfro, ac ardaloedd yr arglwyddi cyffindirawl; canys y mae yn ddilys fod Rhys yn mwynhau awdurdod annibynol ar yr ardaloedd y rhai y pryd hyny a ffurfient dalaeth y Deheubarth." Yr oedd y penodiad yma yn anrhydeddus i'r tywysog, gan y profai fod y brenin Harri yn cydnabod ei gymhwysderau i lywodraethu; ac yn anrhydeddus i genedl y Cymry hefyd, gan ei fod yn fath o gydnabyddiaeth ar ran y brenin o'r ambossiblrwydd i'w cadw yn llonydd, oddieithr trwy gyfrwng llywodraethwyr o'u gwaedoliaeth eu hunain: ond nis gall Cymro gwladgarol lai nag ymofidio a chywilyddio, wrth feddwl mai amrafaelion diddiwedd y tywysogion Cymreig a'u gilydd a ddarostyngodd eu cenedl i'r fath gyflwr, ac a ddarostyngai dywysog dewr a chalonog o fath Rhys ab Gruffudd i dderbyn swydd estronawl o fewn i'r hyn a allasai fod ei dywysogaeth ei hun, er cynnal awdurdod penadur dyeithr. Ond y mae yn ym-

ddangos fod teimladau o gyfeillgarwch hoffus wedi magu o bob tu, rhwng Rhys a'r brenin Harri; ac yn lled fuan gwelwn hyny yn cael ei amlygu yn neillduol ar ran Rhys, trwy ei waith yn anfon ei fab Hywel gyda llu o wŷr dewisol, i gynnorthwyo y brenin pan oedd gyfyng arno gan wrthryfel ei feibion ac amryw o'i bendefigion galluocaf.

Tua'r adeg yma—sef 1173—y dechreuodd ymryson rhwng *Dafydd ab Owain*, tywysog Gwynedd, a rhai o'i frodyr; ac un o honynt, o'r enw *Maelgwyn*, a gadwai ynys Fon oddiarno. Am hyny efe a dywysodd fyddin gref dros Fenai i'r ynys, ac a'i gyrodd ef a'i bleidwyr i ffoi i'r wlad—rhai o honynt i'r Iwerddon, a rhai i Forganwg; o ba rai yr oedd *Iorwerth*, brawd Dafydd, yn un, yr hwn a ddiangodd i Gaerlleon ar Wysg, at Iorwerth ab Owain ab Caradawg, lle y cafodd noddfa, a chyfryngiad hefyd i'w adferu i gymmod â'i frawd Dafydd. Tua'r pryd hwn y bu farw *Cadwaladr*, brawd Owain Gwynedd, a *Chynan ab Owain*, yr hwn yn amser ei dad a enillasai gryn glod fel rhyfelwr dewr a medrus: felly ymddangosai nad oedd yn debyg y cyfodai neb o ryw ddylanwad i ddadleu ei hawl â Dafydd, yn ngorsedd ei dad—yr enwog Owain: felly y brenin Harri, yr hwn oedd yn *gall* iawn, fel y mae yn naturiol i ni gasglu oddiwrth yr hyn a welsom o honaw yn ei ymdrafodaeth â Rhys ab Gruffudd, a roddodd ei chwaer *Emma* yn wraig i Ddafydd ab Owain; ac felly, nid yn unig efe a ddiarfogodd elyn galluog, ond gwnaeth o honaw gyfaill a chynnorthwywr gwerthfawr; ac felly, yn ei ryfelgyrch i Ffrainc, cawn fod Dafydd yn anfon byddin gref o Wyneddwyr yno i'w gynnorthwyo; a thra gwasanaethgar a fuant iddo—canys y brenin a archodd iddynt fyned dros yr afon Seine, i dori ymaith y lluniaeth oedd yn cael ei ddwyn i wersyll y gelynion, o herwydd yr hyn y daeth brenin Ffrainc i gynnadleddiad, ac yn ebrwydd ar ol hyny sefydlwyd heddwch, a phenaethiaid y gwrthryfel a ymunasant mewn ymostyngiad iddo ef.

Trwy yr amodau hyn yr oedd y tair talaith—Gwynedd, Powys, a Deheubarth—mewn mwynhad o heddwch am beth yspaid yn awr; ond yr oedd rhai terfysgoedd yn Ngwent—canys *Hywel ab Iorwerth*, o Gaerlleon ar Wysg, a ddaliodd ei ewythr, *Owain Pencarn*, drwy dwyll, ac a dynodd ei lygaid, fel na byddai berygl iddo fod yn gydymgeisydd âg ef am y llywodraeth; ond o fewn wythnos o amser, daeth byddin o Normaniaid a Saeson ar ei warthaf yn ddisymwth, ac a enillasant dref Caerlleon, gan yru Hywel a'i dad ymaith. *Gwilym Brews* hefyd, arglwydd Brycheiniog, a wahoddodd luaws mawr o bendefigion Gwent i wledd yn nghastell y Fenni, ac yno mewn brad a'u lladdodd oll, hyd gymmaint a deg a thriugain o ddynion; ac er dial am hyny drachefn, darfu i feibion ac wyrion y llofruddedigion gynnull gwŷr, a chymmeryd meddiant drwy drais o'r castell yn y nos, yr hwn a losgasant â thân; ac o herwydd aflonyddwch parhaus y Gwenhwyson, mynai y brenin fyned yn eu herbyn hwy a'u harglwyddi, a'u llwyr ddyfetha; ond trwy eiriolaeth yr arglwydd Rhys, fe'u harbedwyd. Torodd rhyw fân derfysgoedd allan yn Ngwynedd hefyd, trwy fod rhai o geraint y tywysog yn gwrthryfela yn ei erbyn, ac yntau yn annhoblog gan ei ddeiliaid, ar gyfrif ei yspryd trahaus, a'i ymgyfathrach trwy briodas â brenin Lloegr.

Tua'r pryd hyn (1187) yr ymledai yr haint grefyddol a adwaenir wrth yr enw "*Rhyfelgyrch y Groes*," dros y dywysogaeth, megys y gwnelsai dros ranau ereill o Ewrop; ac yn y flwyddyn 1188, daeth *Baldwin*, archesgob Caergaint, yn nghyda *Giraldus Cambrensis*, archddiacon Aberhonddu, ar daith trwy Gymru, i bregethu yr angenrheidrwydd o anfon cynnorthwy i'r byddinoedd Cristionogol, yn eu gwrthladdiad yn erbyn y Mahometaniaid; a llwyddasant yn eu hamcan i fesur helaeth, gan i luaws

mawr o'r Cymry ymunaw yn y cadgyrchiad hwnw. Croesawid hwynt yn eu holl daith gan dywysogion, bonedd, ac esgobion Cymru; fe'u croesawid yn anrhydeddus yn ei gastell gan yr arglwydd Rhys, yr hwn hefyd a'u gosgorddiai mewn rhwysgfawredd hyd ffiniau ei dywysogaeth; ac yna yn Nhywyn daeth *Gruffudd ab Cynan ab Owain Gwynedd* i'w cyfarfod, gan eu gosgorddiaw ar eu taith; ac yn Mon fe'u cyfarfyddid, yn agos i'r Borthaethwy, gan *Rodri ab Owain Gwynedd*, a holl drigolion yr ynys o'r bron gydag ef: y mae yn yr ardal hon gof traddodiadol am yr ymweliad hwn hyd heddyw.—Mewn congl gysgodol yn nghesail craig, heb fod yn mhell oddiwrth y fynedfa i'r grogbont a elwir "Pont Menai," y dywedir y safai yr archesgob i bregethu, a Seisyllt, abad Ystrad Fflur, yn cyfieithu; gelwir y lle hyd heddyw, "*Cilbegle:*" ac ychydig oddiar hyny, tua haner milldir i'r gogledd, y mae craig uchel, yn ngolwg tair rhan o bedair o'r ynys, yr hon a elwir "Careg yr Archddiacon," am fod yr archddiacon, medd rhai, wedi pregethu oddiarni i'r lluaws, a dywedir i lawer o'r ynyswyr yn y canlyniad gymmeryd y groes; ond sylwid yn neillduol bod rhai gwŷr ieuainc dewisawl o deulu Rhodri, yn eistedd ar graig, ar gyfer yr esgob, y rhai ni ellid mewn un modd eu denu i uno gyda hwy. Wrth ddychwelyd oddiyno trwy Fangor, darfu i'r archesgob trahaus, yn dialedigaeth am yr holl garedigrwydd a gawsai oddiar ddwylaw tywysogion Gwynedd, orchymyn bwrw corph yr enwog *Owain Gwynedd* o'i feddrod. Fe sylwir hefyd, mai yr unig un o dywysogion Cymru ar ni ddaeth i gyfarfod â'r archesgob, oedd *Owain Cyfeiliawc*, "Ac am hyny," medd yr archddiacon, "nyni a'i esgymmunasom ef." Oni ellid dweyd am danynt, fel am y dysgyblion cythruddedig gynt, "Ni wyddent o ba yspryd yr oeddynt?"

Fe welir oddiwrth y crybwyllion blaenorol mai Rhodri, brawd Dafydd, oedd yn meddu arglwyddiaeth ynys Fon y pryd hwn; yr oedd ei frawd arall hefyd, Maelgwyn, wedi dychwelyd o'r Iwerddon, a thrwy unaw â Rhodri, gyrasant Dafydd, yr hwn a gasheid gan y bobl, i'r ochr Seisnig i afon Conwy, lle y daliai yn ei feddiant arglwyddiaeth castell Rhuddlan yn unig.

Yn y flwyddyn 1189, bu farw y brenin Harri II., yr hwn a fuasai dros ddeng mlynedd ar hugain yn elyn calon i annibyniaeth cenedl y Cymry; ond er iddo arfer pob gallu a dichell i'w darostwng, efe a'u gadawodd yn fwy annibynawl nag y'u cawsai ar ei ddyfodiad i'r orsedd. Efe a ddylynwyd yn llywodraeth Lloegr gan ei fab, *Rhisiart I.*, yr hwn a benderfynodd adael ei deyrnas, a myned i wlad Canaan gyda rhyfelwyr y groes, ac felly cafodd y Cymry seibiant fach eto oddiwrth eu prif elynion allanol: ond yn lle gwneyd defnydd doeth o'r cyfryw arfod i gadarnhau eu hannibynrwydd, troi i ymryson â'u gilydd a wnaeth eu pendefigion.

Tua'r flwyddyn 1194, *Llewelyn*, mab Iorwerth Drwyndwn, wedi cyrhaedd ei lawndwf, gan gofio mai efe oedd etifedd cyfiawn gorsedd Gwynedd—er fod ei dad, Iorwerth Drwyndwn, wedi ei gau allan o'r llywodraeth ar gyfrif yr anaf oedd yn anurddaw ei wynebpryd—a gynnullai yn nghyd ei gyfeillion a'i garenydd o du ei fam—*Marred*, ferch Madawc ab Meredydd, tywysog Powys; ac a enillodd ei gefnderwydd—meibion *Cynan ab Owain Gwynedd*—hefyd i'w gefnogi; yna efe a honodd ei hawl i orsedd Gwynedd, a phobl y wlad a gydnabuant gyfiawnder ei hawl yn rhwydd; ac felly, heb dywallt gwaed, efe a gafodd holl Wynedd dan ei arglwyddiaeth, oddieithr tri chastell, y rhai a gedwid gan ei ewythr, Dafydd ab Owain, trwy gyfnerth y Saeson, yn y rhai yr oedd ei holl ymddiried, ar gyfrif ei wraig Emma, modryb brenin Lloegr.

Y cynhyrfiadau nesaf y clywn am danynt, wedi cymmeryd lle yn

Nghymru, oedd goresgyniad Powys gan *Roger Mortimer*, yr hwn a ddyg fyddin gref o Saeson i Faelienydd, ac a enillodd gastell Cymaron oddiar ddau fab *Cadwallawn ab Madawc*. Ac oddeutu yr un amser, bu peth terfysg yn y Deheubarth, trwy i *Rys* a *Maredydd*, meibion yr arglwydd Rhys, godi gwrthryfel yn erbyn eu tad; ond yr hen wron a lwyddodd yn fuan i ddarostwng y gwrthryfel, ac a gymmerodd ei feibion yn garcharorion. Yn fuan ar ol hyn, yr arglwydd Rhys—wedi ei ddigio gan rai o'r awdurdodau Seisnig, yn ngwasanaeth y rhai y buasai mor ffyddlawn dros gynnifer o flyneddoedd—a gymmerodd dref a chastell Caerfyrddin, y rhai a anrheithiodd, gan ddychwelyd âg yspail fawr; yna efe a arweiniodd ei fyddinoedd i'r cyffindiroedd, ac a gymmerth gastell Clun, neu Colwyn, y hwn a losgodd efe; a'r un ffunud wedi hyny, castell Maeshyfaidd. Yna *Roger Mortimer*, a *Hugh de Saye*, a gynnullasant fyddin fawr o Normaniaid a Saeson, oll yn filwyr profedig, ac wedi eu harfogi yn dda, ac a'u dygasant i'r dyffryn gerllaw; a'r hen wron Cymreig a'u hwynebodd yn eofn, ac mewn brwydr galed a'u llwyr orchfygodd, er fod llawer o'i wŷr yn anarfawg ac annghynnefin âg ymladd; ac wedi gyru ei elynion beilchion ar ffo, efe a barhaodd yn eu hymlid a'u saethu, hyd oni ddaeth y nos yn gymmwynasgar i gysgodi drostynt â'i lleni duon. Yna efe a ymosododd ar gastell Paen yn Elfael, yr hwn a gymmerodd; ond efe a'i rhoddodd yn ol ar ryw amodau i'w berchenog, *William de Brews*.

Cyn nemawr wedi hyn, darfu i *Hubert*, archesgob Caergaint—yr hwn a benodasid gan y brenin Rhisiart fel ei raglaw, neu brif ynad Lloegr—ddwyn byddin yn erbyn y Trallwng, ac ymosod ar y Castell Coch, yr hwn oedd yn meddiant *Gwenwynwyn*, mab Owain Cyfeiliawc; ond y castellwyr a'i hamddiffynasant mor wrol, fel na allai wneyd dim o hono trwy y ruthr, ond colli lleweroedd o'i wŷr o'i flaen; am hyny efe a anfonodd am nifer o fwngloddwyr, i gloddio dan ei sylfeini; a'r castellwyr pan welsant hyny a'i rhoisant i fynu ar amodau anrhydeddus, gan y caniateid iddynt fyned allan â'u harfau a'u dillad ganddynt. Yna yr archesgob a adgyweiriodd y castell, gan ei gadarnhau yn ddirfawr, ac a ddododd warchawdlu ynddo, i'w gadw at wasanaeth y brenin, ac yna dychwelodd i Loegr. Ond yn y fan daeth Gwenwynwyn, a byddin ganddo; ac wedi dechreu gwarchae arno, y gwarchawdlu breninol a'i rhoisant i fynu ar yr un amodau ag y'i rhoddasid i fynu iddynt hwy; ac felly Gwenwynwyn a'i hadenillodd.

Yn y flwyddyn ganlynol, sef 1196, y bu farw yr enwog *Rhys ab Gruffudd*, a gyfenwid "*Yr Arglwydd Rhys;*" a gellid meddwl mai o haint, yr hwn yr adeg yma a fedai lawer o fonedd a gwerin Prydain a Ffrainc, y bu efe farw; efe a gladdwyd yn Mynachlog Ystrad Fflur, yr hon a gyfodasid ganddo, ac yn y canlyniad i hyn a ddaeth yn gladdfa yr arglwyddi dylynawl o'i dylwyth.* Ond ereill a ddywedant mai yn Nhŷ Ddewi y'i claddwyd.† Ar ol ei farwolaeth, ei fab *Gruffudd* a gymmerth afael ar y llywodraeth, ac a'i mwynhaodd mewn heddwch am beth amser: ond ei frawd *Maelgwyn*, yr hwn a ddietifeddasid gan ei dad, a ymgynghreiriodd â Gwenwynwyn, mab Owain Cyfeiliawc, ac wedi cydio eu lluoedd, hwy a ddaethant yn ddisymwth ar Gruffudd yn Aberystwyth; ac wedi lladd llawer o'i wŷr, cymmerasant ef yn garcharor, ac a oresgynasant holl Geredigiawn. Maelgwyn a anfonodd Gruffudd ei frawd yn garcharor at Wenwynwyn; ond y gŵr hwnw a'i trosglwyddodd i'r Saeson, ac a arweiniodd ei wŷr yn erbyn Arwystli, gan ei goresgyn iddo ei hun.

Tua'r adeg yma y torodd rhyfel fawr allan yn Ngwynedd eto; canys

* Warrington's Hist. of Wales, p. 349.

† Hanes Cymru, gan y Parch. T. Price, t. d. 615.

Dafydd ab Owain, y tywysog diweddar, a ddyg fyddin luosawg o Saeson a Chymry, i geisio adenill tywysogaeth Gwynedd oddiar Llewelyn ab Iorwerth; ond Llewelyn, gyda chyflymder dihafal, a'i cyfarfu mewn brwydr, yn yr hon y maeddodd ei fyddin, ac yntau ei hun a gymmerth efe yn garcharor.

Yn niwedd yr un flwyddyn (1197,) bu farw *Owain Cyfeiliawc*, tywysog Powys; gŵr oedd o ran ei anianawd yn tebygu llawer i'w gydoesydd—Rhys ab Gruffudd; yn rhagori yn ei ddewrder, ond yn gall iawn hefyd, ac yn amlygu graddau helaeth o goethiant meddwl a moesau, ac ymarweddiad boneddigaidd, teilwng o'i dras uchel a'i sefyllfa anrhydeddus. Ar ei farwolaeth, daeth ei fab *Gwenwynwyn*, am yr hwn y crybwyllasom eisoes, i feddiant llawn o'r llywodraeth yn Mhowys; ac yn mhen tua blwyddyn, efe a arweiniodd ei fyddin tuag at gastell Paen yn Elfael, yr eiddo *William de Brews*, gan benderfynu ei losgi, ac anrheithio yr holl arglwyddiaeth berthynol iddo, er ymddial ar farbareidd-dra *de Brews*, yr hwn a lofruddiasai *Trahaern Fychan*, arglwydd Llangors, trwy beri ei lusgo ar ol march trwy dref Aberhonddu, ac wedi hyny torri ei ben, a chrogi ei gorph ar bren dros dri diwrnod; am yr hyn nis gellir rhoddi unrhyw reswm, ond creulonedd cythreulig ei natur. Ond gan nas meddai Gwenwynwyn beiriannau cyfaddas i enill y lle, bu dair wythnos yn ei warchae, yr hyn a roddes arfod i'r gwarchaedig i anfon i Loegr am gynnorthwy; a'r brenin a anfonodd *Geoffrey Fitz Pedr*, prif ynad Lloegr, â byddin gref yn gynnorthwy iddynt; a hwnw, pan nesaodd at y lle, a geisiodd gan Wenwynwyn ddyfod i gymmod; ond ni wrandawai efe ar unrhyw gynnygiad. Yna yr arglwyddi Seisnig a ollyngasant Gruffudd ab Rhys yn rhydd, yr hwn, fel y soniwyd, a draddodasid yn garcharor iddynt gan Wenwynwyn rai misoedd o'r blaen: ac yntau yn falch o'r cyfle i dalu y pwyth i'w elyn, a aeth ac a gynnullodd fyddin gref, yr hon a ddyg efe i'r maes i gynnorthwyo yr arglwyddi Seisnig, a brwydr waedlyd a fu y canlyniad, yn yr hon y lladdwyd tua thair mil o wŷr Gwenwynwyn, medd rhai; ac yn eu mysg, amryw o fonedd y Cymry—megys Anarawd ab Einion, Owain ab Cadwallawn, Rhisiart ab Iestyn, a Rhobert ab Hywel; a Maredydd ab Cynan, ac amryw ereill, a gymmerwyd yn garcharorion. Ar ol y fuddugoliaeth hon, Gruffudd ab Rhys a adenillodd ei holl diriogaethau oddiar ei frawd Maelgwyn, oddieithr dau gastell—yr eiddo Aberteifi ac Ystradmeuric; ac er mynych fân frwydrau â'i frodyr, cadwodd Gruffudd y llywodraeth yn ei law hyd ei farwolaeth, yr hyn a fu yn y flwyddyn 1202, er galar mawr i'w ddeiliaid, y rhai oeddynt yn dechreu dyfod i ddeall ei fod yn feddiannol ar gymhwysderau rhagorol fel llywodraethwr; a'i fod yn debyg o ddwyn y Deheubarth i drefn dda, pe y cawsai fyw ychydig yn hwy. Efe a adawodd yn etifedd ei olud a'i anrhydedd, fab o'r enw *Rhys*, o *Mawd*, ferch *William de Brews*.

Yna Llewelyn ab Iorwerth, tywysog Gwynedd, gan gofio fel yr oedd yr holl dywysogion ereill yn rhwym yn ol ordeiniad Rhodri Fawr, a chyfreithiau Hywel Dda, i gydnabod brenin neu dywysog Gwynedd fel eu penteyrn, a dala eu tiriogaethau dano ef, ac nid dan frenin Lloegr, fel y gwnelai rhai o honynt—a anfonodd wŷs i holl arglwyddi Cymru i ymgyfarfod mewn cynghor; a hwy a ymddangosasant gan mwyaf ger ei fron, ac a gymmerasant lw o wriogaeth iddo: ond Gwenwynwyn, tywysog Powys, nid ufuddhai i'r alwad; eto pan welodd fod Llewelyn a'r tywysogion ereill yn penderfynu ei orfodi i wneyd, neu gymmeryd ei dywysogaeth oddiarno, efe a gymmerth ei berswadio gan rai o'r offeiriaid i wneyd fel y gwnelsai y tywysogion Cymreig ereill; ac fel hyn ymgadarnhai y tywysog Llewelyn yn ei lywodraeth, ac ymdrechai i sicrhau annibyniaeth ei wlad,

trwy uno gwahanol ranau Cymru tan un penteyrn. Yn fuan ar ol hyn, efe a briododd *Joan*, merch y brenin *John;* ac yn fuan wedi, ychwanegwyd at ei awdurdod trwy lwyr orthrechiad a marwolaeth ei hen elyn, Dafydd ab Owain, yr hwn a fuasai gynt yn dywysog Gwynedd. A thrachefn, yn y flwyddyn 1208, fel yr oedd Gwenwynwyn, tywysog Powys, wedi myned i'r Amwythig, i ymddiddan â chyngor y brenin, efe a ddaliwyd yn garcharor yno, trwy orchymyn y brenin; ac ar hyny, aeth Llewelyn ac a gymmerth feddiant o holl Bowys, a'r trefydd a'r cestyll, ac a'u cadwodd iddo ei hun. A Maelgwyn ab Rhys, pan glybu hyn, ac yn ofni bod Llewelyn yn bwriadu goresgyn y Deheubarth yr un ffunud, a dorodd gestyll Aberystwyth, Ystradmeuric, a Dinerth, gan ei fod yn ofni nas gallai eu cadw rhag Llewelyn; ond y tywysog hwnw a aeth rhagddo i Aberystwyth, ac a ailadeiladodd y castell, ac a'i cadarnhaodd. Wedi hyny cymmerodd gantref Penwedig iddo ei hun, a rhoddes y dryll arall o Geredigion—sef Uch Aeron—i feibion Gruffudd ab Rhys, ei neiaint—sef *Rhys Ieuanc* a'i frodyr—a dychwelodd i Wynedd yn anrhydeddus. Y llwyddiant yma o eiddo Llewelyn a gyffrôdd eiddigedd y Saeson yn ei erbyn; canys Iarll Caer a ddaeth ac a adgyweiriodd gastell Dyganwy, yr hwn a dorasid gan y tywysog Llewelyn; ac a aeth hefyd ac a adgyweiriodd gastell Treffynon; a hyn a gyffrôdd ddigter Llewelyn, fel y rhuthrodd efe ar diroedd yr iarll, gan eu diffeithiaw yn ddiarbed. Yr un eiddigedd a gynhyrfodd *Rhys Gryg* yn y Deheubarth; canys wrth weled rhwysg Llewelyn, a'i garedigrwydd i'w neiaint, efe a aeth i geisio cynnorthwy gan y brenin, yr hyn a gafodd yn llawen; a thrwy y cyfnerthiad hwnw efe a gymmerth gastell Llanymddyfri. Y brenin, tua'r un amser, yn ofni cynnydd cadernid Llewelyn, a ollyngodd Wenwynwyn yn rhydd, ac a roddes gynnorthwy o arfogion i adenill ei dywysogaeth iddo. Maelgwyn ab Rhys yn gweled y pethau hyn, ac yn deall mai amcan y brenin Ioan oedd cadw tywysogion Cymry mewn amrafael â'u gilydd, rhag eu myned trwy eu hundeb yn gymmydogion rhy gryfion i'r Saeson—a aeth at y brenin, ac a gafodd ganddo lu o Normaniaid ac o Saeson, at y rhai yr ychwanegodd ei wŷr ei hun, a chan dori ei lw a'i amod, a aeth yn erbyn ei neiaint, Rhys Ieuanc ac Owain, ac a ddechreuodd ddiffeithiaw eu tiroedd. Ac ar ol dyfod i Benwedig, ymwersyllodd yn Nghilcenyn, lle yr arosodd dros nos, gan fwriadu myned rhagddo yn ei gadgyrchiad dranoeth. Yn y cyfamser, Rhys Ieuanc ac Owain a gynnullasant o gylch tri chant o wŷr dewisedig, ac a ddaethant yn ddirgel, ac a wersyllasant gerllaw; ac yn nyfnder y nos, pan oedd tawelwch yn teyrnasu trwy holl wersyll Maelgwyn, heb un dysgwyliad yn eu mysg y gwnelsid ymosodiad arnynt, hwy a arweiniasant eu harfogion yn y modd dystawaf i wersyll Maelgwyn, gan ruthro ar ei wŷr yn eu cwsg, a gwneyd galanastra ofnadwy arnynt; ac ni ddiangodd ond ychydig nifer gyda Maelgwyn, a'u heinioes yn ysglyfaeth ganddynt, y noswaith hono. Yn yr ymgyrch yma, cymmerwyd ei nai, *Cynan ab Hywel*, a'i brif gynghorwr, *Gruffudd ab Cadwgan*, yn garcharorion; ac *Einion ab Caradawg*, yn nghyda llawer ereill o'i wŷr, a laddwyd.*

Y flwyddyn ganlynol, dygid amryw gwynion at y brenin Ioan, gan arglwyddi y cyffindiroedd—fod y tywysog Llewelyn yn anrheithio eu gwledydd, gan ladd, a llosgi, ac yspeilio, y ffordd y cerddai: am hyny y brenin a gynnullodd fyddin luosog trwy holl Loegr, gan wahodd cynnifer o'r penaethiaid Cymreig a addefent ei uchafiaeth, i'w gynnorthwyo—megys *Gwenwynwyn*, tywysog Powys, *Hywel ab Gruffudd ab Cynan ab Owain Gwynedd*, yr hwn a alltudiasid gan Llewelyn, a *Madog ab Gruffudd*

* Powel's Hist. of Wales, p. 190.

*Maelawr*, a *Meredydd ab Rhotpert*, o Gedewin, a *Maelgwyn* a *Rhys Grŷg*, meibion yr arglwydd Rhys; ac â'r fyddin yma efe a ddaeth hyd Gaerlleon, gan benderfynu llwyr anrheithio holl Wynedd. Ond y tywysog, wedi deall am yr holl ddarpariadau mawrion hyn, a chanfod fod cynnifer o'i gydwladwyr wedi ymgynghreirio â'r gelyn cyffredinol, a anfonodd orchymyn i drigolion swyddi Fflint a Dinbach, i symud eu hanifeiliaid a'u daoedd i Eryri dros amser; a'r brenin a arweiniodd ei fyddin gyda glan y mor, trwy Ruddlan, hyd Ddeganwy, lle y gwersyllodd; ond gwnaed ei sefyllfa yno yn flin a pheryglus yn fuan—canys Llewelyn a'i gwarchaeodd mor gyfyng, fel nas gallai gael dim cynnaliaeth i'w wŷr o Loegr, ac ni feiddiai ei filwyr ymwasgaru o'r gwersyll i geisio ysglyfaethu yspail yn y wlad o'u deutu, na byddai pobl Llewelyn yn rhuthro arnynt, fel llewod o'u llochesau, gan eu lladd yn ddiarbed; ac mor gyfyng fu ar fyddin y brenin, fel y dywedir eu bod yn "gweled yn foethus ganddynt gael cig y meirch i'w fwyta." Yna y brenin, yn gweled nad oedd ganddo ddim arall i'w wneyd, a ddychwelodd adref yn waradwyddus a digofus, gan adael celaneddau llawer o'i wŷr ar hyd y wlad. Ond yr aflwydd yma a barodd i'r brenin benderfynu adnewyddu ei ymgais i ddial ar Llewelyn; ac felly, yn Awst y flwyddyn ganlynol (1212,) efe a ddaeth drachefn, gyda byddin dra lluosawg, a'r un pendefigion Cymreig yn ei gynnorthwyo, ac a groesodd afon Conwy, gan ymwersyllu ar lan yr afon; ac anfonodd ran o'i fyddin o'i flaen i Fangor, y rhai a losgasant y ddinas hono, ac a gymmerasant yr esgob *Rhotpert* yn garcharor—rhyddid yr hwn a brynwyd wedi hyny am ddau cant o hebogiaid. Yna y tywysog, yn gweled holl Loegr, a chymmaint o Gymru, yn ei erbyn, a rhan fawr o'i diriogaeth wedi ei dwyn oddiarno—trwy anogaeth ei gynghoriaid, a anfonodd ei wraig *Joan*, merch y brenin, at ei thad, i erfyn arno ddyfod i amodau heddwch; a'r canlyniad fu i'r tywysog ddyfod at y brenin, ac ymheddychu—ar yr ammodau y byddai iddo dalu i'r brenin, at draul y rhyfel, ugain mil o wartheg, a deugain o feirch, ac hefyd ganiatau i'r brenin arglwyddiaeth y berfeddwlad—rhanau o swydd Fflint a Dinbach—dros byth. Mae lle cryf i gasglu bod y dywysoges, gwraig Llewelyn, wedi dylanwadu llawer arno i gael ganddo ymostwng i'r fath ammodau gwaradwyddus a'r rhai uchod, yn hytrach nag ymladd hyd y diwedd dros annibynolrwydd ei wlad.

Yr oedd y rhan fwyaf o dywysogion a phendefigion Cymru erbyn hyn naill ai wedi eu darostwng neu eu gostegu; ond yr oedd Rhys Ieuanc a'i frawd Owain, meibion Gruffudd ab Rhys, yn cynnal eu hannibynolrwydd eto: am hyny, y brenin a anfonodd at *Ffawcwn*, arglwydd Caerdydd, i godi byddin o wŷr y cyffindiroedd, ac unaw â Maelgwyn a Rhys Fychan, i wneyd cadgyrchiad yn erbyn y ddau frawd; a'r canlyniad fu, eu gorfodi hwythau i ymostwng i geisio heddwch y brenin—ac er mwyn ei gael, rhoddent i fynu iddo yr holl wlad rhwng Dyfi ac Aeron: a chyn gadael y wlad, Ffawcwn a gadarnhaodd gastell Aberystwyth, ac a roddes warchawdlu ynddo, i'w gadw i'r brenin. Ond yn lled fuan, edifarhaodd Maelgwyn, a'i frawd Rhys Gryg, am yr heddwch a wnaethent â'r brenin, ac ymosodasant ar gastell Aberystwyth, yr hwn hefyd a gymmerasant ac a ddinystriasant: a phan welodd eu neiaint, Rhys Ieuanc ac Owain, eu bod hwy wedi tori yr heddwch yn y fath fodd, yn lle ymuno â hwy yn galonog yn erbyn y gelyn estronawl, hwy a lawenychent yn hytrach o'r cyfle i ddial ar eu ceraint, ac a wnaethant gadgyrchiad i wlad Maelgwyn, ac wedi lladd llawer o'i wŷr, dychwelasant gydag yspail fawr.

Y flwyddyn ganlynol, Llewelyn—heb allu goddef trahausder a gormes castellwyr y brenin yn hwy—a wahoddodd *Wenwynwyn*, tywysog Powys, *Maelgwyn ab Rhys*, o'r Deheubarth, *Madawc ab Gruffudd Maelawr*, o Fael-

awr, a *Meredydd ab Rhotpert*, o Gedewin; ac wedi darluniaw iddynt gyflwr truenus y wlad, a dannod iddynt mai eu cyndynrwydd ymrysongar hwy eu hunain yn unig a fuasai yn achlysur i'w dwyn dan iau estronaidd, a lwyddodd i'w darbwyllo i ymuno âg ef unwaith eto mewn ymdrech i adenill eu rhyddid; ac wedi cynnull byddin gref yn nghyd, hwy a adenillasant yr holl gestyll Seisnig yn y berfeddwlad, oddieithr Rhuddlan a Theganwy. Yna, gan ddyfod i Bowys, hwy a warchaeasant ar gastell a gyfodasasai *Robert Vespont*, yn Mathrafael; a'r brenin a ddaeth â byddin gref i'w amddiffyn. Ond wedi cyfodi y gwarchae, dystrywio y castell a wnaeth ef ei hun, a dychwelyd ar frys i Loegr, gan fod ymryson blin yn hanfodi y pryd hyny rhyngddo â'i bendefigion ei hun. Ond y Cymry a barhaent i anrheithio y cyffindiroedd, ac i yspeilio y trigolion o'u meddiannau; a'r brenin, wedi ei hysbysu, a gynnullodd lu annifeiriol, gan fwriadu llwyr ddinystrio y cyfan o genedl y Cymry; ac efe a ddaeth hyd Nottingham ar y cadgyrchiad yma, lle y parodd grogi y gwystlon oeddynt yn ei ddwylaw—sef *Hywel ab Cadwgan*, *Madawc ab Maelgwyn*, ac ereill, hyd wyth ar hugain o rifedi; a *Robert Vespont*, yn y Mwythig hefyd, a grogodd *Rys ab Maelgwyn*, yr hwn nid oedd yn gwbl saith mlwydd oed.

Tra yr oedd y brenin yn Nottingham, efe a dderbyniodd lythyrau oddiwrth ei ferch, gwraig Llewelyn, yn ei rybuddio i roddi y cadgyrchiad yma i fynu, gan fod brad yn cael ei gyfodi yn ei erbyn yn mysg ei bendefigion ei hun; ond yn mlaen y daeth efe hyd Caerlleon, lle y'i cyfarfyddid â llythyron eilwaith oddiwrth ei ferch, yn ei dynghedu er mwyn ei orsedd a'i einioes i ddychwelyd, gan ei sicrhau bod *Robert Fitzwater*, *Eustace de Vescy*, a *Stephen Riddel*, wedi myned drosodd i Ffrainc yn lladronaidd, er mwyn cael gan y brenin hwnw barotoi byddin i ddyfod drosodd i Loegr, i gynnorthwyo ei bendefigion i'w ddiorseddu ef, am ei fod yn cael ei gyfrif yn wrthryfelwr yn erbyn yr eglwys; a'r newydd yma a'i dychrynodd gymmaint, fel y gwasgarodd ei wŷr i'w cartrefi, ac y dychwelodd ei hun ar frys i Lundain.

Yn y flwyddyn 1213, y Pab, er ymddial ar y brenin Ioan, a ryddhaodd y tywysog Llewelyn, yn nghyda Gwenwynwyn a Maelgwyn, oddiwrth y llwon a wnaethent i'r brenin, gan eu gorchymyn i'w flino a'i ymlid hyd eithaf eu gallu, megys gelyn i'r eglwys; ac addawai faddeuant o'u pechodau iddynt, os cyflawnent y gorchwyl yn ffyddlawn. Wedi eu calonogi fel hyn, ni buant yn hir cyn bod Llewelyn wedi adenill y berfeddwlad yn llwyr, a chymmeryd cestyll Rhuddlan a Deganwy, fel na adawodd i'r brenin droedfedd o dir o fewn i Wynedd. Cyn diwedd y flwyddyn ganlynol (1215,) cawn fod y brenin wedi ymheddychu â'r eglwys, a'r Pab yn y canlyniad yn cyhoeddi melldithion ei anffaeledigaeth yn erbyn pwy bynag a'i gwrthladdent; a dywaid *Powel* fod ysgrif awdurdodol o dan law y Pab, yn cynnwys dedryd o ysgymundod ar Llewelyn, ac ereill a ryfelent yn erbyn y brenin, ar gael eto yn mhlith yr hen gofion a gedwir yn y Tŵr. Parodd hyn y fath fraw i *Giles de Breos*, esgob Henffordd, fel yr aeth ac yr ymgymmododd â'r brenin; ond ni pharai bugunad tarw ei sancteiddrwydd unrhyw fraw i Lewelyn, yr hwn a lynai yn ddiysgog wrth ei blaid.

Yn y cyfnod yma, bu Llewelyn yn gyfaerthiad mawr i'r boneddwyr Seisnig rhyddgarawl, yn eu hymdrechion i gael y freinlen a elwir *Magna Charta;* ac y mae bannau o'r freinlen hono yn golygu y Cymry yn arbenig, fel y gwelir oddiwrth y dyfyniadau canlynol:—

"Os darfu i ni ddifeddiannu y Cymry o neb rhyw diroedd neu freintiau, neu bethau ereill, heb gyfreithiawl farn eu cydraddwyr, cânt yn ddioed eu dychwelyd iddynt. Ac os cyfyd un ddadl ar y pen hwn, caiff ei benderfynu yn y cyffindiroedd, trwy farn eu cydraddwyr—am dyddynau yn

Lloegr, yn ol cyfreithiau Lloegr; ac am dýddynau yn Nghymru, yn ol cyfreithiau Cymru. Yr un peth y bydd i'r Cymry ei wneyd tuag atom ni, a thuag at ein deiliaid.

Am yr holl bethau o'r sawl y cafodd neb rhyw Gymro ei ddifeddiannu, heb farn ei gydraddwyr, gan y brenin *Henri*, ein tad, neu gan ein brawd, y brenin *Richard*, a'r sawl bethau y sydd yn ein dwylaw ni, neu yn meddiant ereill dan ein hawdurdod, bydd i ni gael oediad hyd yr amser cyffredinol, yn ganiataol o achos rhyfeloedd y groes; oddieithr y pethau hyny ag ydynt eisoes mewn dadl, neu am y sawl y gwnaethpwyd holiad, cyn cymmeryd arnom ryfel y groes. Ond pan ddychwelom, neu os arhosom gartref, ac na chyflawnom ein pererindod, gwnawn gyflawn iawnder iddynt yn ddioed, yn ol cyfreithiau y Cymry, a'r rheolau rhagadroddedig.*

Bydd i ni yn ddioed anfon adref fab Llewelyn, a'r holl wystlon Cymreig, a'u rhyddhau oddiwrth yr holl amodau a wnaethant â ni, er cynnaliad heddwch."

Gellir meddwl oddiwrth y crybwyllion uchod, fod y brenin Ioan wedi rhoddi ei fryd ar fyned i ryfel y groes, ond ei amrafael rhyngddo â'i bendefigion nis gadawai iddo hamdden i gyflawni hyny; ac yn lled fuan, efe a glafychodd, ac a fu farw; a'i fab, *Harri y Trydydd*, a'i dylynodd yn y freniniaeth; yr hwn yn fuan a ddylynodd hen ystrywiau ei dadau tuag at y Cymry; canys efe a ddenodd *Reynallt de Breos*, daw y tywysog, i dori ei amodau âg ef, ac ymunaw â'r brenin; ond yn fuan daeth Llewelyn a'i luoedd am ei ben, fel y barnodd mai gwell iddo ymostwng i geisio maddeuant ei chwegrwn, yr hyn a ganiatawyd iddo.

Yr oedd y barwniaid Seisnig wedi ceisio a chael cynnorthwy tra effeithiol gan Llewelyn a'r Cymry, yn eu hymdrechion i ysgwyd iau drom y brenin Ioan oddiarnynt: ond ar ol cael eu hamcan, annghofiasant eu cynnorthwywyr, pan yn gwneyd amodau â Harri; ac yn mhen ychydig, iarll Penfro a ymosododd ar dref Caerlleon ar Wysg, ac a'i cymmerodd, gan ymroddi i ddrygu y Cymry. Ar hyny, *Rhys Gryg* a ruthrodd ar gastell Sein Henyd, ac a'i cymmerodd, yn nghyda holl gestyll Gwyr; ac ymlidiodd yr holl Saeson o'r wlad hono, gan roddi eu tiroedd i Gymry, y rhai a wladychasant yno yn eu lle.

Anfonodd y brenin Harri amryw wysiau, oddeutu yr adeg yma, at y tywysog Llewelyn, i erchi ei gyfarfod mewn manau a enwid ganddo yn Lloegr, i wneuthur gwriogaeth iddo; ond yn hytrach nag ufuddhau i'r cyfryw wysiadau, efe a gadarnhaodd gestyll Caerfyrddin ac Aberteifi, gan osod gwarchawdluoedd ynddynt: er hyny, ymddengys iddo dalu rhyw gymmaint o barch i'w eirchion, gan iddo ganiatau i Rys Ieuanc fyned ato i wneyd gwriogaeth iddo am ei diroedd, y rhai a ddelid ganddo megys un o arglwyddi cyffindirol Lloegr.

Tua'r un amser y ffurfiwyd cyfathrachau newyddion rhwng y pendefigion o'r ddwy genedl—canys Rhys Gryg a briododd ferch Iarll Clâr; a *John de Breos* a briododd Marred, ferch Llewelyn. Am *Rheinallt de Breos* ni wyddys pa bryd y terfynodd ei einioes, ond ei weddw a briododd *Ralph Mortimer*, arglwydd Maelienydd, a'i thad, Llewelyn, a roddes yn waddol gyda hi, diriogaethau Ceri a Chedewain: a chyn pen hir ar ol hyn—sef tua'r flwyddyn 1221—priodai merch arall i Llewelyn, âg un o'r arglwyddi Albanaidd, yr hwn oedd yn nai i Iarll Caer.†

Yn nghanol y pryder a lanwai feddwl Llewelyn, o herwydd ei gyssylltiadau cyhoedd, fel tywysog Cymru, chwerwid ei phiol trwy yspryd aflyw-

* Gwel Hanes Cymru, gan y Parch. T. Price, t. d. 631, 632.
† Holnshead, p. 204.

odraethus ei fab henaf, *Gruffudd*, yr hwn, heb gydsyniad ei dad, a drawsfeddiannodd gantref Meirionydd, gan gymmeryd arno awdurdod anibynol ar ei dad. Yna Llewelyn a wysiodd ei fab i ymddangos o'i flaen; a chan iddo wrthod ufuddhau iddo, efe a dyngodd yr ymddialai arno ef a'i ganlynwyr, am gynnyg y fath sarhad ar ei nodweddiad fel penadur a thad; a chyda'r amcan yma, efe a arweiniodd fyddin gref i Feirionydd; a Gruffudd yntau, yn eithaf anhyblyg, a gynnullodd gynnifer o wŷr ar a allai, ar fedr ymladd â'i dad. Ond cyn ymladd o honynt, rhai o ddoethion y ddwy blaid a lwyddasant i gael ganddynt ymheddychu, ac ar ymostyngiad Gruffudd, ei dad a faddeuodd iddo: eto efe a gymmerth oddiarno y cantref a drawsfeddiannasai, a chwmwd Ardudwy, ac a adeiladodd yno gastell iddo ei hun.

Tua'r un amser, digiodd Rhys Ieuanc wrth Llewelyn, o herwydd iddo roddi castell Caerfyrddin i Faelgwyn ab Rhys, ac na roddasai iddo yntau gastell Aberteifi, yr hyn a ystyriai fel ei gyfran pan ranwyd y Deheubarth; ac efe a ymunodd â *William Marshall*, iarll Penfro, yr hwn oedd mewn rhyfel y pryd hyny â Llewelyn; gan hyny, Llewelyn a ddyg ei fyddin yn erbyn castell Aberystwyth, yr hwn a gymmerodd iddo ei hun: yna yr aeth Rhys at y brenin i achwyn am y sarhad; yr hwn yn y canlyniad a wysiodd Llewelyn ac arglwyddi y cyffindiroedd i ymddangos o'i flaen ef yn yr Amwythig, ac yno y'u heddychwyd, a rhoddwyd castell Aberteifi i Rhys, yn ol ei hawl. Yn fuan ar ol hyny—sef yn y flwyddyn 1222—bu farw Rhys Ieuanc, iawn etifedd gorsedd y Deheubarth, a'i frawd Owain a gafodd ran o'i gyfoeth, ond y gweddill a roddwyd gan Lewelyn i Faelgwyn ab Rhys.

Yr oedd Llewelyn erbyn hyn mewn heddwch â'r pendefigion Cymreig yn gyffredinol, ond nid oedd felly â'i holl gymmydogion; canys tra yr oedd *William Marshall*, iarll Penfro, yn absenol yn y Werddon, efe a ymosododd ar ddau o'i gestyll, a chan ladd y ceidwaid, cymmerodd feddiant o honynt, gan roddi ei wŷr ei hun ynddynt. Er dial am y traha yma, daeth y brenin i'r cyffindiroedd gyda byddin; ond efe a ddychwelodd i Loegr yn fuan, heb gyflawni unrhyw orchest filwraidd, gan fod Iarll Caer wedi eiriol dros y tywysog, ac addaw y byddai iddo, erbyn rhyw ddydd penodedig, wneyd iawn am y cam a wnelsai: ond pan welodd Llewelyn fod y perygl wedi cilio, nis gofalai nemawr am gyflawni ei ymrwymiad.* Ond dychwelodd Iarll Penfro yn fuan o'r Werddon, a byddin gref ganddo, a chan lanio yn Nhy Ddewi, efe a adenillodd ei gestyll—sef, Caerfyrddin ac Aberteifi—gan ladd y gwarchawdluoedd Cymreig, megys y gwnelsai Llewelyn â'r eiddo yntau; a dechreuodd anrheithio tiriogaethau Llewelyn â'r tân ac â'r cleddyf: am hyny y tywysog a anfonodd ei fab Gruffudd, gyda byddin o naw mil o wŷr, i'w wrthladd, yr hwn a gyrhaeddodd Gydweli; ond wedi deall fod gwŷr y dref yn bwriadu ei fradychu i ddwylaw y gelyn, efe a losgodd y dref a'r eglwysi yn lludw. Yna yr iarll a groesodd yr afon Tywi, wrth Gaerfyrddin, lle y cyfarfu Gruffudd âg ef, ac ymladd yn galed a wnaeth y ddau lu, heb fod y naill na'r llall yn gallu enill y fuddugoliaeth; ac yn yr hwyr, enciliai y ddwy fyddin ychydig, gan wersyllu ar gyfer eu gilydd, a'r afon rhyngddynt; ac yn y sefyllfa hon y buont yn gorwedd amryw ddyddiau, hyd oni orfu i Gruffudd, o ddiffyg arlwy i'w fyddin, encilio tua Gwynedd. Yna yr iarll a adgyweiriodd gastell Caerfyrddin, ac a ddechreuodd adeiladu castell yn Nghilgeran; ond cyn ei orphen, cafodd ei wysio i ymddangos ger bron y brenin ac archesgob Caergaint, yn Llwydlo—lle hefyd y gwysiwyd y tywysog Llew-

* Warrington's History of Wales, pp. 378, 379.

elyn a'i fab Gruffudd, ac amryw o'i brif bendefigion—er gwneyd ymdrech i'w cymmodi; ond ofer fu eu hymdrechion: a phan fynai yr iarll ddychwelyd i Benfro, gan gael ei gyfnerthu gan Iarll Derbi, a *Henry Pigot*, arglwydd Ewyas, trwy diriogaethau y tywysog, Llewelyn a anfonodd ei fab Gruffudd, a byddin gref, i gymmeryd meddiant o fwlch Carnwyllion, ac yn gynnorthwy iddo daeth Rhys Gryg a'i wŷr; a'r tywysog ei hunan a ddaeth â byddin gref hyd at Mabedryd; yr hyn pan wybu yr iarll, dychwelodd i Loegr, yn hytrach nag anturiaw ymladd â'r fath elynion; ac yna Llewelyn a ddychwelodd i Wynedd.

Y flwyddyn ganlynol daeth y brenin, a chadernid Lloegr gydag ef, i Gymru, ar fedr darostwng Llewelyn a'r holl dywysogaeth iddo ei hunan; ac yn y lle a elwir *Ceri* y gwersyllodd efe, ac o'r tu arall i'r goedwig yr ymgynnullodd y Cymry, dan dywysiad Llewelyn; a bu mynych ymladdau rhyngddynt, yn enwedig un diwrnod, pan ddygwyd grym y ddwy fyddin i'r maes, ac y lladdwyd lluaws mawr o wŷr y brenin, a chymmerwyd un o'i brif swyddogion yn garcharor—sef *Gwilym*, mab *Rheinallt de Breos*, arglwydd Buallt. Ond yn y diwedd, gorfu i'r brenin wneyd heddwch gwarthus â'r tywysog—gan gytuno i'r castell, yr hwn yr oedd efe yn awr trwy ddirfawr draul yn agos a'i orphen, gael ei chwalu eto hyd lawr, a gadael *de Breos* yn garcharor—ac felly efe a ddychwelodd adref; a Llewelyn yntau, a dychwelodd i'w lys ei hun yn Aber, gan ddwyn *Gwilym de Breos* gydag ef, yr hwn a gadwyd yn garcharor ganddo dros yspaid, eto gyda gradd o anrhydedd a rhyddid, gweddus i'w urddas, fel yr ymddengys; canys dywedir iddo cyn hir fod yn euog o gyfeillach anweddaidd â'r dywysoges *Joanna*, gwraig Llewelyn, yr hyn ar y pryd a gedwid yn anhysbys i'r tywysog; ac ar ol iddo fod yn garcharor dros ryw yspaid, cafodd ei ryddid, drwy roddi i ddwylaw Llewelyn gastell Buallt, yn nghyda swm mawr o arian. Ond wedi ei ollyngiad, daeth ei ymddygiad yn hysbys i'r tywysog, yr hwn a'i gwahoddodd i'w lys; ac wedi dannod ei ymddygiad gwarthus iddo, efe a barodd ei grogi ar bren a dyfai ar fryn gerllaw; a'r llanerch a elwir hyd heddyw, "Y wern grogedig," neu "Gwern y grogfa;" a dywedir ei fod wedi ei gladdu mewn lle a elwir "Cae Gwilym Ddu." Mae y cofiant canlynol am y tro uchod yn nghadw yn y gymmydogaeth eto, i'r hwn y dichon fod rhyw sail, er y gall ei fod o ran yn chwedleuol.—Dywedir fod y bardd teuluol, ar ol crogiad *de Breos*, wedi cyfarfod â'r dywysoges yn ymrodio wrthi ei hun, ond yn anhysbys o'r diwedd anffodus a oddiweddasai ei hanwylddyn, ac iddo ei chyfarch yn y modd canlynol:—

"Diccyn doccyn, gwraig Llewelyn,
Beth a roit am weled Gwilym?"

I'r hyn yr atebai hithau—

"Cymry, Lloegr, a Llewelyn,
Rown i gyd am weled Gwilym."

Ac yna efe a ddangosodd ei gordderchwr iddi, yn nghrog ar y pren.*

Tua'r pryd hyn, bu farw *Llewelyn ab Maelgwyn*, yn Ngwynedd, ac efe a gladdwyd yn abatty Aberconwy; a *Maelgwyn ab Rhys* a fu farw yn y Deheubarth, ac a gladdwyd yn abatty Ystrad Fflur: a'r flwyddyn ganlynol, bu farw hen elyn y tywysog—sef *Gwilym Marshall*, iarll Penfro.

* Powel's History of Wales, pp. 203, 204. Williams's History of Carnarvonshire, pp. 654, 655, &c. Matthew Paris, p. 468.

Yn y flwyddyn 1231, arweiniasai y brenin fyddin gref tua Chymru drachefn—efallai mai i ddial ar Lewelyn am roddi un o'i arglwyddi (*Wm. de Breos*) i farwolaeth, heb ymgynghori âg ef. Ond wedi aros ychydig yn y cyffindiroedd, gan fod rhyw amgylchiadau pwysig yn galw am ei ddychweliad prysur ef i Loegr, gadawodd ei fyddin dan lywodraeth *Hubert de Burgh*, i amddiffyn y cyffindiroedd rhag anrheithiau y Cymry; a hwn, wedi ei hysbysu gan ei ysbiwyr, fod nifer o'r Cymry wedi tori i fewn i yspeilio, yn nghymmydogaeth Trefaldwyn, a anfonodd wŷr i'w cynllwyn yn y bylchau ar eu dychweliad, ac i'w lladd â'r cleddyf; ac er prawf o'i wrhydri, anfonodd benau amryw o honynt i Loegr, i'r brenin. Pan glybu Llewelyn am y traha yma, efe a sorodd yn fawr; ac wedi cynnull nifer mawr o arfogion yn nghyd, efe a ymosododd ar diroedd yr arglwyddi cyffindirawl, gan eu hanrheithio yn dost, fel y gwelodd y brenin yn angenrheidiol gynnull byddin gref yn Rhydychain, a cheisio cymhorth yr eglwys hefyd, trwy beri ysgymuno Llewelyn; a chan gyflymu gyda'i fyddin, efe a gyrhaeddodd Henffordd; ac yn y cyfamser, anfonai genadwri at ei gefnogwyr yn yr Iwerddon, i ddeisyf arnynt hwythau ymosod ar diriogaethau Llewelyn o'r ochr hono.

Yr oedd Llewelyn y pryd hwn yn gwersyllu mewn gweirglawdd yn lled agos i gastell Trefaldwyn, yr hwn a adenillasid yn ddiweddar gan y Saeson, o ba rai yr oedd gwarchawdlu cadarn yn ei gadw; a'r tywysog a barodd i fynach o'r Cymer ymdrechu i gamarwain y Saeson, fel y caffai hwynt i'w afael: felly y mynach, pan gyfarfu y swyddogion Seisnig âg ef, a dechreu ei holi am sefyllfa Llewelyn a'i fyddin, a ddywedai ei fod ef âg ychydig wŷr yn gwersyllu yn y weirglawdd gerllaw, a'i fod yn dysgwyl cyfnerthiad yn fuan; a phan ofynent a allai eu marchogion hwy fyned trwy y gors oedd o'u blaen i'r weirglawdd lle y gwersyllai y Cymry, efe a ddywedodd fod Llewelyn wedi tori y bont a arweiniai trwodd, rhag ofn eu rhuthriad hwy, ond eto y gallent yn hawdd groesi y gors â'u meirch; ac âg ychydig farchogion, naill ai gorchfygu y Cymry, neu eu gyru ar ffo. Wedi derbyn yr hysbysiad yma, aeth mintai o'r marchogion Seisnig allan i ymosod ar y Cymry, yr hyn pan y gwelodd Llewelyn, efe a barodd i'w wŷr gymmeryd arnynt ffoi i'r coed, a'r marchogion a'u hymlidiasant gyda rhuthriad cyflym; ond buan y soddai y rhai blaenaf o honynt yn y gors, hyd dorroedd eu meirch; a'r Cymry a droisant ar eu sodlau yn chwimwth, ac a'u lladdasant oll, yn feirch ac yn farchogion, â'u gwaywffyn; ac i ganlyn hyn, cymmerodd brwydr dra ffyrnig a chyffredinol le, yn yr hon y lladdwyd llawer o bobtu; ond y fuddugoliaeth a enillwyd yn drwyadl gan y Cymry, y rhai a gymmerasant amryw o brif swyddogion y brenin yn garcharorion: ac yn fuan ar ol y frwydr hon, bu raid i'r brenin ddychwelyd adref yn llawn mor warthus a'r tro blaenorol.

Yn y cyfamser, *Maelgwyn ab Maelgwyn ab Rhys* a warchaeodd Aberteifi, ac a gymmerodd y dref, ac a'i dystrywiodd hyd at byrth y castell, gan ladd yr holl drigolion; ac yn fuan wedi hyny, efe a ddychwelodd, gyda'i gefnderw, *Owain ab Gruffudd*, a rhai o swyddogion y tywysog Llewelyn, a hwy a dorasant bont Teifi, ac a ymosodasant ar y castell gyda pheiriannau, gan ei ddymchwelyd, ac yna dychwelasant adref yn anrhydeddus.

Yn mhen tua blwyddyn ar ol hyn, yr aeth y tywysog Llewelyn ar gadgyrchiad i Frecheiniog, ac a enillodd holl gestyll y wlad, oddieithr castell Aberhonddu; ac wedi gwarchae mis ar hwnw, a methu ei enill, efe a losgodd y dref, efe a ddychwelodd i Wynedd âg yspail fawr ganddo; ac ar ei daith, llosgodd dref Colunwy, ac adenillodd Ddyfryn Tefeidiawg oddiar *John Fitzalan;* ond methodd a chymmeryd y castell,

Ar ol hyny dymchwelodd y Castell Coch, yn Mhowys, a llosgodd dref Croesoswallt.

Tua'r adeg yma, aeth yn ymrafael rhwng Iarll Penfro a'r brenin; a *Hubert de Burgh*, yr hwn a garcharesid gan y brenin, a ddiangodd o'i afael, ac a ymunodd âg Iarll Penfro a'r tywysog, yn erbyn y brenin; ac â hwy yr ymunodd Maelgwyn ac Owain, ac ymosodasant ar yr ardaloedd oeddynt yn meddiant y brenin, ac a enillasant gestyll Caerdydd, y Fenni, Pencelli, Blaenllyfni, a Bwlch y Ddinas, gan eu tori oll, oddieithr castell Caerdydd. Yna y brenin a gynnullodd lu mawr iawn o Fflandrwysiaid, Normaniaid, Gwasgwyniaid, a Saeson, ac a wnaeth gadgyrchiad rhwysgfawr i Gymru, gan lawn fwriadu dyfetha yr holl wlad; ac efe a wersyllodd gerllaw *Gresmwnt*, a'r iarll a holl gadernid Cymru a wersyllodd ar ei gyfer; a buan y bu yn ysgarmes rhwng rhanau o'r ddwy fyddin, yn yr hon y collodd y brenin tua phum' cant o farchogion, fel y digalonodd ef a'i gynghorwyr, ac y dychwelodd adref yn warthus.

Yn y flwyddyn 1234, unodd yr iarll a'r tywysog eu byddinoedd, ac a ymosodasant ar diroedd y brenin, gan ddifrodi yr oll o'u blaen, o ymylau Cymru hyd dref y Mwythig, yr hon hefyd a gymmerasant, ac a losgasant, ac yna dychwelasant âg yspail fawr. Yr oedd y brenin, yr holl yspaid yma, gydag esgob Caerloyw yn Nghaerwynt, heb feiddio cyfarfod â'i elynion ar y maes; ond yn gorfod gadael ei feddiannau i gael eu hanrheithio gan y Cymry wrth eu hewyllys: ac y mae yn ymddangos fod galanastra ofnadwy wedi cael ei wneyd ar wŷr y brenin yn y cadgyrchiadau hyn—canys y mae *Matthew Paris** yn dywedyd fod torf aneirif o'r *Poictefwys*, milwyr o'r cyfandir oeddynt yn myddin y brenin, wedi eu lladd ar gyffiniau Cymru, a bod celaneddau y Saeson yn gorwedd yn ddirifedi ar hyd y maesydd, heb gladdedigaeth. Ond yn y flwyddyn hon, aeth Iarll Penfro drosodd i'r Werddon, gyda byddin o'i wŷr, ac mewn brwydr yno efe a laddwyd trwy frad rhai o'i wŷr ei hunan, a'i frawd *Gilbert* a etifeddodd ei diriogaethau ef.

Yr oedd y brenin yn awr wedi ei golledu cymmaint, ac wedi ei argyhoeddi nad oedd yn alluog i ymryson â Llewelyn a'i gyfeillion; am hyny efe a anfonodd Edmwnt, archesgob Caergaint, a rhai o'r esgobion gydag ef, ar genadwri ato, i geisio ganddo ymheddychu: a'r archesgob a ddychwelodd at y brenin i Gaerloyw, ac a fynegodd iddo fod y tywysog yn foddlawn i ymheddychu, ond ei fod wedi mynu gosod yn mlaenaf yn yr amodau—fod i'r holl arglwyddi Lloegraidd a wrthryfelasent, i gael eu derbyn yn ol i heddwch y brenin: ac efe a ychwanegai—fod can lleied o ofn bygythion y brenin a'i glerigwyr ar y tywysog Cymreig, fel y dywedai, "Yr wyf yn ofni elusenau y brenin yn fwy na'i holl filwriaeth ef, a'i eglwyswyr hefyd." Ond gan fod y brenin yn awyddus am heddwch, efe a gytunodd â Llewelyn ar ei amodau ei hun, ac a alwodd yr holl bendefigion a ddeolasid ganddo, i'w gyfarfod i Gaerloyw, i dderbyn ei faddeuant, a'r etifeddiaethau a ddygasai efe oddiarnynt.

Yr un flwyddyn hefyd darfu i Lewelyn ryddhau ei fab Gruffudd, yr hwn a fuasai yn garcharor dros chwe' blynedd, am ei wrthryfel.

Un o ffrwythau cyntaf yr ymheddychiad uchod oedd, ddarfod i'r brenin Harri anfon byddin gref drosodd i'r cyfandir, i gynnorthwyo Duc Llydaw yn erbyn brenin Ffrainc, a'r Cymry a anfonasant gyda hwy ddwy fil o wŷr. Bu brwydr rhyngddynt a'r Ffrancod, yn yr hon y bu y lluoedd Brytanaidd yn fuddugoliaethus; ac yn y canlyniad, cymmododd brenin Ffrainc â'r duc, a dychwelodd y Cymry a'r Saeson adref.

* Matth. Paris, p. 526.

Yn y flwyddyn 1237, bu farw *Joan*, neu Sian, gwraig y tywysog Llewelyn, a hi a gladdwyd yn Llanfaes, yn Mon, lle yr adeiladwyd mynachlog i'r brodyr troednoeth gan y tywysog, uwch ben ei bedd. Bu ei harch am flyneddoedd yn gafn dwfr i feirch y boneddwr a breswyliai yn y *Friars;* ond y mae wedi ei hachub o'r sefyllfa warthus hono ers amryw flyneddoedd yn bresenol, gan y diweddar Arglwydd Bulkeley, dan gyfarwyddyd Mr. Richard Llwyd, bardd a hynafiaethydd.

Llewelyn, erbyn hyn, yn teimlo henaint a chanlyniadau oes mor ymdrechgar yn gwasgu arno, ac yn argyhoeddedig o fod diwedd ei einioes gerllaw, ac yn awyddus i sicrhau yr orsedd a'r llywodraeth i'w anwylfab *Dafydd*, a wysiodd bendefigion ac arglwyddi Gwynedd, Powys, a Deheubarth, i'w gyfarfod yn Ystrad Fflur, lle y tyngent lw o ffyddlondeb iddo ef, ac y gwnaethant wyriogaeth i'w fab Dafydd. Ymddengys hefyd iddo gael ei daraw gan y parlys tua'r adeg yma; ac yn gymmaint a'i fod yn cael ei flino gan ei fab Gruffudd, yr hwn oedd yn dywysog taeog ac uchelfrydig, ac o'r herwydd yn ofni na buasai Dafydd, ei fab cyfreithlawn, yn cael mwynhau y llywodraeth ar ei ol, efe a anfonodd esgobion Caerlleon a Henffordd at y brenin Harri, i dalu math o wyriogaeth ar ei ran iddo, ac i erfyn ei nawdd i'r tywysog Dafydd, yr hwn oedd yn nai fab ei chwaer i'r brenin. Ond ymddengys fod amryw o'r pendefigion Cymreig yn annghymmeradwyo y cyfryw ymddygiad, fel pe buasai yn cynnwys cydnabyddiaeth o uchafiaeth y brenin, ac yn rhoddi mantais afreidiol iddo i ymyraeth â llywodraethiad Cymru.

Yn fuan ar ol hyn bu farw y tywysog clodfawr *Llewelyn ab Iorwerth*—sef ar yr 11eg o Ebrill, 1240, wedi bod yn teyrnasu chwe' blynedd a deugain, ac efe a gladdwyd yn Aberconwy.

Cyfansoddai y beirdd amryw odlau er cof am dano, yn y rhai y gwneir coffhad parchus o'i orchestion milwraidd. Fel hyn y canai *Prydydd y Moch*, sef Llywarch ab Llewelyn:—

"Cyfarchaf i'm Rhen,
Cyfarchfawr awen,
Cyfreu Cyridwen,
  Rhwyf barddoni;
Yn dull Taliesin
Yn dillwng Elphin,
Yn dyllest barddrin,
  Beirdd fanieri.

Cymmhwyllaf fy Naf,
Cymru fodrydaf,
Cymro celfyddaf
  'R y wnaeth Celi.
Cymmreisc Lywelyn
Nis cymmrawd neb dyn,
Cymru ei derfyn,
  A'i dorf drosti.

Eryr teyrnedd,
Yr yfais ei fedd,
Ar hedd, ar ddyhedd,
  Ar ddeheu Rhi,
Yr yfais ei win,
O falch fuelin,
A'i wisgoedd eurin,
  A'i fynogi.

Yn llys Aberffraw,
Yn llochi barddrin;
Yn Nghaer fawr Fyrddin,
  Fyrddoedd beri;*
Yn Nghaer Dyganwy,
Yn Abertawy,
Yn agwrdd dramwy
  Dref Gedweli.

Yn Nghaerynarfon,
Yn ngherdd gyflawdon,
Ac yn Nghaerlleon
  Fy llyw dybi,
Yn Nghaer Amwythig,
Yn nghein drefi ner,
Yn nghaeroedd Aber,
  Tyner Teifi.

Yn llys fer Elysmer,
Yn seint clodfan cler,
Yn llysoedd Aber,
  Hydyrfer Honddu,
Yn Nghastell Baldwyn,
Yn Ngheri osgordd,
Yn Hawrffordd dref gordd,
  Dref dyfysci," &c. &c.

* Gwaywffyn.

A ganlyn sydd ran o awdl i'r un tywysog, gan *Ddafydd Benfras*, yn yr hon y cynnwysir coffhad o'i orchestion mewn iaith dra egniol:—

"Gŵr a wnaeth llewych o'r gorllewin,
Haul, a lloer addoer, addef iesin,
A'm gwnel radd uchel, rwyf cyfychwin,
Cyflawn awen, awydd Fyrddin,
I ganu moliant fal Aneurin—gynt,
Dydd y cânt Ododin;
I foli gwyndawd gwyndyd werin,
Gwynedd bendefig, ffynedig ffin,
Gwanas deyrnas, deg cywreinin,
Gwreidd teyrneidd, taer yn mrwydrin,
Gwrawl ei fflamdo am fro Freiddin.
Er pan oreu Duw dyn gyssefin,
Ni wnaeth ei gystal, traws arial trin.
Gorug Llewelyn, orllin—teyrnedd,
Ar y breninedd braw a gorddin,
Pan fu'n ymbrofi â brenin—Lloegr,
Yn llygru swydd Erbin,
Oedd breisg weisg ei fyddin,
Oedd brwysg rwysg ei godorin,
Oedd balch gwalch golchiad ei lain,
Oedd beilch gweilch gweled ei werin,
Oedd clywaid cleddyfau fiinfin,
Oedd clybod clwyf yn mhob elin,
Oedd briw rhiw yn nhrabludd o'i drin,
Oedd braw saw Saeson clawdd y Cnwccin,
Oedd bwlch llafn yn llaw gynnefin,
Oedd gwaedlyd penau gwedi gwaedlin,
Rhyw yn rhedeg am ddeulin," &c.

Wedi marwolaeth Llewelyn, daeth ei fab *Dafydd*, yn ol ei ddymuniad, i'w olynu yn y llywodraeth; ac yn wir y mae yn ymddangos ei fod ef, yn mywyd ei dad, wedi y gynnadledd yn Ystrad Fflur, am yr hon y soniwyd eisoes, wedi ymosod ar feddiannau ei frawd Gruffudd, a dwyn oddiarno Arwystli, Ceri, Cyfeiliog, Mowddwy, Mochnant, a Chaereinion—gan adael cantref Lleyn yn unig fel etifeddiaeth iddo. Ond y weithred yma a gyfododd gryn derfysg yn y wlad; canys yr oedd Gruffudd yn rhyfelwr dewr, ac yn hardd a lluniaidd o gorph, ac hefyd yn fab henaf y tywysog Llewelyn, o'i wraig gyntaf, yr hon oedd Gymraes—nid amgen, *Tangwystl*, ferch *Llywarch Goch*, o Rôs, yr hyn a'i gwnelai yn boblogaidd gyda llawer o'r Cymry. Yn wyneb hyn, rhag ofn i ryfel cartrefol cyffredinol dori allan yn herwydd gwrth-hawlion y ddau frawd yma, darfu i esgob Bangor gynnyg bod cynnadledd i gael ei chynnal rhwng y ddau dywysog, er ymdrechu dyfod i benderfyniad heddychlawn; ac er i Gruffudd ddyfod i'r gynnadledd grybwylledig gyda'r esgob, a than ei nawdd, efe a ddaliwyd ar y ffordd gan ei frawd Dafydd, yr hwn a'i hanfonodd i'w gadw yn garcharor yn nghastell Cricciaeth.

Y cyfryw driniaeth ar dywysog mor boblogaidd a gynnyrchai gyffroad mawr yn y wlad: canys ceraint a chefnogwyr Gruffudd a ddechreuasant ymarfogi ar fedr dial ar Dafydd y camwri a wnelsai â'i frawd, yr hwn a gyfrifent hwy yn meddu hawl cyfiawnach i'r benaduriaeth. Ar y llaw arall, y pendefigion a gefnogent Dafydd a ymbarotoisant i'r ymgyrch, a dechreuent gigyddio eu gilydd yn greulawn trwy holl Wynedd. Ac yn y cyfamser, esgob Bangor, wedi ei ddigio yn fawr gan frad ac annghyfiawnder y tywysog Dafydd, a'i hysgymunodd, ac yna a enciliodd i Loegr, lle

yr achwynodd wrth y brenin am ymddygiad Dafydd, gan erfyn ar y brenin gyfryngu er cael rhyddhau Gruffudd o'r carchar; yna y brenin a anfonodd at Ddafydd, i ddymuno arno ollwng ei frawd yn rhydd, er achub ei enw da ei hun, a gochelyd ysgymmundod a niweidiau ereill: ond Dafydd a atebai i'r cyfryw gais, nas beiddiai efe ollwng Gruffudd yn rhydd, gan haeru y byddai Cymru oll yn wenfflam o derfysg cyffredinol pe y gwnelai hyny. Pan wybu Gruffudd hyn, yntau a anfonodd genadwri at y brenin, i ddywedyd—os y rhyddhai efe ef o garchar, y byddai iddo ddal ei dalaith dan y brenin, gan dalu iddo deyrnged flyneddol o ddau cant o farciau; ac y cynnorthwyai efe ef i ddarostwng y Cymry anorchfygedig, yn y parthau pell o'r tir. *Gruffudd Maelawr* hefyd, yr hwn oedd yn bendefig galluog, a anfonodd at y brenin, i gynnyg ei gynnorthwyo, os deuai efe i Gymru i gosbi Dafydd; ac esgob Bangor a aeth hyd Rufain, er cael gan y Pab ei gyhoeddi yn ysgymmunedig, a'i gyfoeth yn ddirwyedig. Felly y brenin, wedi ei hudo gan y cynnygion teg a wnaed ar ran Gruffudd, a gasglodd fyddin gref, ac a'i harweiniodd hyd y Mwythig, lle yr arosodd dros bymtheng niwrnod; ac yno y daeth amryw o arglwyddi y cyffindiroedd, ac o bendefigion Cymru, i eiriol dros y tywysog Gruffudd. Yna y brenin a symudodd ei fyddin i Gaerlleon; a Dafydd erbyn hyn, yn gweled cynnifer o bendefigion Cymru yn debyg o droi yn ei erbyn, ac yn deall fod y brenin wedi gwneyd cyfamod yn y Mwythig â Gruffudd, trwy gyfrwng ei wraig *Sina*, neu *Senena*—a farnodd yn llawn bryd iddo anfon ei ymostyngiad i'r brenin, a cheisio amodau heddwch ganddo, gan addaw traddodi ei frawd Gruffudd a'i fab, a phawb arall oeddynt yn garcharorion ganddo ar gyfrif Gruffudd, i ddwylaw y brenin, ac ymostwng i ddedryd llys y brenin, o barth i'r ymrafael rhyngddo ef a'i frawd. Cytunai y byddai iddo ef a Gruffudd ddala eu tiroedd dan y brenin, megys goruchafwr. Addawai ddychwelyd i'r arglwyddi Lloegraidd y cyfan o'r tiroedd a gymmerasid oddiarnynt, er dechreuad y rhyfel rhwng ei dad Llewelyn a'r brenin Ioan. Ac ymrwymai hefyd i dalu i'r brenin draul y cadgyrchiad hwnw, ac adferu iddo bob gwriogaeth a oedd yn ddyledus i'r brenin Ioan, &c.*

Pwy Gymro gwladgarawl a all lai na gresynu wrth weled Gwynedd wedi ei darostwng mor isel o herwydd cenfigen ac ymrysonau rhwng ei thywysogion ei hunan! Heblaw gwneuthur y cyfamod crybwylledig yn gyhoeddus â'r brenin Harri III., Dafydd a anfonai genadwri gyfrinachol ato, i ddymuno arno ganiatau iddo ef, yr hwn oedd ei nai, ac oedd hefyd yn etifedd cyfreithlawn y tywysog Llewelyn, gael etifeddu gorsedd y dywysogaeth, yn hytrach na Gruffudd, yr hwn nid oedd yn amgen na bastardd, ac heb fod yn unrhyw garenydd i'r brenin; a rhoddi ar ddeall iddo, os rhyddhau Gruffudd a wnai efe, y byddai yn sicr o adnewyddu y rhyfel. A'r brenin yn cydnabod gwirionedd y pethau hyn, ac yn deall fod Gruffudd yn ŵr tra dewrwych, ac yn meddu llawer o gyfeillion a chefnogwyr, a dueddai i gydsynio â chais Dafydd; ac felly pan roddodd Dafydd ei frawd Gruffudd i fynu i'r brenin, efe a'i hanfonodd ef a'i wraig, a'i fab Owain, i Lundain, i'w cadw yn y tŵr, gan drefnu cynnaliaeth weddus iddynt: ac yn mhen ychydig, aeth Dafydd ei hunan i'r llys, lle yr adnewyddodd ei amodau â'r brenin, ac yna dychwelodd i Gymru.

Pan ganfu Gruffudd pa fodd yr oedd pethau yn myned yn mlaen, a deall nad oedd efe yn ddim amgen na charcharor yn y tŵr, efe a benderfynodd wneyd ymdrech i ddianc; ac un noswaith, gwnaeth raff o ddillad ei wely, a'r llieiniau oeddynt yn ei ystafell, ac aeth allan trwy y ffenestr,

* Gwel y darllenydd y cyfamodau uchod yn llawn yn Powel's History of Wales, pp. 217—221.

ar fedr disgyn ar hyd y rhaff; ond pan ar ei ffordd i lawr, gan ei fod yn ddyn tew iawn, a thrwm o gorpholaeth, torodd y rhaff, ac yntau a syrthiodd, ac a fu farw o'r codwm yn y fan: a'r brenin, pan wybu hyn, a gosbodd y gwylwyr am eu hesgeulusdra, ac a barodd wylio ei fab yn fwy gofalus. Digwyddodd hyn yn y flwyddyn 1244; ac yn fuan ar ol hyny, y brenin a gadarnhaodd gastell Diserth, yn swydd Fflint; ac er arddangos ei hawl benadurawl ar Gymru, yn ol ei gyfamod blaenorol â Dafydd, efe a roddes i *Gruffudd ab Gwenwynwyn* ei holl gyfoeth yn Mhowys, ac i feibion *Cynan ab Owain Gwynedd* eu heiddo yn Meirionydd; a dechreuodd ormesu y Cymry yn drwm, gan afaelyd ar eu tiroedd trwy drais; ac er dangos ei amcanion ar y wlad yn mhellach, enwodd ei fab hynaf Iorwerth yn *Dywysog Cymru!*

Yr oedd y tywysog Dafydd erbyn hyn yn dechreu profi canlyniadau chwerwon ei ymostyngiad i'r brenin, ac am hyny efe a anfonodd genhadon urddasol i Rufain, gydag anrhegion gwerthfawr i'r Pab, i achwyn am y gorthrymder a oddefai oddiwrth y brenin; gan honni fod ei dad, Llewelyn, wedi gadael y dywysogaeth iddo ef, dan nawdd Eglwys Rhufain; a deisyfai gan hyny ar i'r Pab ei dderbyn i'w nawdd, a chaniatau iddo ef a'i etifeddion gael ei dala felly, drwy dalu yn flyneddawl bum' can' morc, i'r hyn yr ymrwymai drwy lw, a gweithred ysgrifenedig.

Y Pab *Innocent* a dderbyniodd y cyfryw gynnygion, ac a anfonodd lythyrau at abadau Aberconwy a'r Cymmer, yn erchi iddynt ymchwilio i'r cwynion; ac os gwelent fod y tywysog wedi ymrwymo i'r brenin dan ddylanwad ofn, a thrwy drais, awdurdodid hwynt i'w ryddhau oddiwrth ei lwon. Y dirprwywyr dywededig gan hyny a wysiasant frenin Lloegr i ymddangos ger eu bron yn y Creuddyn, yn eglwys Llangystenyn, i ateb i'r achwyniadau a roisai y tywysog yn ei erbyn. Y brenin a chwarddai am eofndra yr abadau; ond gan ei fod yn ddigon hysbys o drachwant y Pab, efe a anfonodd genhadon â haelach anrhegion iddo, er mwyn cael ei esgusodi rhag cydsynio â'r gwys uchod: ac felly, yn ol ei arfer, gwobrwyid y Pab gan y ddwy blaid, tra nas gwnelai les penderfynol i'r naill i'r llall.

Yna y tywysog a gynnullodd ei holl nerth, gan anog holl bendefigion Cymru i ymarfogi, er dial y camwri a gawsent oddiar ddwylaw arglwyddi y cyffindiroedd; ac wedi ffurfio y cynghreiriad yma, hwy a anrheithiasant eu tiriogaethau yn ddiarbed. Ond Ieirll Clâr a Henffordd, arglwyddi Mynwy a'r Wyddgrug, ac ereill, a gynnullasant eu harfogion i'w gwrthladd, a bu amryw frwydrau gwaedlyd a chyndyn rhyngddynt, a'r Cymry fynychaf yn enill y dydd. Yn y cadgyrchiadau hyn, lladdwyd amryw o urddasolion y Saeson; ac yn mysg ereill, maeslywydd enwog o'r enw *Hubert Fitz-Matthew*, yr hwn a anfonasai y brenin, gyda byddin o farchogion, i gynnorthwyo arglwyddi y cyffindiroedd; a chymmerodd y tywysog Dafydd feddiant o gastell y Wyddgrug, gan ladd llawer o'r castellwyr, a chymmeryd y lleill yn garcharorion.

Y brenin bellach a welai fod yn rhaid iddo roddi ei holl allu ar waith i geisio ffrwyno y tywysog Cymreig, ac efe a gynnullodd fyddin anferth o Saeson a Gwasgwynwys, â'r hon y penderfynai oresgyn Gwynedd, a llwyr ddystrywio nerth y dywysogaeth. Ar yr un pryd anfonid i'r Iwerddon, er annog byddin o filwyr Gwyddelig i ymosod ar ynys Fon, i'w hanrheithio, tra fyddai yntau a'i fyddin yn difrodi parthau ereill o'r wlad; ac felly daeth haid luosog o'r bobl hyny drosodd, gan ysglyfaethu ysglyfaeth fawr; ond preswylwyr yr Ynys, gan gael cyfnerthiad o fyddin y tywysog hefyd, ond odid, a ymgynnullasant, ac a ymosodasant arnynt tra yn llwythog gan yspail, gan ladd llawer, a gyru y lleill i ffoi i'w llongau, yn dda ganddy

gael eu heinioes, er gadael yr ysglyfaeth ar ol. Daeth y brenin a'i fyddin yn mlaen hyd lan afon Gonwy, a'r tywysog a'i fyddin yn encilio o'i flaen i fylchau Eryri; ond y brenin, yn ofni ei ddylyn yn mhellach, a wersyllodd yn Nheganwy; ac mor ddyfal y gwylid arno gan y Cymry, ac mor ddisymwth y disgynent ar ei wŷr, od ymwasgarent ychydig o'r gwersyll, fel y bu yn galed iawn ar y brenin, ac y collodd nifer ddirfawr o'i wŷr, trwy newyn, oerni, a'r cleddyf; ac wedi bod yno ddeng wythnos, heb allu gwneyd dim ond cadarnhau y castell, efe a ddychwelodd gyda gweddill ei fyddin i Loegr, wedi ei doi â gwarth, a'i lenwi â digllonedd at y Cymry; ac i ymddial arnynt, efe a benderfynodd eu newynu—gan roddi gorchymyn caeth, na ddygai neb ddim lluniaeth ar hyd y môr i Gymru, o'r Iwerddon, nag o un man arall, dan berygl cosb angeuol. Ond nid oedd hyn yn ddigon tra yr oedd gororau Lloegr yn agored, i brynu neu yspeilio; felly y brenin, yn ei gynddaredd, a barodd ddifrodi y cyffindiroedd, er mai ei ddeiliaid ef ei hun a'u cyfaneddent, i'r fath raddau, fel mai prin y gadewid i drigolion swydd Gaerlleon, a'r ardaloedd cyfnesawl, ddigon i'w cadw rhag newynu; a pharodd gau i fynu ffyynhonau yr halen, rhag i'r Cymry gael dim gwasanaeth oddiwrth y rhai hyny.

Wedi enciliad y brenin i Loegr, enciliodd Dafydd yntau i'w gastell ei hun yn Aber, lle y bu farw yn mis Mawrth, 1246, wedi enwogi ei hun yn y rhan olaf o'i deyrnasiad, ac enill serch a pharch ei ddeiliaid yn gyffredinol; ac efe a gladdwyd yn Aberconwy, gerllaw ei dad, wedi llywodraethu y dywysogaeth bum' mlynedd.

Am na adawsai y tywysog Dafydd blant o'i ol, ymgynnullodd arglwyddi a phendefigion Cymru i ymgynghori yn nghylch yr olyniad, a chytunasant i anfon am *Llewelyn* ac *Owain Goch*, meibion Gruffudd ab Llewelyn, fel yr etifeddion nesaf; a gwnaethant eu gwriogaeth iddynt; a'r brodyr dywededig a ranasant y dywysogaeth rhyngddynt. Buasai Owain, dros yspaid teyrnasiad ei ewythr Dafydd, yn fath o garcharor anrhydeddus gan frenin Lloegr; ond pan glybu am farwolaeth y tywysog, efe a ddaeth i Gymru yn ddisymwth, i roddi ei hawl o'r dywysogaeth i mewn. Am Llewelyn, dywedir ei fod ef yn trigo, trwy yr ystod crybwylledig, yn ei lys ei hun yn Maesmynan, gerllaw Caerwys, yn swydd Fflint; a'i fod, er gwaethaf y brenin ar un llaw, a'r tywysog—ei ewythr—ar y llaw arall, wedi parhau i gadw meddiant o gantrefi Rhos a Rhufoniawc, Dyffryn Clwyd, a Thegeingl. Ar ol eu dewis i'r llywodraeth, efallai fod Owain wedi ymgartrefu yn yr hen lys tywysogaidd yn yr Aberffraw, a'i frawd Llewelyn wedi gwneyd ei brif artrefle yn Abergwyngregyn. Tros ychydig enyd, parhaodd y ddau dywysog i weini y llywodraeth mewn heddwch; ac nid oedd hyny yn rhyfedd, canys yr oedd y flwyddyn gyntaf o'u teyrnasiad, sef 1247, yn flwyddyn o brinder mawr, os nid o newyn, ar y dywysogaeth; yn gymmaint a bod y maesydd wedi eu gadael heb eu trin, llawer o'u hanifeiliaid wedi eu lladd, ac esgeulustra mawr o fagu rhai wedi bod yn eu plith, yn y blyneddoedd blaenorol, o herwydd y rhyfeloedd diball; a'u masnach wedi ei llwyr-lethu, gan orthrymder y Saeson. Mae yr hen hanesydd mynachaidd, *Matthew Paris*, yn rhoddi y darluniad canlynol o gyflwr y genedl ar y pryd hwn:—"Cyfyngwasgwyd y Cymry yn y dyddiau hyny; attregodd eu hammaethyddiaeth, eu masnach, a bugeiliaeth eu preiddiau, a dechreuasant gael eu difa gan eisiau, wedi eu crymu yn anfoddlawn dan gyfreithiau y Saeson: gwywodd eu gorhenfalch uchelfonedd."

Y mae y Parch. *Thomas Price* yn sylwi fod yr ymadrodd olaf yma, o eiddo hanesydd gelynol i'n cenedl, yr hwn a ymorfoleddai yn eu hafiwydd, ac a amcanai eu darostwng ar bob achlysur, yn gwrthbwyso crug-

lwyth o enllib a sen.—"Canfyddwn ynddo rywbeth o wir agwedd greddfol y genedl: yr uchel urddas foneddol, a'r ymarweddiad pendefigawl, a ymddangosai yn *Rhys ab Gruffudd* ac *Owain Cyfeiliawc;* hyfdra cynhenid y bobl gyffredin yn cyfarch tywysogion ac arglwyddi yn eofn, ac yn traethu eu meddyliau wrthynt yn ddiarswyd; yspryd anorchfygadwy y genedl yn gyffredinol, yn wastad yn barod i amddiffyn eu gwlad a'u rhyddid; yn dyoddef pob caledi er eu mwyn, ac erddynt hwy yn gorfoleddu yn y dysgwyliad o syrthio ar y maes. Gosodwn at hyn eu haelioni, eu moesgarwch, a'u gwareidd-dra lletuaidd, ac, meddyliaf y cawn yn yr ymadrodd, er yn ddifwriad gan yr awdwr, gywirach drychosodiad o anianawd y bobl, nag mewn llawer o'i draethiadau darluniol ereill.—Pobl dlawd, mynyddig, troednoeth, llwmddillad, anfoethus, yn byw mewn tai gwiail, ac yn cysgu ar welyau brwyn; yn cynnal y cyfryw uchel-agwedd anrhydeddus yn ngwyneb gelynion goludog, glwth, a threisiol! Wele, yn wir, wrthddrych nid o aml ymddangosiad yn mhlith cenedloedd y byd."*

Yn fuan ar ol i'r tywysogion esgyn i'r arglwyddiaeth ar Gymru, a thra yr oedd eu gwlad, fel y darluniwyd uchod, yn gorwedd mewn cyfyngder dirfawr, gorfodwyd hwy i gyttuno am heddwch â brenin Lloegr ar yr amodau celyd o roddi i fynu dros byth gantrefi Rhos, Rhufoniawg, Dyffryn Clwyd, a Thegeingl—sef yr holl wlad o afon Dyfrdwy i afon Conwy; ac ymrwymo i wasanaethu y brenin yn Nghymru, neu y cyffindiroedd, â mil o wŷr traed, a phedwar ar hugain o farchfilwyr arfog, ar eu traul eu hunain, pa bryd bynag y gelwid arnynt; neu â phum' cant o wŷr traed yn unig, os y gelwid arnynt i wasanaethu mewn rhyw wlad arall; a bod gwriogaeth a gwasanaeth yr holl bendefigion Cymreig i fod yn eiddo breninoedd Lloegr dros byth; ac os byddai i'r amodau hyn gael eu tori o du y tywysogion Cymreig, bod y cyfan o'u tiriogaethau i fod yn gamlwrw i'r brenin.†

O gylch y pryd hwn, darfu i abadau Conwy ac Ystrad Fflur lwyddo i gael gan y brenin roddi corph *Gruffudd ab Llewelyn* i fynu iddynt, yr hwn a gludwyd ganddynt i Gymru, ac a gladdwyd yn anrhydeddus yn Aberconwy.

Mewn canlyniad i'r amodiad uchod, rhoddes y brenin y pedwar cantref —sef y wlad rhwng Conwy a'r Dyfrdwy—yn chwanegiad at Gaerlleon, &c. fel etifeddiaeth i'w fab Iorwerth, yr hwn a'i gosododd i bendefig Seisnig, o'r enw *Alan de Zouch*, am yr ardreth blyneddol o un cant ar ddeg o farciau; a blin y gorthrymai yr estron hwn drigolion y berfeddwlad—ymorfoleddai yn eu gorlethiad, gan feddwl nad oedd obaith y gallent byth mwyach ysgwyd eu gyddfau odditan ei wadnau: ac yn wir, yr oeddynt fel cenedl heb yspryd ynddynt dros rai blyneddoedd yn y cyfnod yma; ond fel y dechreuodd ychydig lawnder gael ei adferu yn y wlad, ar ol y prinder dirfawr, dechreuodd yspryd y trigolion ymddadebru ynddynt. Ond ysywaeth, amlygai y dadebriad hwnw ei hun mewn cynhenau cartrefol rhyngddynt â'u gilydd, yn hytrach nag mewn ymroad unfrydawl yn erbyn y gelyn cyffredinol; canys yn y flwyddyn 1254, dechreuodd Owain aflonyddu, a thrachwantu yr orsedd iddo ei hunan; ac wedi llithio ei frawd ieuengaf Dafydd i ymunaw âg ef yn erbyn Llewelyn, hwy a gynnullasant luoedd yn nghyd; ond Llewelyn a'u cyfarfu ar Fryn Derwyn, gerllaw Clynog Fawr, yn Arfon, lle yr ymladdwyd brwydr ffyrnig, ac Owain a gymmerwyd yn garcharor, ond Dafydd a ffodd; a'r fyddin gynghreiriawl a wasgarwyd, wedi ei llwyr orthrechu. Yn y canlyniad i

* Hanes Cymru, t. d. 679.

† Warrington's History of Wales, pp. 428, 429.

hyn, cadwyd Owain yn garcharor flyneddau lawer—tair ar hugain, medd rhai—a Llewelyn a feddiannai orsedd y dywysogaeth ei hunan. Bernir yn gyffredin mai yn nghastell Dolbadarn, yn swydd Arfon, y'i carcherid; a dywedir fod gan ei frawd Llewelyn lys yn y gymmydogaeth—sef Llys Dinorwig.*

Ni fu Llewelyn yn hir wedi cael yr holl dalaeth iddo ei hun cyn cael arfod i amlygu ei wroldeb mewn gwell achos nag ymryson cartrefol—canys pendefigion y wlad yn gyffredinol a ddaethant at Lewelyn, gan gwyno yn dost oblegid y gorthrymderau a ddyoddefent oddiwrth y tywysog Iorwerth, a phendefigion Seisnig ereill, gan erfyn arno eu harwain mewn un ymdrech eto i ysgwyd yr iau ofidus oddiarnynt eu hunain a'u cenedl. Felly efe a dosturiodd wrthynt, a gydsyniodd â'u cais, ac wedi cynnull cryn nifer o arfogion yn nghyd mewn byr amser, efe a ymosododd yn ddiatreg ar y tiriogaethau oeddynt yn meddiant y Saeson; ac mewn ychydig amser, enillodd yr holl berfeddwlad, a Meirionydd. Wedi hyny adenillodd y tiroedd a drawsfeddiannasai Iorwerth yn Ngheredigion, ac a'u rhoddodd i *Maredydd ab Owain ab Gruffudd*, ei nai; a chan yru *Rhys Fychan* o gantref Buallt, rhoddes yr arglwyddiaeth hono i *Maredydd ab Rhys Gryg;* ac felly rhanai yr hyn oll a enillai rhwng ei bendefigion, heb gadw dim iddo ei hun yn wobrwy ei ymdrechion a'i fuddugoliaethau, ond y mawrglod a enillasai drwy y wlad.

Wedi hyny efe a ddygodd ardal Gwrthrynion oddiar *Rhosser Mortimer;* a'r flwyddyn ganlynol—sef 1256—efe a aeth tua Phowys, mewn cadgyrchiad yn erbyn *Gruffudd ab Gwenwynwyn*, yr hwn a bleidiai y brenin, a dygai yr holl wlad oddiarno, oddieithr y Castell Coch, ac ychydig diroedd ar lan Hafren.

*Rhys Fychan ab Rhys Mechell*, gan feddwl adenill ei diroedd drachefn, a gafodd fyddin fawr gan y brenin, dan lywyddiaeth un o'r enw *Stephan Bacon*, yr hon a ddaeth ar hyd y môr i Gaerfyrddin, ac a aeth oddiyno hyd gastell Dinefwr, ar yr hwn y dechreuasant warchae; ond Llewelyn a frysiodd yno gyda'i luoedd ei hun, a'r eiddo ei geraint, a bu brwydr waedlyd rhwng y ddau lu, gerllaw y castell, yn yr hon y bu Llewelyn eto yn fuddugoliaethus, gan ladd dwy fil o'i elynion, a gyru y lleill ar ffo. Efe a aeth oddiyno hyd Ddyfed, ac a ddinystriodd gestyll Abercorran, Llanstephan, Maenclochog, ac Arberth; ac yna dychwelodd adref gydag anrhaith fawr.

Ar y pryd hwn hefyd, gan fod un o'r enw *Syr Sieffrey Langley*, rhaglaw iarll Caer, yn gorthrymu rhai o'r Cymry yn flin, trodd y tywysog ei wyneb tua thiriogaethau yr iarll, gan eu hanrheithio yn ddiarbed, hyd byrth Caer, oddeutu yr afon, a lladd gwŷr Iorwerth pa le bynag y'u cyfarfyddent. Yna y tywysog Seisnig, yn dra chythruddawl, a aeth at ei ewythr *Richard*, iarll Cernyw, i erfyn am gynnorthwy—gan fod ei dad, y brenin, yn anewyllysgar, neu yn hytrach yn analluog o herwydd ei dlodi, i'w gynnorthwyo—a chafodd gan hwnw bedair mil o forcau, at gario y rhyfel yn mlaen; ac â'r rhai hyny cynnullodd fyddin gref, gyda'r hon y cychwynodd tua Chymru, ar fedr llwyr ddial ei sarhad a'i golledion ar Llewelyn; ond yr oedd y gwron hwnw ar y maes, a byddin o ddeng mil o arfogion dano, oll wedi gwneyd llw y trengent ar y maes, cynt y bradychent eu gwlad; ac felly ni feiddiai Iorwerth ei gyfarfod y pryd hyny: a'r holl auaf canlynol a fu mor wlawog a thymhestlog, fel na feiddiai y fyddin Seisnig anturio i Gymru, am fod y corsydd mawrion yn gwneyd y wlad yn annhramwyadwy i ddyeithriaid; ac felly yr aeth traul a llafur

* Hist. of Carnarvonshire, by the Rev. P. B. Williams, pp. 113 and 127.

Iorwerth yn gwbl ofer. Ond y Cymry, yn ddifraw a dirwystr, a anrheithiasant yr holl wlad o amgylch Caer, gan ladd llawer o'r bobl, a dwyn yspail fawr oddiarnynt.

Y flwyddyn nesaf—sef 1257—aeth Llewelyn ar gadgyrchiad eto i'r Deheubarth, lle y cospodd amryw o gefnogwyr y brenin yn llym.

Yn y cyfamser, yr oedd arglwydd Dinas Bran, *Gruffudd ab Madawc Maelawr*, wedi cyffroi digllonedd y tywysog a'i gyfeillion yn fawr, trwy ei fod wedi troi yn ffals i'w genedl, a chilio at y brenin; am hyny, ar ei ddychweliad o'r Deheubarth, penderfynai Llewelyn ymddial ar y bradwr hwnw; ac ar y ffordd cyfarfu âg Iorwerth, yr hwn, wedi ei guro yn dda, a yrwyd i gilio; ac yna Llewelyn a anrheithiodd diroedd y dywededig Gruffudd. Yna breninoedd Lloegr a'r Almaen a ysgrifenasant ato yn garedig, gan ddymuno arno ddychwelyd i'w wlad; ond efe a omeddodd wneyd hyny, gan gryfhau ei fyddin beunydd. Yna Iorwerth a anfonodd at y Gwyddelod, i erfyn arnynt hwy ddyfod yn gynnorthwy iddo; ond Llewelyn, pan ddeallodd hyny, a barotodd ei longau i'w gwrthladd; ac yn y canlyniad gorfodwyd y rhai hyny i ddychwelyd adref yn golledus yn fuan.

Yna y brenin, yn ddigllawn o herwydd ei golledion a'i sarhad, a gynnullodd fyddin dra lluosog o bob cwr o'r deyrnas—o Gernyw hyd yr Alban—ac a gychwynodd gyda hi tua Chymru. Yna Llewelyn a'r Cymry a gludasant eu gwragedd a'u plant, yn nghyda'u hanifeiliaid, i'r mynyddoedd; gan aredig y dolydd, dinystrio y melinau, tori i lawr y pontydd, a chloddio i fynu y rhydau, a dileu pob peth a allasai fod o wasanaeth i'r fyddin elynol; ac yna, enciliasant dros afon Gonwy. Y brenin a ddaeth yn mlaen hyd Deganwy, ond ni feiddiai groesi yr afon ar ol ei elynion; a chafodd y fath wrthladdiad oddiwrthynt, fel y bu orfod iddo ddychwelyd i Loegr y tro hwn eto, gyda gwarth a cholled, megys ar achlysuron blaenorol: a'r canlyniad fu i'r Cymry ymgalonogi, ac ymadnewyddu yn eu hymdrechion i sierhau annibyniaeth eu gwlad, ac ysgwyd ymaith yr iau estronol a orweddai mor anesmwyth ar warrau rhai o honynt. Felly yn yr un flwyddyn—sef 1257—canfyddwn y tywysog Llewelyn yn rhuthro ar feddiannau Iarll Caerloyw, ac yn cymmeryd un o'i gestyll, gan ladd y rhai a'i cadwent. Tua'r pryd hyn yr oedd y tair talaith yn addef awdurdod Llewelyn fel eu tywysog, ac wedi ysgwyd ymaith iau brenin Lloegr yn dra llwyr: ac wedi i Lewelyn ddarostwng y rhan fwyaf o'r arglwyddi cyffindirawl, a chyflawni amryw orchestion milwraidd dihafal, cafodd y genedl enyd o seibiant oddiwrth elynion cartrefol ac estronol.

Ond yn y flwyddyn 1272, bu farw Harri frenin; a'i fab Iorwerth—yr hwn oedd y pryd hyny yn Mhalestina, yn *rhyfel y groes*—wedi clywed, a frysiodd adref, ac a goronwyd yn frenin Lloegr, dan yr enw *Iorwerth I.* Anfonid gwys i Lewelyn, i erchi iddo ddyfod i fod yn gyd-ddrychiol ar goroniad y penadur Seisnig, a thalu gwriogaeth iddo; ond y tywysog Cymreig a omeddai ufuddhau, oddieithr i'r brenin roddi ei frawd ei hun, yn nghydag Iarll Caerloyw, a *Robert Burnell*, prif ynad ei deyrnas, yn wystlon am ei ddyogeliad; gan fod yn llys y brenin amryw o'i ddeiliaid gwrthryfelus, yn nghyda llawer o bendefigion Lloegraidd, a dra sychedent am ei waed.

Y Cymry bradychus y cyfeiriai Llewelyn atynt yn yr esgusawd uchod, oeddynt—ei frawd ei hun, *Dafydd ab Gruffudd*, yr hwn a giliasai o'r blaen at Harri III., a *Gruffudd ab Gwenwynwyn*, yr hwn a amlygasai elyniaeth at y tywysog lawer gwaith o'r blaen; ac ychydig cyn yr adeg yma, a adnewyddasai ei draha yn erbyn y tywysog, a rhag ei ddialedd a giliasai i lys Iorwerth.

Trwy fod gan y brenin Iorwerth lonaid ei ddwylaw o waith, ar hyn o bryd, i adferu iawndrefn yn ei deyrnas ei hun—er mor ddolurus y teimlai o herwydd ymddygiad anhyblyg y tywysog Llewelyn—ni farnodd yn addas amlygu cymmaint o hyny y pryd hyn; ond dysgwyliai am arfod fwy manteisiol i ymddial arno, ac ni fu yn hir heb ei gael; canys yn y tymhor yma o seibiant, bwriadai Llewelyn briodi âg *Eleanor*, ferch *Simon de Monteforte*, iarll Leicester, â'r hon y'i dyweddiasid ers amryw flynedd-oedd o'r blaen, pan ydoedd y tywysog a'r iarll yn cydymladd yn erbyn Harri III. Ar ol marwolaeth ei thad, aethai Eleanor i fonachlog Montargis, yn Ffrainc, lle y bu yn aros dros hir amser; ond o gylch y pryd hwn —sef 1276—anfonai Llewelyn at frenin Ffrainc, i erfyn arno anfon ei ddyweddi ato, fel y cyflawnai y briodas. Cydsyniodd brenin Ffrainc â chais y tywysog; a mam Eleanor a'i hanfonodd drosodd, dan nawdd ei brawd *Emri:* ond fel yr oedd y llong yn nesu tua gororau Prydain, cyfarfuwyd â hi gan bedair o longau y brenin Iorwerth, y rhai a'i dygasant i borthladd *Bristol*, ac oddiyno anfonid Eleanor a'i brawd at y brenin, gan yr hwn y'u cedwid yn fath o garcharorion; eto ymddygid tuag atynt yn dra anrhydeddus, gan eu derbyn i'r llys breninol; ac nid oedd hyn yn rhyfeddol, canys yr oedd Eleanor yn gyfnither âg Iorwerth, a thylwyth Simon de Monteforte yn gryfion eu dylanwad eto yn y wlad. Pan ddeallodd Llewelyn am yr anffawd yma, efe a anfonodd at Iorwerth, i erfyn am ei rhyddhad, gan gynnyg arian lawer am hyny; ond yr ateb a roddid i'w geisiadau ydoedd—na roddid y dywysoges i fynu, oddieithr i Lewelyn adferu i ddeiliaid y brenin y cwbl o'r tiroedd a ddygasai oddiarnynt, ac adgyweiriaw yr holl gestyll a ddymchwelasai efe: ond Llewelyn, fel tywysog dewr a gwladgar, a wrthododd yr amodau annheilwng hyn, gyda dirmyg a digter.

Fel hyn adgyffroid gelyniaeth y ddau dywysog, ac ymbarotoi i ryfel a wnaethant; y brenin a ymosododd ar Gymru â thair byddin—y gyntaf, dan ei dywysiad ei hunan, a gyfeiriai tua Chaerlleon; yr ail, dan Iarll Lincoln a Rosser Mortimer, a gyfeiriai i Drefaldwyn; a'r drydedd a gyfeiriai i Gaerfyrddin. Cefnogid y rhai hyn gan yr holl bendefigion Cymreig bradwrus, y rhai a wnaent eu goreu i berswadio ereill i ymgymmodi â'r brenin, gan ddarlunio achos y tywysog yn anobeithiol; ac felly yn fuan y pedwar pendefig cadarnaf o'r Deheubarth—sef *Rhys ab Meredydd*, *Gruffudd ab Meredydd*, *Cynan ab Meredydd*, a *Rhys Windawd*, a aethant at y brenin, ac a wnaethant wriogaeth iddo, a'r holl wlad a feddiannwyd gan filwyr y brenin. *Gruffudd ab Gwenwynwyn* hefyd a adenillodd ei gyfoeth yn Mhowys, trwy gynnorthwy y fyddin freninol; a'r brenin a'i fyddin a ymwthiodd i'r berfeddwlad, ac a gadarnhaodd gestyll Fflint a Rhuddlan; ac arosodd yn y lle olaf yma dalm o amser, gan anfon byddin oddiyno i ynys Fon, i losgi yr ydau, a diffeithio y wlad, fel na chaffai gwŷr y tywysog ymborth oddiyno.

Fel hyn gwarchaeid ar Llewelyn yn mynyddoedd Eryri, lle y bygythid ei filwyr glewion, a'r ychydig ddeiliaid ffyddlawn a lynent wrtho, â newyn. Er hyny nid yw yn annhebyg y gallasai efe ddal allan mor faith, a blino byddinoedd y brenin mor fawr, fel ag i'w orfodi i ddychwelyd i'w wlad yn aflwyddiannus y tro hwn, megys amserau blaenorol; ond yr oedd ei anwylyd, Eleanor de Monteforte, yn meddiant Iorwerth y pryd hwn; a barnai Llewelyn nad y ffordd debycaf iddo i enill ei rhyddid oedd ei yru i gynddaredd felly. Am hyny efe a anfonodd at y brenin i geisio amodau heddwch; a chaniatawyd hyny iddo, ar yr amodau iddo yn gyntaf ymostwng yn hollol i ddiriondeb y brenin; ac er mor annymunol raid fod hyn i ŵr o'r fath yspryd annibynawl a Llewelyn, nid oedd un llwybr arall yn

ymddangos iddo, drwy yr hwn y gallai enill rhyddid ei ddyweddi; ac felly efe a gytunodd ar amodau tra diraddiol iddo ei hun, ac andwyol i annibynolrwydd ei genedl.

Yn fuan wedi yr ymheddychiad yma, cafodd Llewelyn ei wysio i gyfarfod âg Iorwerth yn Nghaerwrangon, i wriogaethu iddo; ac addawai y brenin y rhoddid Eleanor de Monteforte yn briod iddo ar y pryd. Felly efe a aeth yno, ac a ymgrymodd o flaen y brenin, yr hwn a gymmeradwyodd ei ymostyngiad, a barodd iddo godi, ac a ddywedodd ei fod yn maddeu ei anufudd-dod blaenorol, gan ei sicrhau y cosbid y gwrthryfeliad nesaf yn llym. Yna dychwelodd y brenin ei wystlon i'r tywysog, ac a roddodd ei ddyweddi a'i meddiannau i fynu iddo; a'r briodas a gymmerodd le ar y 13eg o Hydref, 1278, yn ngwydd y brenin a'r frenines. Ond Iorwerth, yn gysson â'i faweidd-dra arferol, a gymmerodd fantais ar yr achlysur yma i gael gan Lewelyn ymrwymo na noddai o fewn ei diriogaethau neb a dynasai arno ei hunan wg coron Lloegr. Mor gynted âg y cafodd y tywysog ei wraig i'w feddiant, efe a brysurodd gyda hi i'w wlad ei hun, gan gyrchu i'w lys, yn Abergwyngregyn.

Mae y *Parch. Thomas Price* yn sylwi, yn y cysylltiad yma yn hanes ein cenedl, mai pendefig o'r enw *Simon de Montefor'e* a fu yn offeryn o'r blinderau gorthrymaf, a'r creulonderau aethlytaf, i'r Waldensiaid erlidiedig; ac mai er uno ei dynghedfen âg wyres i'r bwystfil melldigedig hwnw, y darfu i dywysog Cymru, mewn awr annedwydd, werthu ei ryddid ei hun a'i wlad am y cyfathrach.—Mae yn amlwg, pa fodd bynag, na bu nemawr ffawd dda i Lewelyn oddiar y pryd yr anfonodd am dani o Ffrainc; ac er iddo ymostwng i'r fath ddiraddiad i'w chael, nis mwynhaodd hi nemawr o amser, canys bu farw ar enedigaeth merch, yr hon a elwid *Gwenllian*, yn mhen llai na dwy flynedd wedi eu priodi. Trwy farwolaeth y dywysoges, diddymwyd yr unig rwymau a allasent uno y tywysog i ryw fesur â llys Iorwerth; ac heblaw hyny, yr oedd y gormes cyffredinol a lethai ei genedl, yn gyssylltiedig â gweinyddiad cyfreithiau Lloegraidd yn y dywysogaeth, wedi peri i'w enaid ymofidio yn chwerw o herwydd ei ymostyngiad blaenorol i Iorwerth. Ac yr oedd ei frawd Dafydd hefyd erbyn hyn yn dechreu gweled ei ynfydrwydd, o gefnu ar ei frawd a'i dywysog cyfiawn, ac o ymgystlynu âg estroniaid diegwyddor; ïe, yn wir, gellid dweyd fod y rhan fwyaf o bendefigion y dywysogaeth yn teimlo yr un doluriau, ac yn barod i wneyd un ymdrech eto, er ysgwyd yr iau anesmwyth ymaith.

Felly, wedi cymmodi Dafydd â'i frawd, efe a enciliodd yn ddirgel o lys y brenin, ac a ddaeth i Gymru; ac ar nos Sul y Blodau—yr hon oedd yn noswaith dywell a thymhestlog—efe a gymmerth gastell Pen-ar-lag, gan gymmeryd y llywydd—*Syr Roger Clifford*—yn garcharor, wedi ei glwyfo yn drwm, ac efe a gludwyd mewn cadwynau i'r Eryri; ac amryw farchogion oeddynt yn yr amddiffynfa hon ar y pryd, a laddwyd—yn mysg pa rai yr oedd *Foulke Trigold*. Yr ymosodiad yma a barodd i'r Cymry o bob parth ymarfogi yn y fan; ac yna Dafydd a Llewelyn a unasant eu byddinoedd, ac a warchaeasant ar gestyll Fflint a Rhuddlan; a'r un pryd, *Rhys ab Maelgwyn* a oresgynodd gantref Penwedig, a *Gruffudd ab Meredydd* a oresgynodd gwmwd Mefenydd, a llosgasant dref a chastell Aberystwyth â thân.

Yr oedd y brenin yn cadw gwyliau y Pasg, yn *Devizes*, pan y clywodd am ymdoriad annysgwyliadwy y gwrthryfel hwn; a phan glybu, penderfynodd wneyd darpariadau mawrion i'w wrthladd yn ddioed; ac i'r perwyl hyny, archodd i'r ddau archesgob gyhoeddi dedryd yr eglwys yn erbyn Llewelyn a'i bleidwyr, cyfododd dreth ar yr holl deyrnas tuag at

gynnal ei gadgyrchiad, a benthyciodd arian gan y masnachwyr a'r eglwyswyr, ac archodd i'w holl ddeiliaid milwraidd ymbarotoi i'w gyfarfod—y naill ran o honynt yn Nghaerwrangon, erbyn yr 17eg o Fai, a'r gweddill yn Rhuddlan, erbyn y mis canlynol.

Fel yr oedd efe yn neshau at Gaerlleon, unai pobl y wlad âg ef, ac yntau a'u gosodai ar waith i agoryd y ffyrdd o flaen ei fyddin, trwy wlad y gelyn. Ar ol gorphwyso pymthengnos yn Nghaerlleon, efe a aeth yn erbyn castell Caergwrley, yr hwn a roddwyd iddo yn ddiwrthladd; ac efe a arweiniodd ei fyddin yn erbyn castell Rhuddlan. Fel yr oedd ei fyddin yn neshau, y tywysogion Cymreig a godasant y gwarchae, gan encilio yn araf tuag Eryri; ond yn yr enciliad yma, bu brwydr rhwng y Cymry a rhân o fyddin y brenin, yn yr hon y gorchfygasant y Saeson, gan gymmeryd pedair ar ddeg o fanieri, a lladd amryw o'u pendefigion; a bu yn rhaid i'r brenin ei hunan ddychwelyd am nawdd i gastell Caergwrley, neu Estyn, yr hwn yr oedd newydd ei gymmeryd. Ac yn wir ni allodd y brenin wneyd nemawr ymosodiad o bwys hyd ddiwedd Hydref. Yn nghanol Gorphenhaf nyni a'i cawn yn nghastell Rhuddlan, yn anfon gorchymyn allan i dori i lawr y coed, er gwneyd ffordd fwy agored a dyogel i'w wŷr i symud yn mlaen; a'r pryd hwn hefyd efe a roddodd anrhegion o amryw diroedd yn y pedwar cantref i rai o'i farwniaid.

Yn y cyfamser, yr oedd archesgob Caergaint wedi dyfod i Gymru, ac yn dra ymdrechgar i gael gan y tywysog Llewelyn a'i bobl ddyfod i amodau heddwch â'r brenin; ac y mae ar gael heddyw, ohebiaeth faith a gymmerth le rhwng y pleidiau, trwy gyfrwng yr archesgob, yn yr hon y gellir cael mantais fawr i farnu am y camwri a'r gorthrymder a ddyoddefai ein cenedl, a'r hyn a'u cyffroai i gyfodi yn erbyn y brenin y waith hon.

Wedi i'r archesgob fod yn hollol aflwyddiannus, yn ei ohebiaeth, i gael gan y tywysogion Cymreig ymostwng i'r brenin, efe a ddychwelodd i Loegr; ac Iorwerth ddechreuodd fudo ei fyddin o Ruddlan, tuag afon Gonwy; ac anfonodd ran o honi mewn badau i ynys Fon, yr hon a gymmerwyd yn dra rhwydd, yn gymmaint a bod y gwŷr penaf ynddi wedi eu dadgan eu hunain yn mhlaid y brenin, yn unol â'r llwon a gymmerasant ar wneuthuriad yr heddwch blaenorol; a'r ychydig a wrthsafent yr estroniaid a ddymchwelid yn rhwydd, a'r rhan fwyaf o honynt a laddwyd. Yna y Saeson, er eu galluogi i gydweithredu â'r rhan arall o fyddin Iorwerth yn Arfon, a wnaethant bont o fadau ar draws y Menai, yn y lle a elwir Moel y don, yr hon oedd yn ddigon llydan i dri ugain o wŷr ei cherdded yn gyfochrog. A chyn i'r fyddin yn gyffredinol gychwyn i groesi y bont, *Syr William Latimer*, a lluaws o'r milwyr goreu, a *Syr Lucas Thany*, rhaglaw Gwasgwyn, gyda'i Wasgwynwys a'r Yspaeniaid oeddynt yn ngwasanaeth y brenin, a aethant dros y bont ar y trai, i'r ochr arall i'r Menai, lle ni chyfarfuant âg un gwrthladdiad am beth yspaid. Ond pan ddaeth y llanw i mewn, ac ysgaru o'r môr rhyngddynt a'r bont, *Rhisiart ab Walwyn*—yr hwn a flaenorai nifer o Gymry pybyr a orweddent gerllaw mewn cynllwyn—a ruthrodd arnynt yn ddisymwth, ac a ymosododd mor ffyrnig arnynt, fel na ddiangodd ond Syr William Latimer, yr hwn, trwy gryfder ei farch, a gyrhaeddodd y bont. Collodd y Saeson, rhwng lladd a boddi, 15 marchog, 32 o ysweiniaid, a 1000 o filwyr cyffredin. Ar y chweched dydd o Dachwedd, 1282, y bu hyn.

Parodd y fuddugoliaeth hon orfoledd nid bychan i'r Cymry, ac a'u calonogodd i ymdrechion ychwanegol; ac ar yr un pryd, achlysurodd y fath arswyd yn myddin Iorwerth, fel y barnodd yn ddoeth iddo encilio i Ruddlan, o'r lle yr anfonodd wysiad at holl raglawiaid swyddi Lloegr, ac

at yr esgobion a'r offeiriaid, i erchi iddynt ymegnio i'w gynnorthwyo i ddwyn y rhyfel yn mlaen yn erbyn Llewelyn.

Yn y cyfamser, yr oedd *Rhys ab Maelgwyn* a *Gruffudd ab Meredydd* yn goresgyn cyfoeth y brenin yn y parthau deheuol o'r wlad; a'r brenin a anfonodd Iarll Caerloyw, a byddin gref dan ei dywysiad, i'w gwrthladd; ac ymladdwyd brwydr galed rhyngddynt gerllaw Llandeilo Fawr, yn yr hon y gorthrechwyd y Cymry; ond ymddengys i'r fuddugoliaeth gostio yn ddrud i'r Saeson; canys lladdwyd pump o farchogion urddasol yn eu byddin, yn nghyda *William de Valence*, cefnderw i'r brenin. Er hyny, yn y frwydr hon y rhoddwyd y dyrnod olaf i annibynolrwydd y Deheubarth.

Trwy fod Rhys ab Meredydd yn y Deheubarth yn parhau i lynu wrth y brenin, barnodd Llewelyn yn addas—wedi ei fuddugoliaeth yn Moel y don, ac enciliad Iorwerth i Ruddlan—adael ardaloedd Eryri dan reolaeth ei frawd Dafydd, a myned ei hunan, gyda byddin gref, tua'r Deheubarth, i gyfnerthu ei gyfeillion, ac i ymddial ar ei wrthwynebwyr; ac wedi anrheithio Ceredigion, gwlad Rhys ab Meredydd, efe a drodd oddiyno tua Buallt, ar fedr ymgynghreirio â rhai o bendefigion yr ardaloedd hyny, er rhoddi gwrthladdiad mwy effeithiol i ormes y Saeson: ond cyn gallu o hono gyflawni ei amcan gwladgarol, rhoddwyd terfyn ar ei einioes, ac felly darfu am ei holl amcanion.—Yr hanes goreu a feddir am yr amgylchiad yma yw yr un canlynol, wedi ei gymmeryd o "Hanes Brycheiniawg," gan *Theophilus Jones*:—"Y tywysog, gan adael y rhan fwyaf o'i fyddin ar ymylau Ceredigion, ysgatfydd i wrthladd *Olifer de Dyneham*, yr hwn a anfonesid gan y brenin tua'r ardaloedd hyny—a aeth gydag ychydig o'i filwyr tua gwlad Buallt, gan deithio ar y tu gogleddol i afon Gwy—sef drwy swydd Faeshyfaidd—a ddaeth hyd at Aberedwy, islaw Llanfair yn Muallt, yn dysgwyl am gyfarfod â chyweithas yno. Ond yn lle hyny, cyfarfu â gelynion: canys yr oedd *Edmund Mortimer*, a *Ieuan Giffard*, gwedi dwyn gyda hwy fyddin gref o Loegr, idd ei wrthladd. Ac felly ciliodd oddiyno yn groes i Wy, ac a barodd dori y bont o'i ol. Yna y Saeson a aethant ychydig o ffordd yn mhellach i lawr, at ryd, mewn lle a elwir yn awr, '*Cafn Twm bach;*' ac yna croesasant yr afon. A Llewelyn a aeth at gastell Buallt; ond yno ni chafodd un croesawiad; canys yr oedd *Wmffre de Bohun* wedi ei anfon i'r wlad hono gan y brenin; ac yr oedd *Roger l'Estrange* hefyd yno eisoes mewn awdurdod dan y brenin. Ar hyn y tywysog, yn gweled nad oedd ond brad a gelyniaeth yn ei aros, lle y dysgwyliai gyfnerthiad, a aeth rhagddo at Bont Orewyn—sef Pont ar Irfon, meddylir—yn rhywle o gylch tair milldir oddiwrth Lanfair yn Muallt, tua'r gorllewin; ac os felly, y tywysog a aeth ar hyd ochr ddehau yr afon, ac a groesodd y bont hono, a chan ei gosod dan gadwraeth ei wŷr, efe ei hun a aeth, heb neb gydag ef ond ei was yn unig, i goedwig gerllaw, i ymweled â rhai o bendefigion y wlad, y rhai oeddynt wedi addaw ei gyfarfod yno. A thra yr oedd yn aros wrthynt, y gelynion, y rhai oeddynt erbyn hyn wedi ymgynnull mewn rhifedi ddigon idd ei ganlyn, a ddaethant ar ei ol hyd at y bont, ac a ymosodasant ar ei wŷr; ac yntau yn clywed bloedd brwydr, a ofynodd i'w was, os ydoedd ei wŷr yn cadw y bont, ac yntau a atebodd eu bod; 'Yna,' ebe'r tywysog, 'nid ymadawaf oddi yma pe byddai holl gadernid Lloegr ar yr ochr draw.' Gan mai y gauaf ydoedd, y mae yn debygol fod llif yn yr afon ar hyn o amser, ac felly yn anhawdd idd ei chroesi yno; a'r tywysog a adnabyddai yn dda wychder ei wŷr, ac hyderai na byddai i neb rhyw rifedi pa bynag enill y bont oddiarnynt. Ond yn y cyfamser, rhyw un a ddangosodd i'r Saeson ryd, ychydig yn îs i lawr; a than dywysiad un o'r enw *Helias Walwyn*, rhai

o'r marchwyr a groesasant yr afon, ac a amgylchasant y goedwig yn mha un yr oedd y tywysog; a chyn y gallai gyrhaedd at ei wŷr, ymosodwyd arno; ac un *Adam Ffrancton* a'i brathodd â gwaywffon, ac a'i gadawodd yn y lle, heb wybod pwy ydoedd. Yna y marchwyr Saesonaeg, y rhai oeddynt gwedi croesi wrth y rhyd, a ddaethant ac a ymosodasant ar y gwŷr y rhai oeddynt yn cadw y bont, ar y tu hwnw i'r afon; a hwynt-hwy a amddiffynasant eu hunain yn wrol; ac y mae yn debygol iddynt gilio oddiwrth y bont i fynu i'r bryn gerllaw, ac yno ymddulliasant eu llu. Ond y Saeson erbyn hyn a ddaethant oll dros yr afon, ac a ymosodasant arnynt yno; a'r Cymry—y rhai, medd *Powel*, nid oeddynt ond ychydig—a ymladdasant yn wrol, gan ddysgwyl o hyd am ddyfodiad eu tywysog. Ond yn y diwedd, y llu bychan hwn, trwy rifedi eu gelynion, a orthrechwyd; a'r rhai ni laddwyd a orfu ffoi. Yna y gŵr, yr hwn a glwyfasai y tywysog, a ddaeth i edrych am dano—a phan sylwodd arno, adnabu pwy oedd efe; canys cafwyd yn ei feddiant lythyr wedi ei ysgrifenu mewn llythyrenau dirgel, ac hefyd ei gwyrfath; ac yna y gŵr hwnw a dorodd ymaith ei ben, ac a'i anfonodd at y brenin i Ruddlan, yr hwn a'i derbyniodd gyda gorfoledd, ac a'i anfonodd oddiyno i Lundain, lle y coronwyd ef â choron o ddail eiddew, er gwawd am y daroganiad y gwisgai y tywysog goron Llundain. Dywedir hefyd, er yr un dyben, iddo gael ei goroni â thalaith arian, a'i gludo ar baladr trwy yr heolydd. Ac yn ddiweddaf, gosodwyd ef ar bicell haiarn, ar un o'r tyrau uchaf yn y *Twr Gwyn*, lle y cafodd aros dros hir amser. Claddwyd ei gorph ef gerllaw y man lle y syrthiodd."*

Fel hyn y bu farw y tywysog Cymreig olaf, yn niwedd y flwyddyn 1282, wedi teyrnasu wyth mlynedd ar hugain; a chyda'i gwymp ef y darfu am annibyniaeth ei gydgenedl, wedi ei chynnal mewn rhyw gyrion o'r wlad, drwy bob cyfyngderau, dros yr yspaid maith o 2418 mlynedd, yn ol rhai haneswyr.†

Yn ei farwnad, gan *Gruffudd ab yr Ynad Coch*, y mae y llinellau canlynol, y rhai a bortreiadant deimlad galarus ei genedl am ei gwymp:—

"Llawer deigr hylithr yn hwyliaw—ar rudd;
Llawer ystlys rudd a rhwyg arnaw;
Llawer gwaed am draed gwedi ymdreiddiaw;
Llawer gweddw â gwaedd y amdanaw;
Llawer meddwl trwm yn tramwyaw;
Llawer mab heb dad wedi ei adaw;
Llawer hendref fraith, gwedi llwybr goddaith;
A llawer diffaith drwy anrhaith draw.
    Llawer llef druan,
    Fel ban fu'r Gamlan,
    Llawer deigr dros ran,
    Wedi'r greiniaw,
O las gwanas gwanar eurllaw,
O laith Llewelyn, cof dyn ni'm daw,
Oerfelawg calon dan fron o fraw," &c.

Wedi cwymp Llewelyn, methodd ei frawd Dafydd enill digon o ymddiried y Cymry i allu gwneyd nemawr wrthsafiad i alluoedd y brenin, y rhai yn fuan a oresgynasant yr holl wlad; ac fel yr oedd Dafydd a'i deulu yn ymguddio yn y coedydd a'r corsydd, llwyddodd y brenin trwy lwgrwobrwyo rhai o'i ganlynwyr—sef *Einion ab Ifor* a *Goronwy ab Dafydd*—i gael ganddynt ei fradychu, gan ei ddwyn ef, a'i wraig, a'i ddau fab, a'i

* Hanes Cymru, tudal. 726, 727. † Powel's History of Wales, p. 273.

saith merch, yn rhwym at y brenin i gastell Rhuddlan. Ac yn gymmaint a'i fod gynt, pan yn gyfaill i'r brenin, wedi cael ei wneyd yn arglwydd Seisnig, efe a anfonwyd i'r Amwythig, i'w brofi megys deiliad Lloegraidd, yn ol y gradd a ddaliasai; ac i'r perwyl hyny, ffurfiwyd brawdlys o 11 o ieirll, a 100 o farwniaid, a'r brenin ei hun yn llywyddu fel barnwr, a'r ddedryd annynol a ganlyn a roddwyd arno:—

1. Am ei fod yn fradwr i'r brenin, yr hwn a'i hurddasai yn farchog, yr oedd i gael ei lusgo wrth gynffon ceffyl i'r dihenyddle.

2. Am iddo lofruddio *Fulke Trigoid* ac ereill, yn nghastell Pen ar lag, yr oedd i gael ei grogi.

3. Am ei fod yn euog o gyssegr-dreisiant, trwy gyflawni y llofruddiaeth hyny ar ddydd Sul y Blodau, yr oedd ei ymysgaroedd i gael eu tori allan, a'u llosgi.

4. Am iddo gynllwyno yn erbyn bywyd y brenin, mewn amryw fannau yn y deyrnas, yr oedd ef i gael ei dori yn bedwar darn; a'i aelodau i gael eu crogi i fynu mewn amryw leoedd.

Y ddedryd wrthun hon a gyflawnwyd hyd yr eithaf, ac anfonwyd ei bedwar aelod i bedair o'r dinasoedd mwyaf cyfrifol yn y deyrnas—sef, Brysteu, Northampton, Caerefrawc, a Chaerwynt; a'i ben a anfonwyd i Lundain, lle y dodwyd ef ar y Twr, gyda phen ei frawd Llewelyn.

Pe buasai y tywysog annedwydd hwn wedi parhau trwy ei oes yn fwy ffyddlawn i'w frawd, ac iawu barchu y gorhen uchelfonedd oedd yn wir eiddo iddo, yn lle cynffona i elynion ei genedl a'i dylwyth, a derbyn coeg urddas annheilwng ar eu llaw, nid yw yn debyg y daethai i'r fath ddiwedd adwythig; a diau y buasai ei goffadwriaeth yn llawer mwy perarogl-aidd gan ei genedl ei hun. Nid oes un amheuaeth nad oedd Dafydd yn filwr tra dewrwych, fel y'i darlunir yn y llinellau canlynol, gan *Bleddyn Fardd*:—

"Gŵr heirdd ei filfeirdd, foliant cynnar;
Gŵr hardd-ddeddf, ddileddf ar dàl branar;
Gŵr a wnaeth a gwayw, gwyar yn cochi;
Uwch Aberteifi, ri rhyfelgar.

Gŵr gwrdd yn ymhwrdd emys* lluchfar;
Gŵr gorddin nas byw llyw lluosger;
Gŵr bolch† ei darian, daerfar yn nghyni;
Gŵr balch yn holi seri sathar.‡

Gŵr beilch ei aerweilch arwymp drydar;
Gŵr bwlch nad ydyw, gwayw briw brwydrgar;
Gŵr a wnaeth adaw adar ar gynraih;
Fal cigfrain Ywain, awydd daffar.§

* Meirch. † Bylchawg. ‡ Troediad ellyllon.

§ Gwobrwy.—Am eglurhad o'r llinell olaf, y mae y Parch. T. Price yn cyfeirio at y Mabinogion, gan yr Arglwyddes Charlotte Guest, lle y traethir am fyddin o gigfrain yn ngwasanaeth Owain ab Urien Rheged.

# DARLITH IX.

## OWAIN GLYNDWR A'I AMSERAU.

Wedi i Iorwerth I. lwyddo i gael pen y tywysogion Cymreig i lawr, ymdrechodd trwy bob moddion a allai ddyfeisio i lwyr ddarostwng y genedl; ac i'r perwyl hyny arosodd yn Ngogledd Cymru dros dair blynedd, gan gynnal ei lys yn benâf yn nghastell Rhuddlan; a thra fu yma, gwnaeth gyfraith yn cynnwys dosbarthiad rhanau o Wynedd a Deheubarth yn siroedd, gan benodi rhaglawiaid arnynt; a threfnodd hefyd ffurf gweinyddiad cyfraith yn y dywysogaeth.

Heblaw hyny, ymroddodd i adeiladu cestyll cryfion, er cadw ei arswyd ar y trigolion; y cyntaf o honynt ydoedd castell Caerynarfon, yr hwn a ddechreuwyd yn y flwyddyn gyntaf o'i feddianniad o'r wlad; ac fe'i gorphenwyd mewn *dwy flynedd*, medd Price—ond yn ol ereill, cymmerodd *ddeuddeng mlynedd* i'w lwyr orphen: ac wrth gyferbynu y crybwylliadau a wneir mewn amryw hen gyfysgrifau, yr ydym yn cael lle cryf i gasglu fod y castell hwn wedi ei ddechreu yn gynnar yn y flwyddyn 1283, a dygid yr adeilad yn mlaen yn lled reolaidd, er yn araf, hyd y flwyddyn 1294, pan dorodd y gwrthryfel allan dan y tywysog *Madawc*—yr hwn, yn nghyda mintai o ganlynwyr arfog, a ymosododd ar y gwarchawdlu, a chan eu gorchfygu, a'u lladd, a gymmerth y castell, ac a ddrylliodd lawer o'r muriau; a buwyd amryw flyneddoedd wedi hyny cyn llwyr orphen castell a chaerau y dref hon; ac yn wir, nid yw yn ymddangos i'r adeilad hon gael ei gorphen byth, yn ol y cynllun cyntefig yn gyflawn.

Yn yr ail flwyddyn dechreuid adeiladu castell Conwy, ar y man lle y safai monachlog Aberconwy, gan symud y myneich i lys newydd a adeiladasai efe at eu gwasanaeth yn Maenan, gerllaw Llanrwst; ac ar ol hyny symudodd hwynt oddiyno i swydd Gaerlleon, rhag bod eu dylanwad yn niweidiol iddo ef a'i lywodraeth, wrth eu bod yn nghanol eu cydgenedl.

Oddeutu yr un blyneddoedd hefyd yr adeiledid cestyll Beaumaris yn Mon, a Harlech yn Ardudwy; a gosodid gwarchodluoedd cryfion yn mhob un o'r amddiffynfeydd rhagddywededig, er cadw y genedl orchfygedig rhag gwrthryfela yn erbyn y gormeswyr a drawsfeddiannasant eu gwlad mor annghyfiawn.

Archadeiladydd y brenin, yn nghynlluniad ac adeiladiad yr amddiffynfeydd cryfion hyn, ydoedd foneddwr celfyddgar o'r enw *Henry de Ellerton*—neu yn ol ereill, *Henri de Elreton;* ac y mae yr adeiladau hyd heddyw, er yn adfeiliedig, yn dystion i'w alluoedd fel adeiladydd.

Llwybr arall a arferodd y brenin i geisio sicrhau ffyddlondeb y pendefigion Cymreig iddo, oedd y ddichell ganlynol yn amgylchiadau penodiad ei fab ei hun yn dywysog Cymru—canys wedi ymgynghori lawer gwaith â rhai o honynt ar y pen hwn, a chael yn unig ateb ganddynt, eu bod yn foddlawn i gymmeryd yn dywysog arnynt nebun a enwai y brenin, *os byddai yn Gymro*, ond nas ufuddhaent byth o'u bodd i unrhyw estron, o iaith yr hwn y byddent yn anadnabyddus—efe a anfonodd am y frenines *Eleanor*, yr hon oedd ar y pryd yn feichiog, ac amser ei hesgoriad yn nes-

hau, gan erchi iddi ddyfod i Gymru mor fuan ag y gallai. Ac felly, er ei bod yn nyfnder y gauaf, a'r ffyrdd yn ddrwg, a'r wlad yn ddigon peryglus i'w theithio ar y pryd, ei mawrhydi a deithiodd yr holl ffordd yn ddirgel, ar geffyl, medd yr haneswyr, gan letya y nosweithiau mewn cestyll a berthynent i'r brenin, hyd oni chyrhaeddodd Ruddlan; ac oddiyno, fe'i dygwyd gan y brenin hyd Gaerynarfon, lle yr oedd lluaws o'i wŷr yn brysur yn adeiladu y castell newydd; ac yno, mewn rhyw ystafell o'r *hen gastell*, yr hwn ni thynasid i lawr yn llwyr i gael lle i'r newydd, mor foreu a hyny, debygid, yr esgorodd hi ar fab, ar y 23ain o Ebrill, 1284. Yn y cyfamser, yr oedd y brenin yn cartrefu yn Rhuddlan, ac amryw o bendefigion Cymru yn cael eu cadw o'i ddeutu dan ryw esgus: a chan gynted ag y cyrhaeddodd Gruffudd Llwyd, o Drefgarnedd a Dinorwig, i Ruddlan, fel cludydd y newydd i'r brenin o enedigaeth mab iddo yn nghastell Caerynarfon, mor lawen ydoedd efe am y newydd, fel yr urddodd ef yn farchog yn y fan. Yna efe a alwodd y pendefigion Cymreig i'w wydd, ac a'u cyfarchodd yn dirion—gan ddywedyd ei fod ef yn bwriadu dychwelyd o'r wlad yn fuan bellach, a'i fod gan hyny yn penderfynu caniatau eu dymuniad iddynt, trwy benu tywysog arnynt, os addawent fod yn ufudd a ffyddlawn iddo. Hwythau a ymrwymasant i fod felly, os byddai efe yn un o'u gwlad eu hunain. Ar hyny y brenin a ddywedai y cydsyniai efe â'u cais mor bell ag i enwi un a anesid yn Nghymru, ac na lafarodd air erioed o Saesoneg, a buchedd yr hwn ydoedd yn ddiargyhoedd. Wedi iddynt addaw yn ddifrifol y buasent yn ufuddhau i'r cyfryw un, Iorwerth a ddywedodd mai ei fab ef ei hun ydoedd, yr hwn a anesid yn ddiweddar yn nghastell Caerynarfon! Erbyn hyn, nid oedd gan y pendefigion Cymreig ddim i'w wneyd, ond "gwasgu y glust," canys gwelent fod eu hen elyn wedi myned drostynt â'i ystryw, a'u cael i'r fagl yn deg—sef i addaw cymmeryd ei fab ef yn dywysog arnynt; tra y meddylient hwy mai i dywysog o'u gwaedoliaeth eu hunain y tyngent ffyddlondeb. Ond bellach nid oedd ganddynt ddim i'w wneuthur ond ceisio gwneyd y goreu o'r gwaethaf, ac ymgysuro â'r gobaith y dygid y tywysog ieuanc yma i fynu yn eu gwlad, ac y'i dysgid yn eu hiaith a'u defodau; ac y gallai, yn y canlyniad, y teimlai ryw ddyddordeb ynddynt, ac y byddai o fuddioldeb iddynt. Ond yn hyn hefyd cawsant eu siomi yn fuan; canys dygid eu tywysog mabaidd i Loegr, lle y'i dygid i fynu ac y'i dysgid yn Sais trwyadl, o iaith ac arferion, yn y llys breninol.

Peth arall a wnaeth y brenin, er uno y dywysogaeth â theyrnas Loegr, a'i dwyn dan y cyfreithiau Seisnig, oedd ffurfio deddfres, yr hon a gyhoeddwyd yn Ngrawys y flwyddyn 1284, dan yr enw "*Cyfraith Rhuddlan.*" Yn rhagymadrodd y ddeddfres grybwylledig, gwneir y cyfeiriad canlynawl at ei amcan mawr—sef, uniad Cymru â Lloegr, fel rhan hanfodol o'r deyrnas:—

"Iorwerth, trwy rad Duw, brenin Lloegr, arglwydd Iwerddon, a dug Aquitaine, at ei holl ffyddloniaid, yn ei diriogaeth ef o Eryri, ac o'i diriogaethau ereill yn Nghymru, yn dymuno iechyd yn yr Arglwydd.

Y dwyfol ragluniaeth, yr hyn sydd anffaeledig yn ei drefniadau, yn mhlith ei roddion ereill trwy ba rai y teilyngodd ein haddurno nyni a'n teyrnas o Loegr, sydd yn awr trwy ei rad, a thrwy symudiad ymaith o bob rhwystrau yn hollol, ac mewn cyfanoldeb gwedi cyssylltu ac uno â choron y deyrnas ragenwedig, megys cyfran o'i chorph, tir Cymru gyda'i drigolion, yr hwn oedd gynt, trwy deyrnged, yn ddarostyngedig i nyni, &c."

Heblaw hyny, efe a roddodd amryw arglwyddiaethau a threfydd yn nghanol Cymru, i arglwyddi Seisnig—megys, arglwyddiaeth Dinbych

i *Henri Lacy*, iarll Lincoln; ac arglwyddiaeth Ruthin i *Reginald de Grey*, ail fab John, arglwydd Grey, o Wilton, &c.

Wedi i Iorwerth, yn ei dyb ei hun, sicrhau ymostyngiad y Gwyneddwyr, a dyogelu bylchau Eryri, efe a aeth i Geredigion, lle y trigodd dros fis o amser, i drefnu achosion y Deheubarth; ac oddiyno efe a aeth i Forganwg, i ymweled âg Iarll Caerloyw, tywysog y wlad hono; ac wedi ymweled â rhai parthau ereill o'i deyrnas, efe a ddychwelodd yn ol i'w brif ddinas, wedi bod yn absenol yn Nghymru am oddeutu tair blynedd. Ond gyda'i fod wedi troi ei gefn, gwelid arwyddion o anesmwythdra dan yr iau estronol yn dechreu ymddangos mewn rhyw ranau o'r dywysogaeth.

Yn y flwyddyn 1287, pendefig urddasol o'r Deheubarth—sef, *Rhys ab Meredydd*, yr hwn yn wir a fuasai yn hir yn ngwasanaeth Iorwerth, ac a roddasai y cynnorthwy mwyaf effeithiol iddo i oresgyn Gwynedd, a gorchfygu Llewelyn; ac am ei wrhydri a'i ffyddlondeb a urddasid yn farchog ganddo, ac a gawsai lawer o addewidion teg am ffafrau breninol rhagllaw—a gyffrowyd i ddigofaint, trwy faweidd-dra dau o'r swyddogion Seisnig—sef, *Robert de Tibetot*, prif ynad y Deheubarth, ac *Alan Plucknet*, goruchwyliwr y brenin yn Nghymru—fel y cyfododd wrthryfel yn erbyn awdurdod y brenin, yn y rhan hono o'r dywysogaeth; ac efe a fu yn ddraen blin yn ystlysau y Saeson dros yspaid pum' mlynedd. Ond o'r diwedd, mewn brwydr waedlyd, yn yr hon y collodd tua dwy fil o'i wŷr, cymmerwyd Rhys yn garcharor; ac yn mhen ychydig amser, efe a ddihenyddiwyd yn Berwick, yn y modd creulonaf, yn y cyffelyb fodd annynol ag y dihenyddasid y tywysog Dafydd ab Gruffudd o'r blaen yn y Mwythig. Cymmerodd hyn le yn y flwyddyn 1292.

Yn mhen tua dwy flynedd ar ol hyn, torodd gwrthryfel allan o herwydd rhyw dreth newydd a geisiai y brenin ei chyfodi oddiar y Cymry, megys y'i cyfodid eisoes oddiar y Saeson, er cynnal ei ryfeloedd tramor. Efallai fod rhyw drahausder yn ymddygiadau y swyddogion Seisnig, wrth geisio casglu y dreth yma, yr hyn a gyffroai y Cymry i gyfodi yn eu herbyn; ac felly canfyddwn y fflam yn ymdori allan mewn amryfal barthau o'r dywysogaeth ar yr un pryd o'r bron. *Maelgwyn Fychan*, ŵyr i'r arglwydd Rhys, a hen wron enwog, a arweiniai wŷr Dyfed, a'r ardaloedd cyfnesawl, mewn arfau, i anrheithio meddiannau y brenin yn ardaloedd Penfro a Cheredigion; ond yr oedd plaid y brenin yn rhy gref iddynt yno, fel y'u gorthrechwyd yn fuan, a chymmerwyd Maelgwyn yn garcharor; ac yn Henffordd efe a roddwyd i farwolaeth fel bradwr. Er hyny, ei ddilynwyr a barhausant yn eu gwrthladdiad i'r awdurdodau breninol dros yspaid o amser wedi i'w blaenor gwympo—sef hyd oni ddaeth y brenin ei hunan i Gymru; yr hwn, trwy diriondeb a lledneisrwydd, a wnaeth yr hyn nis gallai ei weision ei gwblhau trwy arfau rhyfel.

Tua'r un pryd hefyd yr enynodd fflam gwrthryfel yn Morganwg, dan flaenor o'r enw *Morgan*, yr hwn oedd yn hanu o hen dywysogion y wlad hono; ac efe a lwyddodd i yru iarll Caerloyw allan o'r tiroedd a ddygasai ei hynafiaid oddiar hynafiaid Morgan trwy drais, ac a gamfeddiannasai yntau hyd y pryd hyn. Morgan a'i bleidwyr a benderfynasent nad ymostyngent mwyach i lywodraeth iarll Caerloyw; ond dywedent eu bod yn barod i ymostwng i'r brenin, os caniateid iddynt ddal eu tiroedd dan ei fawrhydi ei hunan, megys deiliaid i goron Lloegr, ac nid i unrhyw arglwydd arall. Yr amodau hyn a gymmeradwyid gan y brenin, yr hwn a ganiataodd eu dymuniad iddynt; ac felly hwythau a ymataliasant â'u gwrthladdiad, a gwnaethant wriogaeth i'r brenin, gan roddi gwystlon iddo, er sicrhad o'u ffyddlondeb rhagllaw iddo.

Oddeutu yr un amser hefyd cyfodai pendefig arall, mwy rhwysgfawr ac urddasol na'r rhai blaenorol, yn Ngwynedd, gan flaenori gwrthryfel grymus yn y wlad hono, yn erbyn swyddogion y brenin: y gŵr hwnw nid oedd neb amgen na *Madawg*, mab o ordderch i'r tywysog Llewelyn ab Gruffudd. Yr achlysur o'r terfysg dywededig ydoedd a ganlyn:—Pan ranodd y brenin Iorwerth ei diriogaethau Cymreig yn rhandiroedd, neu siroedd, efe a osododd fath o raglaw ar bob un o honynt, yr hwn a elwid "Sirydd." Y gŵr a osododd efe i lenwi y swyddogaeth yma ar ynys Fon, ydoedd ŵr tra chyfrifol, a mawr ei barch gyda'r brenin, o'r enw *Syr Roger de Pulesdon;* ac efe wrth ei swydd a arolygai gasgliad y dreth grybwylledig yn yr ynys; ond y Monwysion a gyfodasant megys un gŵr mewn gwrthladdiad iddo, gan lwyr benderfynu nad ymostyngent fyth i'r fath ormesiad atgas. Yn y cyfwng hwnw daeth y tywysog crybwylledig, *Madawc ab Llewelyn ab Gruffudd*, yn mlaen; a chan gymmeryd iddo ei hun yr enw o dywysog Cymru, gosododd ei hun yn flaenor ar y bobl, ac arddelwid ef ganddynt fel y cyfryw.

Un o'r pethau cyntaf a wnaeth yr ymblaid yma, oedd cymmeryd *Syr Roger de Pulesdon* i ddalfa, yr hwn a grogwyd, ac ar ol hyny torasant ei ben ef; a'r un dynged arswydus a ddaeth i bob un o'i gydweithwyr yn nghasgliad y dreth hon. Ar ol hyny, hwy a gymmerasant feddiant o gastell Caerynarfon, fel y crybwyllwyd eisoes, gan roddi y dref ar dân, anrheithio y castell, a rhoddi lluaws mawr o Saeson oeddynt yno ar y pryd, mewn ffair, i farwolaeth. Yn ngrym y llwyddiant yma, hwy a aethant i gyfarfod byddin y brenin, yr hon a dywysid i'w cosbi, gan iarll Lincoln; ac yn agos i Ddinbach y cyfarfuant, a'r Cymry a enillasant y maes yno. Erbyn hyn, gwelai y brenin nad oedd Madawg yn elyn i'w ddiystyru; ac felly efe a roddes i fynu ei fwriad o gyrchu i Ffrainc gyda'i filwyr dewisol, i'r hyn y buasai yn ymbarotoi ers dyddiau; ac arweiniodd ei fyddinoedd yn hytrach i Gymru, gan eu blaenori yn bersonol. Treiddiodd i'r wlad yn ddirwystr can belled a Chonwy, ac efe a groesodd yr afon yn ebrwydd gyda rhan o'i fyddin, ac aethant i'r castell, i aros dyfodiad y rhan arall o'r fyddin. Ond yn y fan yma, bu yn galed iawn ar Iorwerth; canys yr afon a chwyddodd yn ddisymwth gan lifogydd mawrion, fel na allai y rhan arall o'i wŷr, erbyn eu dyfod hyd lan yr afon, groesi trwodd i'w gynnorthwyo; a lluoedd o'r Cymry, yn deall hyny, a ddisgynent o fynyddoedd Eryri, gan warchae ar y castell, nes y bu y fath brinder ymborth yno, fel y bu agos i'r brenin a'i wŷr drengu o newyn: gorfyddai y brenin ei hunan fwyta yr hen fara garw a'r cig hallt oedd yn ystorfeydd y castell; ac yn lle gwin, da oedd iddo gael dwfr yn gymmysgedig âg ychydig fel. Ond o'r diwedd, gostyngodd yr afon, a'i filwyr a ddaethant drwodd yn ymwared iddo; a chan na allai y Cymry wrthsefyll y fath gadernid, hwy a enciliasant i gilfachau yr Eryri, lle y bwriadent lechu hyd onid elai grym y dymhestl heibio. Ond yn mhen peth amser, cafodd *Iarll Warwick (William de Bello Campo,)* hysbysiad fod nifer mawr o'r Cymry wedi ymgynnull mewn maes rhwng dwy allt o goed, ac am hyny efe a gymmerodd gydag ef lu dewisol o filwyr, a chan gael ei arwain gan fradwr, fel y tybir, efe a ddaeth arnynt yn y nos, yn ddiarwybod iddynt, ac a'u hamgylchynodd o bob tu; ac er i'r Cymry wneuthur gwrthsafiad dewr dihafal, y saethyddion a'r marchogion a wnaethant alanastr ofnadwy yn eu mysg; ac ni allodd ond ychydig o honynt ddianc â'u heinioes yn ysglyfaeth ganddynt.

Wedi y fuddugoliaeth hon, y brenin a gyrchodd yn mlaen, ac a groesodd y Menai i ynys Fon, lle y cosbodd efe y rhai a fuasent yn brif offerynau dihenyddiad *Roger de Puleston.*—Mae yn dra thebyg mai yn y canlyniad

i hyn y darfu i'r brenin Iorwerth adeiladu castell Beaumaris, er cadw ei arswyd yn fwy ar y Monwysion; ac am dano canai un o'r beirdd fel y canlyn:—

"Llydan oedd castell Edwart,
A'i dyrau gwych, a'i dair gwrt;
Caerau Edwart cwncwerwr,
Tyrau oedd ar gaerau'r gŵr."

Ac y mae yn dra thebyg iddo lunio amryw gyfreithiau caethion a gormeso[1] yn y canlyniad i'r terfysgoedd hyn, o ba rai y mae a ganlyn yn ddyfyniadau:—

"Hefyd y Cymry ni ddygant ganddynt neb ryw arfau ergydiol neu ddiffynol, i farchnad-drefydd, na ffeiriau, nac eglwysydd, neu gymmanfaoedd, dan gosb o golli y cyfryw arfau, a chael eu carcharu dros flwyddyn."

"Hefyd, sefydlwyd gan yr arglwydd Iorwerth, goresgynydd Cymru, na fyddai i neb rhyw gymmanfaoedd gael eu cynnal gan y Cymry yn Ngwynedd, tuag at ffurfio cynghorion, neu neb rhyw gynnygion ereill, oddieithr trwy ganiatad y brenin, ac oddieithr bod prif weinidogion yr ardaloedd yn gyd-ddrychiol."

"Hefyd, sefydlwyd gan yr arglwydd Iorwerth, y goresgynydd, na fyddai i neb ryw Gymry drigo o fewn i'r trefydd caerog, na mwynhau breintiau bwrdeisiol; ond fod i'r maeriaid a'r bwrdeisiaid o'r cyfryw drefydd, eu symud ymaith. Ac na fyddai i'r Cymry ddwyn dim arfau o fewn i drefydd caerog, neu neb rhyw drefydd Seisnig, dan gosb o'u dirwyaw o'u harfau, a'u carcharu yn ol ewyllys arglwydd y lle."

"Hefyd, na fyddai i'r Cymry gadw masnachau oddiallan i'r marchnad-drefi, na gollwng diod i'w werthu, dan gosb o golli eu moddion, a'u carcharu, a thalu dirwy."

"Hefyd, ni chaiff y Cymry feddiannu neb rhyw diroedd neu ddaliadau o fewn i drefydd caerog bwrdeisiol Saesonaeg, nac o fewn i derfynau breiniawl y bwrdeisdrefi a'r trefi Seisnig, dan ddirwyad o'r cyfryw diroedd a daliadau."

"Hefyd, ni chaiff neb rhyw Gymro gyfodi unrhyw fab iddo i neb rhyw urddau eglwysig, ond un—a hwnw yr eilliad cyntaf."

"Hefyd, ni ddylai un Cymro letya unrhyw ddyeithrddyn yn hwy nag un noswaith, oddieithr yr ateby am weithredoedd y cyfryw ddyn."

"Hefyd, nid yw gyfreithlawn i un Cymro wneuthur cytundeb â neb am diroedd neu dai, ond dros bedair blynedd yn unig, dan ddirwyad o'r cyfryw diroedd."

"Hefyd, ar oresgyniad Cymru, sefydlwyd gan yr arglwydd Iorwerth, y goresgynydd, na fydd i'r *gwestwyr*, a'r *beirdd*, a'r *prydyddion*, a'r dynion segur a chrwydrol, y rhai a geisiant y cynnaliaeth trethol a elwir *Cymmortha*, gael eu goddef na'u porthi yn y wlad, rhag trwy eu henllibau a'u celwyddau, y cyffroant y bobl i ddrwg; ac y gorthrymant y bobl cyffredin trwy eu trethiadau."

Mae y dysgedig a'r craffus Price, o Grughywel, yn dadleu nas gwnaed y banau cosbawl yna ar yr un pryd a *Chyfraith Rhuddlan*, ond yn mhen deng mlynedd ar ol hyny—sef, ar adeg ei gadgyrchiad uchod i Wynedd; a sylwa mai yn achos y galanastra a wnaed gan Madawc a'i gyfeillion, yn ffair Gaerynarfon, y ffurfiwyd y ban cyntaf o'r rhai uchod, trwy yr hwn y gwaherddid y Cymry i ddwyn unrhyw arfau i ffeiriau na marchnadoedd. Barnai yr un hanesydd enwog hefyd, fod y ban nesaf wedi ei achlysuraw gan gymmanfaoedd, neu gyfarfodydd i ymgynghori, a gynnelid gan y Cymry tua'r un amser—megys yr un yr ymosododd iarll Warwic arno yn

yr Eryri, fel y darluniwyd eisoes. Efallai mai y ban cyfraith olaf yna, yr hwn a gyhoeddwyd yn erbyn y beirdd, a fu y prif achlysur i Iorwerth gael ei gyhuddo o lofruddio y beirdd Cymreig; yr hyn a wnaed, medd y traddodiad cyffredin, yn nghastell Beaumaris. Ond mwy tebyg yw mai cyhoeddiad y gyfraith greulon hon yn erbyn y beirdd, o'r lle hwn, yw yr hyn a olygid mewn gwirionedd, wrth "gyflafan y beirdd."

Ond er i'r gwrthryfel hwn gael ei ddarostwng y pryd hyn, ac i Iorwerth —trwy ei gleddyf, ei gestyll, a'i gyfreithiau caethion—feddwl ei fod wedi gwneyd digon i lwyr lethu y wreichionen olaf o ysbryd annibynawl a gwladgarawl yn y wlad, caed amlygiad yn fuan nad felly yr oedd; ac yn wir, nid oedd yn debyg y buasai dynion o ysbryd mor uchel a'r Cymry yn ufuddhau yn rhwydd i'r fath gyfreithiau gormesol ag a adroddasom uchod: ac felly, yn fuan wedi ymadawiad y brenin, y tywysog Madawc a ddechreuodd ail gynnull ei luoedd; a lluaws o'r Cymry a gyrchent yn awchus i ymrestru dan ei faner. Wedi cael nifer led luosawg yn nghyd, efe a wnaeth gadgyrchiad chwyrn i'r cyffindiroedd, ar ymylau Gwynedd; ac wedi cymmeryd tref Croesoswallt, efe a anrheithiodd y wlad o amgylch. Ar ol hyny, gorthrechodd yr arglwydd *L'Estrange*, mewn brwydr, gerllaw y Cnwccyn, lle yr oedd ei gastell ef: ac ar ol hyny, gorthrechodd fyddin arall o'r Saeson mewn brwydr, ac aeth rhagddo tua'r Amwythig. Ond ar ei gyrchiad, daeth arglwyddi y cyffindiroedd i'w erbyn, a rhifedi mawr o wŷr dan eu tywysiad; ac ar *Gefn Digoll*, ar ymyl swydd Amwythig y cyfarfuant, lle y bu brwydr hir a gwaedlyd; ond yn y diwedd, y Saeson a drechasant, a chymmerwyd Madawc yn garcharor, ac anfonwyd ef i Lundain, lle y cafodd ei garcharu yn barhaus yn y Twr.

Ond er i'r gorthrechiad yma roddi terfyn ar y rhyfel, a darfod i'r pendefigion Cymreig (wedi colli eu tywysog) ymostwng i'r brenin, nid aeth eu hymdrechion presenol yn ddifudd i'w gwlad; canys gwelodd Iorwerth, yn y tro yma, na allai ddysgwyl ond blinder a gwrthladdiad parhaus trwy ormesu y bobl â chyfreithiau celyd a threthiadau; am hyny efe a dderbyniodd eu hymostyngiad y tro hwn gydag addfwynder mawr; ni chymmerodd einioes neb er cosbedigaeth, ac ni ddirwyodd neb o'u tiroedd; ond yn hytrach, adferodd i etifeddion Cymreig eu tiroedd dirwyedig, trwy yn unig ofyn ad-daliad am y colledion a wnaethpwyd iddo yn y rhyfel. Hefyd, mynodd wystlon am lonyddwch y wlad o hyny allan; ac y mae mae yn debyg iddo gadw amryw o'r pendefigion yn garcharorion mewn gwahanol gestyll yn Lloegr, heblaw y gwystlon a roisid iddo, er dyogelu ei hun rhag eu cyfodiad mewn rhyfel drachefn.—Dywedir fod amryw o'r pendefigion Cymreig yn garcharorion yn y Twr Gwyn y pryd hyn; ac iddynt, er gwneyd eu carchariad yn fwy goddefol, gael caniatad i ddwyn eu hysgriflyfrau yno o Gymru: ac felly y Twr Gwyn a ddaeth i fod yn brif gynnullfan hen ysgrifau Cymreig. Ond er galar i'n gwlad, a cholled i'n llenyddiaeth, y casgliad hwnw a losgwyd oll, trwy ysgelerder rhyw adyn cenfigenus o'r enw *Scolan*—yr hwn, yn gweled y pleser a barent i'r pendefigion Cymreig, a'u cynnullodd yn nghyd yn bentwr, ac a barodd wneyd tanllwyth mawr o honynt. At hyn y cyfeiriai *Gutto y Glyn*, bardd enwog o'r bedwaredd ganrif ar ddeg, yn un o'i gywyddau:—

"Llyfrau Cymru a'u llofrudd
I'r Twr Gwyn aethant ar gudd;
Ysgeler oedd Ysgolan
Fwrw'r twr llyfrau i'r tân."

Amheua rhai wirionedd y chwedl uchod, am na cheir cofiannau hanesiol i'w chadarnhau; ond nid yw yn annhebyg fod rhyw ran o honi yn wir, er

y gall fod wedi ei mwyhau, trwy ei threigliad fel traddodiad o genedlaeth i genedlaeth.

Mae yn ymddangos ddarfod i Iorwerth ymdrechu i gydgorphori dewrion Cymru yn ei fyddin yn fuan ar ol darostwng eu gwlad; ac felly nyni a gawn ei fod, yn fuan ar ol ei ddychweliad i Lundain, yn darparu at gadgyrchiad i'r Alban, ac arweiniodd fyddin gadarn i'r wlad hono, gan ddwyn gydag ef lu mawr o Gymry; ond nid oeddynt hwy yn ymddangos yn hollol foddlawn ar y dechreu i wasanaethu eu hen elyn; ac yn y flwyddyn 1291, o flaen brwydr *Falkirk*, amlygasant y fath gyndynrwydd i ufuddhau i'w orchymynion, a'r fath barodrwydd i dori allan mewn gwrthryfel, fel y penderfynai y brenin o'r herwydd ddychwelyd i Loegr: ond yn y diwedd, enillwyd hwy i ufuddhau, a'r canlyniad fu i Iorwerth orthrechu y fyddin Albanaidd, yr hon oedd dan dywysiad yr enwog *Syr William Wallace*, a gorfu ar y gwron hwnw ffoi.

Yn fuan wedi hyn, anfonai y brenin ei fab Iorwerth, tywysog Cymru, i ddinas Caerlleon ar Ddyfrdwy, i dderbyn gwriogaeth pendefigion Cymru; a'r rhai canlynol a wnaethant wriogaeth iddo:—

Henri, iarll Lancaster, am wlad Monwy.
Rheinallt Gray, am Ruthin.
Yr arglwydd William Martin, am ei diroedd yn Nghemaes.
Rhosser Mortimer, am ei diroedd yn Nghymru.
Henri Lacy, iarll Lincoln, am Ros a Rhyfoniawc.
Robert, arg. Montalt (Wyddgrug) am ei diroedd yn Nghymru.
Gruffudd, arglwydd y Trallwng, am arglwyddiaeth Powys.
Syr Gruffudd Llwyd, Marchawg.
Tudur ab Goronw, o Fon.
Madawc ab Tudur, archddiacon Mon.
Einiawn ab Hywel, o Gaerynarfon.
Tudur ab Gruffudd.
Llewelyn ab Ednyfed.
Gruffudd Fychan, mab Gruffudd ab Iorwerth.
Madawc Fychan, o Degeingl.
Llewelyn, esgob Llanelwy.
Richard Pulesdon, sirydd Caerynarfon.
Gruffudd ab Tudur.
Ithel Fychan.
Ithel ab Bleddyn, &c.

O ddinas Caerlleon, y tywysog Iorwerth a aeth i Ruddlan, lle y derbyniodd wriogaeth oddiwrth Richard de Sutton, arglwydd Malpas, am arglwyddiaeth Malpas.

Y diwrnod canlynol, yr oedd yn Nghonwy, lle y derbyniodd wriogaeth Einiawn, esgob Bangor; a Dafydd, abad Maenan.

Hefyd y pendefigion canlynol a wnaethant wriogaeth mewn amryfal leoedd:—Lewis de Felton, am ei diroedd yn Maelawr Saesonaeg; Ioan, iarll Warren, am arglwyddiaeth Maelawr ac Iâl, ac am ei diroedd yn Estyn; yr arglwydd Edmund Mortimer, am ei diroedd o Geri a Chedewain.*

Yn y flwyddyn 1307, bu farw Iorwerth I.; a'i fab, dan yr enw *Iorwerth yr Ail*, yr hwn a anesid yn Nghaerynarfon, a ddaeth i'r orsedd ar ei ol; a dywedir am dano ei fod trwy ei lythineb a'i afradlonrwydd wedi peri llawer o annedwyddwch i'w dad, yn ei hen ddyddiau.

Nid oes dim hynod wedi ei gofrestru gan ein haneswyr am y Cymry dros ystod blyneddoedd cyntaf ei deyrnasiad ef; ond yn unig rhyw gry-

* Powel's History of Cambria, by Humfrey Llwyd, 4to ed., 1584, pp. 280, 281.

bwylliadau achlysurol fod lluoedd o'u gwŷr ieuainc yn gwasanaethu yn myddinoedd y brenin. Ond yn y flwyddyn 1315, cawn fod pendefig o'r enw *Llewelyn Bren*, yr hwn a wasanaethai swydd urddasol dan *Gilbert de Clar*, iarll Caerloyw, ac arglwydd Morganwg, yr hwn a laddwyd yn mrwydr Bannockburn, wedi ei amddifadu o'i swydd gan *Hugh de Despenser*, yr hwn a olynodd *de Clar* yn yr etifeddiaeth. A'r golled hon, a'r sarhad, yn nghyda gormesiad cyffredinol y Saeson ar ei gydgenedl, a gyffrodd ddigter Llewelyn i'r fath raddau, fel y penderfynodd ymdrechu i gael gan ei gydwladwyr ymarfogi i wrthladd awdurdod eu gormeswyr unwaith eto; ac efe a lwyddodd mewn amser byr i gasglu yn nghyd fyddin o ddeng mil o wŷr; a chyda'r fyddin yma efe a ruthrodd ar gastell Caerffili, ac a'i henillodd, ac a gymmerodd feddiant cyflawn ar y wlad o amgylch. Pan hysbyswyd y brenin am y gwrthryfel yma, efe a anfonodd un *W. de Montacute*, a byddin gref dano, i gynnorthwyo iarll Henffordd, ac arglwyddi cyffindirawl ereill, i'w ddarostwng; a chan fod erbyn hyn fyddinoedd rhy gryfion ar y maes i Lewelyn feiddio eu cyfarfod mewn cad reolaidd, efe a enciliodd tua'r mynydd-dir, ac yno cynnaliodd ryfel egniol dros amser yn eu herbyn, gan wneyd rhuthriadau parhaus arnynt, a lladd llawer o honynt. Ond o'r diwedd, amgylchwyd ef gan ei elynion, a gorfu arno ymroddi i'w dwylaw. Pa beth a wnaethant o hono, nis gwyddom—ond y mae lle cryf i gasglu nad aeth ei ymdrechiadau yn ofer; canys yn ebrwydd ar ol hyny, caniataodd y brenin Iorwerth amryw ragorfreintiau i'r Cymry.

Yn y flwyddyn 1322, torodd gwrthryfel arall allan yn Ngwynedd, dan *Syr Gruffudd Llwyd*, o Drefgarnedd yn Mon, a Dinorwig yn Arfon. Y boneddwr hwn ydoedd fab i Rhys ab Gruffudd ab Ednyfed Fychan; ac a wnaed yn farchog gan y brenin Iorwerth I., ar ei waith yn dwyn y newydd yn gyntaf i'w fawrhydi yn Rhuddlan, o enedigaeth mab iddo yn nghastell Caerynarfon. Efe a barhaodd yn hir yn ddeiliad ffyddlawn i goron Lloegr; ond yn nheyrnasiad Iorwerth II., wrth weled y modd yr oedd y swyddogion Seisnig yn gormesu ei gydwladwyr, efe a benderfynodd geisio eu rhyddhau odditan yr iau; ac i'r dyben o ddwyn hyny oddiamgylch yn fwy effeithiol, efe a gynnygiodd ffurfio cynghrair âg *Iorwerth Bruce*, yr hwn oedd y pryd hwnw newydd ei ddyrchafu ei hun yn frenin Iwerddon. Cynnygiai *Bruce* ddyfod drosodd i'w cynnorthwyo, ar yr amod iddynt roddi iddo ef arbenicter llywodraeth, megys y'i meddiennid yn ei gyflawnder gan eu tywysogion gynt, ac addawai y caent hwythau fwynhau eu tiroedd, a'u breintiau, a'u holl eiddo, yn yr un dull. Ond y mae yn debyg ddarfod i'r Cymry ballu derbyn eu cynnorthwy ar y cyfryw delerau, ac felly terfynodd yr ohebiaeth rhyngddynt; a Syr Gruffudd Llwyd a gynnullodd gynnifer o wŷr ar a allai yn nghyd, gan ymwroli i wneyd a allai heb gymhorth estronol, er cyflawni ei amcanion gwladgarol; ac efe a wnaeth amryw gyrchiadau dinystriol yn erbyn y tiriogaethau Seisnig, gan gymmeryd meddiant o'r cestyll a'r amddiffynfeydd trwy y wlad. Ond o'r diwedd, efe a lwyr orchfygwyd gan fyddin gref o Saeson; ac efe a enciliodd yn gyntaf i'w amddiffynfa yn Nhrefgarnedd, ac oddiyno i amddiffynfa gadarn arall a barotoisai efe yn lled agos i Lan Hwfa, ac olion yr hon a elwir hyd heddyw, "*Ynys Cefni.*" Gwarchaeid arno yma, lle yr amddiffynai ei hun yn wrol dros beth amser; ond o'r diwedd efe a gymmerwyd yn garcharor, ac a ddygwyd i gastell Rhuddlan, lle y bu hyd ddydd ei farwolaeth—yr hyn, debygid, a gymmerth le yn lled fuan. Pa un a ddygwyd ef i Lundain i'w ddihenyddio, fel y dywaid rhai, neu a ddihenyddiwyd ef yn Rhuddlan, fel y dywaid ereill, sydd amhosibl ei brofi. Efallai i Iorwerth, gan adgofio ei gymmwynasau blaenorol, a

chan ystyried ei fod erbyn hyn yn henafgwr, a'i ddiwedd yn ol cwrs natur gerllaw, faddeu iddo; neu o leiaf, arbed ei fywyd, a boddloni ar ei gadwraeth ddyogel yn ngharchar. Y mae yr hen ddyfrffosydd a wnaeth y gwron hwn oddeutu ei anedd yn Nhrefgarnedd, a'i amddiffynfa yn Ynys Cefni, i'w gweled hyd yr oes hon; ac yn y flwyddyn 1829, cafwyd tua deugain o esgyrniadau dynol, wrth symud clawdd bychan yn Nglan Hwfa, gerllaw Llangefni, y rhai y gallesid meddwl wrth y modd y gorweddent, eu bod wedi eu claddu ar frys; ac yn y maes cyfagos, caed lluaws o esgyrn dynol yn wasgaredig yn mhob cyfeiryd; a'r farn fwyaf hygoel am danynt yw, mai gweddillion y gwŷr a gwympasant yn ngwarcheuad Ynys Cefni oeddynt. Mae *Gwilym Ddu o Arfon*, mewn pryddest o'r eiddo iddo, tra yn garcharor yn nghastell Rhuddlan, yn rhoddi y ganmoliaeth uchaf i'r pendefig anffodus yma, am ei letygarwch a'i haelfrydedd.

Nid oes ar gael un coffa am derfysg na rhyfel yn Nghymru, o werth ei grybwyll yn y Darlithiau hyn, o'r pryd hwn hyd y gwrthryfel a dorodd allan dan *Owain Glyndwr*—sef dros yspaid o yn agos i bedwar ugain mlynedd; ac nis gallaf roddi gwell rheswm am y cyfnod yma o dawelwch, nag a roddir gan y diweddar Barch. T. Price:—

"Pe gofynid i mi beth oedd achos y tawelwch parhaus yma, atebwn—na allaf gymmeryd arnaf roddi cyfrif am bob amgylchiad offerynol, ond meddyliaf y gallaf ganfod un neu ddau yn dra eglur.—Yn y man cyntaf: yr oedd y Cymry, er gwedi methu cynnal eu hannibynolrwydd, eto, trwy eu dewrwych wrthladdiad o bob cynnygiad idd eu gorthrymu, gwedi sicrhau iddynt eu hunain y cyfryw freintiau, ag nad oedd y iau estronaidd mwyach yn ormesawl iddynt, oddieithr mewn enw yn unig. Yn y man nesaf: yr oedd yr hen dylwythau Cymraeg wedi dechreu dyfod drachefn i fwynhad o gyflwr pendefigol yn y wlad; ac yr oedd eu deiliaid, a'r bobl yn gyffredinol, yn talu iddynt hwy, o serch, y fath ufudd-dod ag na allai y dyeithriaid ei gaffael trwy drais a grymusder. Ac yn ddiweddaf: yr oedd breninoedd Lloegr, yn ystod y talm hwn, yn cynnal rhyfeloedd egnïol ar y cyfandir, yn gystal ag yn Mrydain; ac yr oedd rhifedi mawr o'r Cymry yn gwasanaethu yn eu byddinoedd, a llawer o honynt yn meddiannu swyddau anrhydeddus ynddynt; ac felly, trwy ryddhad oddiwrth ormesiad gartref, a mwynhad o anrhydeddau milwraidd allan, yr oedd y Cymry yn ymfoddhau idd eu cyflwr, ac yn aros yn ostegol." *

Crybwyllasom eisoes am wasanaeth y Cymry yn y byddinoedd Seisnig, yn y cyfnod yma. Bu llawer o honynt gydag Iorwerth III., a'i fab, y *Tywysog Du*, yn mrwydrau Cresci a Phoictiers, yn Ffrainc; ac mewn cyssylltiad â'r frwydr olaf a grybwyllwyd, y mae yr hanesyn canlynol yn deilwng i'w goffhau.—Yn mysg y swyddogion milwraidd Cymreig oeddynt yn myddin y Tywysog Du, yr oedd *Hywel ab Einiawn ab Gruffudd ab Hywel*, un o hiliogaeth Collwyn ab Tanguo, a brodor o Eifionydd, yn swydd Gaerynarfon. Y gwron hwn a hynododd ei hun yn arbenig yn y frwydr; canys efe a ddifarchodd frenin Ffrainc yn y gad, gan dori pen ei farch ar un dyrnod, gyda'i ryfel-fwyall; a'r canlyniad fu, cymmeryd y brenin yn garcharor. Fel gwobrwy am ei wrhydri, efe a wnaed yn farchog ar faes y frwydr, ac a benwyd yn geidwad cestyll Caer a Chricieth, heblaw amryw swyddau buddfawr ereill; ac er cof neillduol o'i orchestwaith, archodd y brenin bod saig o fwyd i gael ei dwyn i'w fwrdd o flaen ei ryfel-fwyall beunydd; ac ar ol ciniawa o hono, bod y saig hono i gael ei rhanu i'r tlodion; ac oddiwrth hyn y cafodd yr enw *Syr Hywel y Fwyall*. Cyfeiriai Hywel ab Rheinallt at y ffaith uchod yn y llinellau canlynol:—

* Hanes Cymru, t.d. 768, 769.

"Seiger fy feiger fwyall;
Daeth hon gar bron y brenin,
Gwedi'r maes, gwaed ar ei min;
Ei dysaig, a'i dewiswr,
A'i diod oedd waed dw'r."

Hyny yw—Gwledder fy ardderchog fwyall; daeth hon ger bron y brenin, gwedi'r frwydr, a gwaed ar ei min; ei gwledd, a'i dewisbeth, a'i diod, oedd y gwaed rhedegog.

Yn y flwyddyn 1277, bu farw Iorwerth III.; a'i ŵyr ef, *Rhisiart yr Ail*, a ddaeth yn olynwr iddo, fel etifedd coron Lloegr; ond ni roddodd foddlonrwydd i'r wlad, a bu llawer o gynllwynion yn ei erbyn; ac yn y diwedd, llwyddodd ei elynion i'w yru o'r orsedd, a'i gefnderw a ddaeth trwy drawsfeddiant i'r orsedd yn ei le, dan yr enw *Harri IV.*, yr hyn a ddigwyddodd yn y flwyddyn 1399. A chan mai mewn cyssylltiad â'r helyntion hyn yr achlysurwyd gwrthryfel *Owain Glyndwr*, yr ydym yn bresenol yn cael ein harwain yn naturiol i ddechreu gafael yn mhrif destyn y Ddarlith hon.

Enw priodol ein gwron oedd "*Owain ab Gruffudd Fychan*," ac yr oedd o waedoliaeth hen dywysogion Cymru; ïe, mewn gwirionedd, yr oedd tri breninllwyth yn cyfarfod ynddo—sef, yr eiddo *Bleddyn ab Cynfyn*, o Bowys; *Rhys ab Tewdwr*, o'r Deheubarth; a *Gruffudd ab Cynan*, o Wynedd—fel y dangosir mewn llechres achyddol gywrain yn y *Cambro Briton*, cyf. i., t.d. 457, 458.

Fel hyn y cawn yr achau yn y llyfr dywededig:—*Edwin*, y chweched yn mysg pymtheg llwyth Cymru, a gyfenwid yn dywysog neu frenin *Englefield*. Efe oedd orwyr i Hywel Dda, tywysog Cymru, ac yr oedd yn cyfaneddu yn Llys Llaneurgain, tua'r flwyddyn 1041. O hono y disgynai *Ithel Fychan*, mab *Ithel Llwyd*.

I.

ITHEL FYCHAN.




II.

LLEWELYN AB OWAIN, a hanai o Rys ab Tewdwr.

Tomas=Eleanor Goch, wyres Llewelyn, tywysog Cymru.



### III.

*Tri breninllwyth yn cyfarfod yn Owain Glyndwr:—*

| 1. POWYS. | 2. DEHEUBARTH. | 3. GWYNEDD. |
|---|---|---|
| Bleddyn ab Cynfyn. | Rhys ab Tewdwr. | Gruffudd ab Cynan. |
| Meredydd. | Gruffudd. | Owain Gwynedd. |
| Madog. | Arglwydd Rhys. | Iorwerth Drwyndwn. |
| Gruffudd Maelor. | Rhys Gryg. | Llewelyn. |
| Madog. | Rhys Mechell. | Gruffudd ab Llewelyn. |
| Gruffudd, Dinas Bran. | Rhys Fychan = | Gwladus. |
| Gruffudd Fychan. | | |
| Madog Gloff = | Margaret. | |
| | Madog Fychan. | |
| | Gruffudd o'r Rhuddallt. | |
| | Gruffudd Fychan. | |
| | Owain Glyndwr. | |

Efallai y bydd yn dda gan lawer o ddarllenwyr y Darlithiau hyn weled yr achresau uchod, gan nad yw y *Cambro Briton* yn meddiant ond ychydig o honynt; ac y maent yn profi yn amlwg uchel drâs ein gwron, a'i berthynas agos i *Owain Tudur*, yr hwn, yn mhen oes wedi hyn, a fu yn offeryn uniad breninllwyth y Cymry a'r eiddo y Saeson.

Ganwyd *Owain ab Gruffudd Fychan*, yn ol y tystiolaethau mwyaf credadwy, ar yr 28ain o Fai, 1354; ond y mae rhai yn ceisio haeru mai 1348, neu 1349, oedd blwyddyn ei enedigaeth.* Ac y mae yn ddiau ei fod yn moreu ei ddyddiau wedi cael dysgeidiaeth addas i'w gyfoeth a'i fonedd; a gorphenodd ei ddysgeidiaeth yn un o'r prif lysoedd cyfreithiol, fel efrydydd diwyd o'r gyfraith Seisnig. Ond nid yw yn debyg iddo ymarfer nemawr erioed ar ei alluoedd cyfreithiol; canys denwyd ei feddwl yn fuan gan attyniadau cryfach buchédd filwraidd—i'r hyn, efallai, yr oedd ei dueddiadau naturiol ef ei hunan, ac amgylchiadau gwleidiadol ei oes, yn ei gydgymhell; ac y mae yn ymddangos ddarfod iddo dreulio cryn lawer o'i ieuenctyd yn y filwriaeth, ac enill ffafr y brenin Rhisiart yr Ail mewn modd arbenig, gan i'r penadur hwnw ei wneuthur yn gludydd ei arfau, yn ei ryfeloedd yn Ffrainc a'r Iwerddon, cygystal ag yn ei ryfeloedd cartrefol: ac yn wobrwy ei ffyddlondeb a'i bybyrwch, darfu i'r brenin ei urddaw yn farchog, fel y gwelir oddiwrth rai hen gyfysgrifau ydynt eto ar gael; er nad yw yn ymddangos ddarfod i'n gwron byth ddefnyddio y

* Mae rhai yn dadleu mai yn Nhref Garn, yn swydd Benfro, y'i ganwyd. Ymddengys fod Tref Garn yn breswylfod ei daid o du ei fam—sef, *Thomas Llewelyn*, yr hwn a briodasai *Eleanor Goch*, wyres i Lewelyn, tywysog olaf Cymru; ac nid yw yn annhebyg y byddai ei fam yn treulio peth amser yn Nhref Garn weithiau.

teitl yma, wedi ei enciliad i Gymru, yr hyn a gymmerodd le ar ddiorseddiad y brenin Risiart, yn y flwyddyn 1399, ac esgyniad Harri IV. i'r orsedd.

Yr oedd ganddo un llys mewn lle a elwir *Sycharth*, ar lan afonig fechan o'r enw Cynllaith, yn mhlwyf Llansilin, swydd Ddinbach; ac un arall yn nghwmwd Glyndyfrdwy, swydd Feirionydd. Efe a briodasai yn lled ieuanc, debygid, â *Margaret*, ferch Syr Dafydd Hanmer, o Hanmer, swydd Fflint, yr hwn a wnelsid yn un o'r prif farnwyr, yn y flwyddyn 1383, gan y brenin Rhisiart yr Ail, ac a urddwyd yn farchawg ganddo yn 1387; ac nid yw yn annhebyg i'r anrhydeddau hyn gael eu rhoddi ar y chwegrwn drwy ddylanwad y daw gyda'r brenin.—Am y wraig yma, dywedai *Iolo Goch*, un o'i feirdd teuluaidd:—

"A gwraig oreu o'r gwragedd,
Gwyn 'y myd o'i gwin a'i medd.
Merch eglur, llin marchoglyw,
Urddol, hael, o reiol ryw."

Ni wyddys pa nifer o feibion a fu iddo o honi, canys y mae hanesyddiaeth yn berffaith ddystaw ar hyny; efallai eu bod ar wrthryfeliad eu tad wedi cyrhaedd eu llawndwf, ac iddynt gwympo yn ei frwydrau: ond yr ydys yn gwybod bod iddo *bump* o ferched—yr henaf, *Isabel*, a briodid âg *Adda ab Iorwerth Ddu;* ei ail ferch, *Elizabeth*, neu *Alicia*, yn ol rhai, a briodid â *Syr John Scudamore*, o Ewyas a Holm-Lacy, yn swydd Henffordd; *Jonet*, ei drydedd merch, a briodid â *John Crofts*, o Gastell Crofts, yn yr un sir; *Jane*, ei bedwaredd merch, a briodid âg *Arglwydd Grey* o Ruthin, fel y dangosir yn helaethach yn nghorph y Ddarlith hon; a'i bummed merch, *Margaret*, a briodid â *Roger Monington*, o Monington, yn swydd Henffordd. Am ei blant dywaid y bardd—

"A'i blant a ddeuant bob ddau,
Nythiad teg o benaethau."

Heblaw ei blant cyfreithlawn o'i wraig, y mae yn ymddangos fod iddo rai plant basdarddaidd—megys, mab o'r enw *Ieuan*, am yr hwn ni wyddys ddim, heblaw y crybwylliad o'i enw; a merch, yr hon a briododd i deulu Gwernen; a merch arall, o'r enw *Myfanwy*, a briododd â *Llewelyn ab Adda*, o Drefor; a *Gwenllian*, yr hon a briododd â *Phylip ab Rhys*, o Sant Garmon, yn swydd Faesyfed; wrth ganu i'r hon, yn nheyrnasiad Harri VI., y dywedai "Lewis Glyn Cothi" am ei thad:—

"Ei thad oedd d'wysog cadarn,
A holl Gymru fu'n ei farn."

Ymddengys y byddai Owain yn arfer treulio rhyw gymmaint o'i amser, ar adegau tra yr oedd yn ŵr llys i'r brenin Rhisiart, yn un neu y llall o'i lysoedd Cymreig, yn mynwes ei deulu, lle y cyrchai y beirdd i'w groesawu, i'r rhai yr oedd efe yn noddwr arbenig, fel y gwelir oddiwrth ganiadau Iolo Goch, ac ereill o honynt—y rhai a alwent ei lys yn "*Sycharth, buarth y beirdd.*" Dywedent hefyd—

"Myned, mae adduned ddain,
Lles yw, tua Llys Owain;
Yno yn ddidro ydd af,
Nid drwg, ac yno trigaf,
I gym'ryd i'm bywyd barch,
Gydag ef o gydgyfarch.
Fe all fy Naf, uchaf ach,
Aur ben clêr, dderbyn cleiriach.
Clywed bod—nis cel awen—
Ddiwarth hwyl, yn dda wrth hen.
I'r llys ar ddyfrys ydd af,
O deucant odidocaf.
Llys barwn, lle syberwyd,
*Lle daw beirdd am le da byd.*"

Yn yr un cywydd, cawn y darluniad a ganlyn o lys ein gwron yn Sycharth; wrth yr hyn y gwelwn ei fod yn byw mewn rhwysg tywysogaidd:—

"Llyna modd y llun y mae,
Mewn eurgylch, dw'r mewn argae;
Pa'nd da'r llys—pont ar y llyn,
Ag unporth, lle'r âi ganpyn:
Cyplau sydd, bob cwplws ynt,
Cwpledig bob cwpl ydynt.
Clochdy Padrig, Ffrengig ffrwyth,
Cloystr Westmestr, cloiau ystwyth;
Cenglyn-rhwyn bob congl unrhyw,
Cafell o aur, cyfa oll yw;
Cenglynion yn y fron fry,
Dordor, megys daeardy;
A phob un fal llun llynglwm,
Sydd yn eu gilydd yn glwm.
Tai Napl ar fold deunawplas,
Ty pren glan mewn top bryn glas,
Ar bedwar piler eres,
Ei lys ef i nef yn nes:
Ar ben pob piler pren praff,
Lloft ar dalgrofft adeiligraff:
A'r pedair llofft o hoffder,
Ynghyd gwplws clau cwsg cler:
Aeth y pedair dysglaer-lofft,
Nythlwyth teg iawn yn wyth lofft;
To teils ar bob tŷ talwg,
Simneiau lle magai mwg.
Naw neuadd, cofladd cyflun,
A naw *wardrobe* ar bob un;
Siopau glân glwys, gynnwys gain,
Siop landeg fel siop Lundain;
Croes eglwys gylchlwys galchliw,
Capelau, a gwydrau gwiw.

* * * *

Garllaw'r llys, gorlliwio'r llall,
Y pawr ceirw mewn parc arall;
Parc cwning Meistr por cenedl,
Erydr, a meirch hydr, mawr chwedl.
Dolydd glân, gwyran a gwair,
Ydau mewn caeau cywair;
Melin deg ar ddifreg ddw'r,
A'i g'lomendy, gloyw maendwr;
Pysgodlyn, cuddiglyn cau,
A fo rhaid, i fwrw rhwydau:
Amlaf lle nid yr ymliw,
Penhwyaid a gwyniaid gwiw;
A'i dri bwrdd, a'i adar byw,
Pennod cryhyrod hoyw-ryw."*

Ac yna, er darlunio ei letygarwch dihafal, dywaid y bardd—

"Anodd yn fynych yno,
Weled na chliccied na chlo,
Na phorthoriaeth ni wnaeth neb,
Ni bydd eisiau budd oseb,
Na gwall, na newyn, na gwarth,
Na syched fyth yn SYCHARTH."

Yn nheyrnasiad Rhisiart yr Ail, bu cyfraith boethlyd rhwng Owain a Rheinallt, arglwydd Grey, o Ruthin, mewn perthynas i ryw gyttir, o'r enw *Croesau*, a orweddai rhwng arglwyddiaethau Rhuthin a Glyndyfrdwy. Y gyfraith hono a enillwyd gan Owain y pryd hyny. Ond yn y flwyddyn gyntaf o deyrnasiad Harri IV., darfu i arglwydd balch a thrachwantus Rhuthin gydio yn y cyttir dywededig, gan farnu na byddai i Owain gefn bellach, wedi diorseddiad ei noddwr; ac am hyny y byddai yntau yn debycach o gario ei amcan arno. Buasai hyn yn anogiad digonol i ddigofaint un o dymher llai tanbaid na'n gwron; ond er ei anrhydedd, rhaid tystio na chymmerth efe arfau i ymladd dros ei hawlion, nes gwneyd pob ymdrech a ellid yn gyntaf i geisio terfynu yr amrafael trwy foddion tynerach. Efe a ddygodd gwyn i'r senedd yn gyntaf, o herwydd gwaith yr Arglwydd Grey yn trawsfeddiannu ei hawlion cyfiawn ef; ond yr oedd yr amserau wedi newid—canys ei gyfaill a'i noddwr Rhisiart oedd yn ddorseddedig a charcharedig, fel nas gallasai wneyd dim drosto; a Harri, yr hwn a drawsfeddiannai yr orsedd, ni theimlai unrhyw garedigrwydd at Owain, am ei fod wedi parhau yn ffyddlawn i'r brenin Rhisiart hyd y diwedd; ac felly gwrthodid ei apeliad gyda dirmyg—yr hyn yn ddiau a ddwfn archollai deimladau gŵr o fath "Owain Glyndwr." Ond nid digon o draha ar y gwron Cymreig oedd y cam yma o eiddo arglwydd Grey, rhaid hefyd oedd iddo gael llychwinaw ei anrhydedd, yr arfod gyntaf a gafodd,

trwy ei ddarluniaw fel un anffyddlawn i frenin Prydain. Canys pan oedd y brenin Harri ar gychwyn allan, ar gadgyrchiad yn erbyn yr Ysgotiaid, efe a wysiodd ei farwniaid a'u harfogion i'w ddilyn; ac yn mysg ereill, yr oedd Owain yn un o'r cyfryw farwniaid a wysid. 'Ond yn anffodus i heddwch y deyrnas, rhoddwyd dyfuneb *(writ)* y brenin i'r arglwydd Grey i'w chludo i Owain; ond efe a'i cadwodd yn fwriadol mor ddiweddar, fel na byddai yn ddichonadwy i Owain a'i ganlynwyr ymddangos yn mysg y barwniaid ereill. Ei absenoldeb a briodolid gan Harri yn y fan i anffyddlondeb, ac anufudd-dod bwriadol; yr hyn a wnelid yn fwy hygoel fyth trwy gamddarluniadau maleisus a wnelid o'r Cymro i'r brenin, gan yr arglwydd Grey. Y canlyniad fu, i "Glyndwr" gael ei gyhoeddi yn fradwr, a'i feddiannau yn ddirwyedig; a dywedir fod Grey, dan yr esgus o'r dirwyad yma, wedi goresgyn y rhanau hyny o etifeddiaethau Owain a orweddent yn nesaf i'r eiddo ei hun. Ymdrechai *John Trefor*, esgob Llanelwy, gael gan yr arglwyddi ymbwyllo, a gwrando ar gwynion cyfiawn Owain, rhag trwy eu traha arno, a'u hannghyfiawnder tuag ato, y cyffroid holl genedl y Cymry i wrthryfel. Ond yn lle amlygu y wreichionen leiaf o dosturi at Gymro dewr ac urddasol, dan orthrymderau llymion, rhai o'r arglwyddi a atebent yn drahaus, nad oedd arnynt hwy ddim o arswyd y crwydriaid troednoeth hyny. Erbyn hyn, yr oedd y digofaint a fuasai yn-hir groni yn mynwes ein gwron yn erbyn Harri—o'r funyd y bradychasid ei benadur cyfiawn i'w ddwylaw, trwy gelwydd ac anudoniaeth, hyd yr awr hon; ac yn awr, pan welai efe ormeswr anonest yn cael ei gefnogi gan benadur annghyfiawn i'w yspeilio o etifeddiaethau ei hynafiaid tywysogaidd, ac ar yr un pryd yn dirmygu ei genedl, nis gallai ymatal yn hwy, ond dechreuodd ymbarotoi i amddiffyn ei gam ei hun, a'r eiddo ei gydgenedl, trwy arfau, gan nas gellid cael cyfiawnder un ffordd arall; ac fel hyn y dechreuodd gwrthryfel, yr hwn a barhaodd am oddeutu pymtheng mlynedd, yn yr hwn y collodd *can' mil* o ddynion eu bywydau.

Y weithred gyntaf o eiddo Owain, mewn canlyniad i'r driniaeth annghyfiawn hon, oedd cynnull ychydig Gymry glewion o'i ddeutu, ac wedi eu harfogi, adfeddiannu y tiroedd a ddygasid oddiarno o'r blaen; ac er ad-dalu i arglwydd Grey am y camwri a gawsai, cymmerodd feddiant trwy drais o ranau helaeth o'i feddiannau ef, yr hwn oedd ar y pryd yn y llys breninol: ac nid oes amheuaeth genyf na buasai Owain yn dodi ei gleddyf yn ei wain, ac yn boddloni ar hyn o ymddial ar ei hen elyn Grey, gan dreulio y gweddill o'i oes yn dawel yn mysg ei deulu, oni buasai i frenin Lloegr ystyried yr ymosodiad yma fel ymosodiad arno ef; ac anfon yr arglwydd Grey ei hunan, ac arglwydd Talbot, gyda byddin gref o filwyr breninol, i ymosod arno, ac i'w gosbi am yr hyn y dewisent hwy ei alw yn wrthryfel, heb ystyried cyfiawnder hawl Owain i'w etifeddiaeth ei hunan, yr hon a ddisgynasai iddo drwy y fath linell o hynafiaid urddasol, ac a ddygid oddiarno mor annghyfiawn gan ei gymmydog gelynol a thrahaus. Mor bell oedd Owain o fwriadu cyfodi gwrthryfel yn erbyn y brenin, fel nad oedd ganddo y parodrwydd lleiaf i wrthladd yr arglwyddi hyny, y rhai a fuant o fewn ychydig iawn i lwyddo yn eu hamcan i'w gymmeryd yn garcharor—canys yr oeddynt bron wedi amgylchynu ei dŷ cyn gwybod o hono am eu dynesiad; a thrwy ei gydnabyddiaeth ragorach yn y llanerch yn unig y llwyddodd efe i ddianc i goedwig gyfagos, lle yr ymguddiai dros amser; ac wedi ei lwyr argyhoeddi bellach, nad oedd na thrugaredd na chyfiawnder iddo ef i'w ddysgwyl oddiar law y brenin, yr hwn a amlygai bob penderfyniad i'w lwyr ddystrywio ef, er anrhydeddu arglwydd Grey, efe a gynnullai fintai o ewyllyswyr da, dewrion ac arfog, ac ar ddyddgwyl ffair Rhuthyn—yr 20fed o Fedi, 1400—efe a'u harwein-

iodd i'r dref ddywededig, ac a losgodd y rhan fwyaf o honi, gan ysglyfaethu ysglyfaeth fawr, a lladd llawer o'r trigolion, yn gystal a'r masnachwyr Seisnig a ddaethent i'r ffair; a'r rhai a ddiangasant, â'u heinioes ganddynt, a gawsant achosion i alaru eu colledion, trwy yspeiliad neu ddystrywiad eu meddiannau. Wedi i Owain orphen hyn o orchwyl, efe a enciliodd i'r mynyddoedd, er llechu yn rhai o'r amddiffynfeydd anhygyrch hyny, hyd oni chynnullid mwy o'i gydwladwyr dan ei luman.

Ymdaenai y newydd am doriad y gwrthryfel yma allan, fel tân gwyllt, trwy bob rhan o Gymru; ac ymdynai lluoedd at luman Owain, yr hwn y dechreuent ei alw yn barod yn "*Dywysog Cymru.*" Yr oedd rhai o'r gwŷr hyn yn cael eu cymhell i ymgynnull at Owain, ac ymrestru yn ei fyddin, oddiar ddygasedd personol at arglwydd Grey; rhai oddiar elyniaeth wladbleidiol at Harri, yr hwn a ystyrient fel trawsfeddiannydd yr orsedd; ac yr oedd amryw o'r myneich, yn enwedig y rhai o'r urdd Ffrancisaidd, o'r golygiad yma, gan eu bod yn bleidwyr trwyadl i'r brenin Rhisiart; ac y mae yn ymddangos eu bod hwy yn brysur yn anog y bobl i gefnogi Glyndwr yn ei wrthryfel, gan eu bod yn cofio yn dda mor ffyddlawn y buasai efe i Rhisiart hyd y diwedd, a'u bod yn gwybod mai am hyny y'i gormesid mor greulawn. Ond y nifer fwyaf o lawer oeddynt ddynion o ysbryd gwladgarol, y rhai yr oedd eu heneidiau yn llosgi ynddynt, gan awydd am ryddhad eu cenedl odditan iau y Saeson—ymddygiadau tra arglwyddiaethol y rhai, yn enwedig arglwyddi y cyffindiroedd, oeddynt wedi myned yn anniodddefol iddynt. Ac yr oedd y beirdd yn gwneyd eu goreu i feithrin yr ysbryd yma, gan adgofio yr hen ddaroganau barddonawl a gedwid yn draddodiadol yn mysg y bobl, nes enyn tanchwa o wladgarwch ac ysbryd annibynol yn mysg y genedl; a chyferchid Owain yn eu caniadau dan yr enw "Mab y Darogan," gan eu bod yn dysgwyl y cyflawnid ynddo eu hoff obeithion am adenilliad annibyniaeth a rhyddid eu gwlad, a dialedd ar eu gormeswyr.

Fe dybia rhai mai ar Gaer Drewyn, yn agos i Gorwen, yr oedd gwersyll Owain y pryd hyn—tua'r fan lle y buasai Owain Gwynedd o'i flaen yn crynhoi ei fyddinoedd; ond os bu ei wersyllfa dros beth yspaid yno, gallem gasglu iddo ymfudo yn lled fuan i rai o'r amddiffynfeydd oeddynt yn nghalon yr Eryri; canys fe'n hysbysir ddarfod i Harri, wedi clywed am y parotoadau hyn, wysio holl rym milwraidd deg o swyddi Lloegr i ymfyddinaw, a phenderfynu arwain y fyddin gref hono yn bersonol i Gymru, er ffrwyno y gwrthryfelwr eofn yma, a darostwng y gwrthryfel, cyn iddo gael amser i gynnyddu i'w gyflawn nerth; ac efe a arweiniodd ei fyddin can belled ag ynys Fon, gan ladd a difrodi y ffordd y cerddai, heb arbed hyd yn nod y crefydd-dai. Yn Llanfaes, gerllaw Beaumaris, yr oedd crefydd-dy a adeiladasai Llewelyn ab Iorwerth, ar feddrod ei dywysoges Joanna; efe a anrheithiodd yr eglwys, a rhanau ereill o'r adeiladau, gan ladd rhai o'r myneich, a chymmeryd y lleill yn garcharorion, ac yspeilio eu trysorau, am fod myneich Llanfaes o urdd y Ffrancisiaid, ac felly yn gyfeillion Rhisiart yr Ail, ac o dan y drygdyb o fod yn gefnogwyr y gwrthryfel presenol. Ond gan fod y myneich hyn yn faich i'r brenin yn ei fudiadau, efe a roddodd eu rhyddid iddynt yn mhen rhai dyddiau; ond cyfleodd frodyr llwydion Seisnig yn Llanfaes, yn y rhai y gallasai ymddiried. Ond gan fod Owain yn ymgadw yn nghilfachau y mynyddoedd, ac yn gwylio megys eryr ar holl symudiadau y fyddin freninol, bu raid i Harri ddychwelyd y pryd hwn, wedi treulio yn agos i dri mis ar y cadgyrchiad, ond heb fod yn ddim nês i ddarostwng y gwrthryfel. Ar yr 8fed o Dachwedd, dyroddodd holl etifeddiaethau Owain, yn Ngogledd a Deheubarth Cymru, i'w frawd ei hun—*John*, iarll Somerset; ond nid oedd

hyny, chwedl un hanesydd, namyn gwerthu y croen cyn dal yr arth; canys ni chawn hanes iddo eu perchenogi dros ei oes; ac o ganlyniad, yr oedd y fath weithred yn dra annoeth o du y brenin, gan nas meddai rym digonol i roddi awdurdod ynddi; ond yr oedd yn gyfryw ag a berai i'r Cymry ei gashau yn fwy, ac ymdyru yn fwy awchus at luman Owain, er cryfhad mawr i'w blaid a'i achos. Ac efallai i'r brenin ganfod hyn yn fuan; canys yn dra disymwth efe a ostyngai ei wrychyn, ac a wisgai arwedd addfwyn a diniwed hynod, gan lefaru geiriau mwynion heddwch, yn lle cyhoeddi bygythion o'r tân a'r cleddyf; ac ar y 30ain o Dachwedd, efe a anfonai gyhoeddiad allan, yn yr hwn y cynnygiai gymmeryd dan ei nawdd bob Cymro a ddeuai i Gaerlleon, gan wneyd eu hymostyngiad i'w fab *Henry*, ac wedi hyny y byddent yn berffaith rydd i ddychwelyd i'w cartrefleoedd. Ond ychydig iawn oedd nifer y rhai a gymmerasant fantais ar y tiriondeb yma o'i eiddo; canys yr oedd hen ysbryd milwraidd eu tadau erbyn hyn wedi dechreu enyn yn mynwesau y Cymry unwaith eto, fel y cyrchent yn lluoedd calonawg i gefnogi ymdrechion yr hwn a gyfrifent fel eu tywysog a'u gwaredydd. Nid amheuaf er hyny, pe buasai y brenin yn ymostwng i anfon cenadwri at Owain ei hunan, gan ymrwymo i ffrwyno trachwant arglwydd Grey, a sicrhau i Owain, a'r pendefigion Cymreig ereill, fwynhad dyogel o etifeddiaethau eu tadau, heb oddef i neb o arglwyddi y cyffindiroedd i'w gormesu—na buasai heddwch yn cael ei selio yn y fan, ac o ganlyniad arbedasid miloedd o fywydau Cymry a Saeson, a aberthwyd yn yr ymrafael a ddilynodd: ond yn y ddau gyhoeddiad heddychol a anfonodd y brenin allan o Gaerlleon, efe a gauai Owain, ac amryw foneddwyr ereill—megys *Rhys ab Tudur* a *William ab Tudur*—allan o gylch ei drugaredd. Yr oedd amryw foneddwyr o Gymru yn cyfaneddu yn Lloegr, er mwyn dysgu yr iaith Seisnig, neu ddilyn rhyw drafnidiaeth; ac ereill yn myddin y brenin, cyn i'r gwrthryfel dori allan; eithr pan glywsant am wrhydri Owain, hwy a ddychwelasant yn lluoedd i'w gwlad, ac ymrestrasant dan faner eu cydwladwr dewr; ac mor bell oedd ei gydwladwyr o'i fradychu, er mwyn enill ffafr y brenin, fel yr oedd byddin Owain yn myned ar gynnydd beunydd, hyd onid oedd bellach yn gref o ran nifer a sel, os nid o ran medrusrwydd a dysgyblaeth filwraidd.

Gan fod gan ein gwron etifeddiaethau yn Ngogledd a Deheudir Cymru, a bod iddo garedigion ac ewyllyswyr da yn y ddwy ran o'r dywysogaeth, efe a benderfynodd sefydlu gorsaf filwraidd ar ben Plinlumon; ac felly, wedi gosod rhanau o'i fyddin i gadw meddiant o rai o brif amddiffynfeydd Gwynedd, efe a arweiniodd y gweddill tua'r mynydd-dir crybwylledig, ac ar ei ffordd, efe a anrheithiodd diriogaethau arglwyddi y cyffindiroedd, gan gymmeryd Trefaldwyn trwy ruthr, a llosgi rhanau o'r Trallwm â thân, er colled fawr i *Edward*, iarll Powys—llawer o dir-ddeiliaid yr hwn a gefnogent y gwrthryfel, tra yr oedd efe yn gyfaill mynwesol i'r brenin. Y lle nesaf a deimlodd oddiwrth ddialedd Owain oedd abatty Cwm Hir, a chastell Maelienydd, neu Faesyfed, lle y bu efe yn lladd ac yn llosgi yn ddiarbed. Mae yn dra thebyg mai un prif reswm am ei ymosodiad ar y fath grefydd-dy ag abatty Cwm Hir, oedd fod y myneich a'i cyfaneddent wedi eu dangos eu hunain yn orbrysur yn eu cefnogaeth o'r brenin Harri, a'u gwrthwynebiad i Owain a'i achos; a dywedir iddo beri lladd holl warchodlu castell Maelienydd â'r cleddyf, yr hyn sydd yn rhoddi lle i ni gasglu ei fod wedi cael rhyw gyffroad neillduol o'r lle hwn. Yr oedd y sefyllfa a ddetholasai Owain i drefnu ei wersyll—ar Blinlumon—yn dra manteisiol i wneyd ei gadgyrchiadau yspeilgar ar y rhandiroedd cylchynol, ac i amddiffyn ei hunan yn erbyn byddin lawer lluosocach, yn gymmaint a'i fod 2463 troedfedd goruwch wyneb y môr ar drai. Gallasai ei ddyrnaid gwŷr,

wedi eu hamddiffyn o fewn eu ffosydd milwraidd cedyrn, wrthladd holl rym yr arglwyddi cyffindirawl dros dymhor maith, ond meddu ystôr dda o ymborth ac arlwy rhyfel yn y gwersyll.

Gan fod Owain yn gwybod yn dda bod y Fflandrwysiaid a gyfaneddent Ddyfed a Cheredigion, yn ddeiliaid tra ffyddlawn i'w cymmwynaswyr—breninoedd Lloegr—efe a'u blinai yn lled dost, gan wneyd aml gadgyrchiad yspeilgar i'w tiriogaethau, o'i wersyllfan uchel, nes y penderfynasant o'r diwedd wneyd cais teg i roddi pen arno ef a'i ruthriadau. Felly wedi cynnull yn nghyd bymtheg cant o arfogion, hwy a'i hamgylchynasant ef a rhan o'i fyddin, ar fynydd Hyddgant, fel y bu yn gyfyng iawn arno; ond efe a anogodd yr ychydig wŷr oeddynt o'i ddeutu i werthu eu heinioes mor ddrud ag y gallent, ac ymdrechu i dori eu ffordd trwy y fyddin elynol —er nad oedd o honynt namyn dau neu dri chant o wŷr; ac felly y torasant eu ffordd trwy eu rhengau, gan adael o honynt yn lladdedig ar y maes uwchlaw dau cant o wŷr, a gyru y lleill ar ffo, fel pe buasai mintai o ellyllon wedi ymosod arnynt. Y fuddugoliaeth hynod hon a chwanegodd boblogrwydd ein gwron drwy y dywysogaeth, ac a fu yn achlysur i luosogi ei ganlynwyr yn ddirfawr; a'r brenin Harri, yn clywed y newyddion hyn, a orfodid o'i anfodd i goledd syniadau uwch nag a feddai o'r blaen am wrolder a medrusrwydd ei wrthwynebydd; ac yn y canlyniad, efe a ddaeth i Gymru yr ail waith, gan arwain byddin gref a gynnullasid o ddwy ar hugain o siroedd ei deyrnas, ac efe a gychwynai ar y cadgyrchiad yma tua dechreu Mehefin; ond nid oes nemawr i'w ddywedyd am dano, heblaw fod y fonachlog ysplenydd yn Ystrad Fflur wedi ei dystrywio, a'r wlad mewn rhai parthau wedi cael ei hanrheithio yn dost, a llwyddo o'r brenin i lithio amryw o'r pendefigion Cymreig, a gefnogent Owain hyd hyny, i gefnu arno. Ond wedi i'w fyddin ddyoddef yn ddirfawr trwy ludded a newyn, Harri a ddychwelodd yn ol i Loegr, heb enill iddo ei hun fwy o anrhydedd trwy y cadgyrchiad hwn na'r un blaenorol; ac ni ddigalonid dim ar ein gwron trwy fod William ab Tudur, a boneddwyr ereill, yn troi yn ffeilsion iddo; eithr efe a aeth rhagddo yn ei rwysg milwraidd, ac ychwanegid beunydd at ei fyddin: ac oddeutu dechreu y flwyddyn 1402, canai *Iolo Goch* y cywydd canlynol iddo:—

"A'r drydedd, cymmyredd ced,
I Wynedd wiw a aned;
Yn anian fawr, yn un fodd,
Unsail, ac yn un ansodd;
Yn ganaid ruddel felen,
Yn gadr, ei phaladr a'i phen.
Pawb achlan o'r lle'r hanwyf,
A ofyn im', eofn wyf,
Budd a ddaw i'r llaw lle'r el,
Beth yw'r seren, boeth awel?
Myfi a ŵyr lwyr loyw-ryw,
Deall hyn, a dillyn yw:—
Dur yw ei phaladr, neu dân,
A draig i'r Mab Darogan:
Ni bu er talm, wiwsalm wedd,
Ser iawn i sîr o Wynedd;
Ond y seren eleni
Sydd o newydd i ni;
Gem yn arwain in' gymmod,
Gan Dduw glan, gwn iddi glod.
Teg yw rhad goleuad gwrdd,
T'wysoges y tes agwrdd;
Tan o fron y tyno fry,
Tywynodd rhad Duw ynny:
Lle diffoddes dygesynt
Y dalaith a'r gyfraith gynt;
Uchel y mae, uwchlaw Mon,
Yn ngolwg yr angelion;
Piler o aur goreu-ryw,
Post o gŵyr o'r awyr yw.
Y naill a gawn, gwiwddawn gwŷr,
Ai Pab, ai brenin pybyr:—
Brenin, hael am win a medd,
Dewr a gawn o dir Gwynedd;
Duw a ddyg—fo'n di ddigia—
Gwynedd i gael diwedd da;
Golau glan i gael y glod,
Ag arfau, a chwedl gorfod."

Y cywydd uchod a genid ar yr achlysur o ymddangosiad seren wib, yr hon a ddylanwadai feddyliau y lluaws ofergoelus yn dra ffafrawl i Owain

a'i achos. A thra yr oedd y beirdd—yr athrawon mwyaf dylanwadol a feddai y genedl—yn priodoli y fath genhadaeth i'r ymddangosiad wybrenawl dyeithriawl hwn, nid rhyfedd bod llawer o'r werin anwybodus ac ofergoelus yn credu fod ein gwron wedi ei gyfodi gan y Goruchaf i weithio allan ryddid ac annibyniaeth i'w genedl, a dial eu cam ar eu gormeswyr trahausfalch; a'r amgylchiadau a gymmerasant le dros yspaid ar ol hyn a dueddent yn fawr i'w cadarnhau yn eu cred: canys oddeutu y pryd hwn yr oedd arglwydd Grey, ffynhonell y cynen hwn, yn gwneyd parotoadau mawrion i ymosod ar ein gwron, gan benderfynu rhoddi pen tragyfyth ar ei rwysg. Ond pan ddeallodd Owain hyny, efe a dynodd allan ei gynllun yn ddioed; ac yn lle sefyll ar ei ddiffyniad, a dysgwyl i'w elyn daro y dyrnod cyntaf, efe a arweiniodd ei wŷr i gymmydogaeth Rhuthin, ac wedi cyfleu y rhan fwyaf o honynt mewn ymguddfa, efe a aeth gyda mintai fechan at y castell, fel pe buasai ar fedr ymosod arno; a phan oedd y castellwyr yn parotoi i'w gyfarfod, enciliai yn ddisymwth, fel pe buasai yn ofni cyfarfod byddin gref ei elyn; a'r arglwydd Grey, yn meddwl ei fod yn ei law, a ruthrodd gyda'i wŷr ar ol y ffoedigion—y rhai, pan gyrhaeddasant y fan lle yr ymguddiai eu cymdeithion mewn arfau, a droisant fel llewod ar eu herlynwyr, gan eu gorchfygu yn rhwydd; ac yn yr helynt cymmerwyd yr arglwydd Grey yn garcharor. Ond er clod i'r gwron Cymreig, er cymmaint o gamwri a gawsai efe ar law yr arglwydd Grey, nid ymollyngodd i gyflawni arno ei deimladau dialgar, wedi ei gael i'w ddwylaw—yn unig efe a barodd ei gadw yn garcharor yn un o amddiffynfeydd yr Eryri, lle y bu dros rai misoedd. Ond o'r diwedd efe a ryddhawyd, ar yr amodau o dalu i Owain ddeng mil o farciau, y rhai oeddynt y pryd hyny yn werth 13*s.* 4*c.*—neu gyfwerth â 2*p.* 2*s.* 0*c.* yn bresenol. Heblaw hyny, rhoddid ef dan rwymau i fod yn hollol anmhleidiol o hyny allan, ac i briodi un o ferched Owain. Ac er mor annhebyg oedd y buasai yr arglwydd Grey byth yn cydsynio â'r amod olaf, cymmaint oedd ei arswyd rhag ail enyn ei ddigofaint, fel y darfu iddo briodi *Jane*, ei bedwaredd ferch, yn ddioed wedi ei ryddhad; ac nid oes genym air o son iddo ddwyn arfau yn erbyn Owain byth mwyach: ac am yr iawn, dywedir fod y rhan fwyaf o hono wedi dyfod o drysor y brenin.

Wedi i Glyndwr gael y fath fuddugoliaeth ar ei brif elyn, efe a drodd ei arfau i ddial ar rai o'i brif gydwladwyr a barhaent i'w wrthwynebu yn ei ymdrechion dros annibyniaeth ei genedl, gan gefnogi Harri frenin, yr hwn a gyfrifai efe yn ormesdeyrn annghyfiawn. Un o'r cyfryw ydoedd *Ieuan ab Meredydd*, arglwydd Cefn y Fan, a'r Gesail Gyfarch, yn Eifionydd; ac yr oedd y boneddwr hwnw yn gefnogwr trwyadl i'r brenin, tra yr oedd ei frawd *Robert* yn swyddog yn myddin Owain. Anrheithiodd Owain ei feddiannau, a llosgodd ei balasau hyd lawr; ac yntau ar hyny a ffodd i Gaerynarfon—canys iddo ef, yn nghyda *Meredydd ab Hwlcyn Llwyd* o'r Glynllifon, yr ymddiriedasid cadwraeth y dref hono dros y brenin; ac yr oedd yno warchodlu Seisnig yn cadw y castell. Tywysodd Owain ei fyddin i Gaerynarfon, ac a warchaeodd arni dros enyd o amser; ac yn yr yspaid hyny bu farw Ieuan, a chludwyd ei gorph yn ddirgel ar hyd y môr, i'w gladdu yn Mhenmorfa, yr ochr arall i'r wlad. Gan fod Owain yn gweled nad gorchwyl hawdd oedd cymmeryd Caerynarfon, am na feddai beiriannau cyfaddas i ddryllio ei muriau cedyrn, efe a gododd y gwarchae, ac a anrheithiodd amryw o brif grefydd-dai Gwynedd—megys, eglwysi cadeiriol Bangor a Llanelwy, a'r adeiladau perthynol iddynt, y rhai a ddymchwelwyd ganddo yn gydwastad â'r llawr. Mae yn ymddangos mai Saeson a benodasid i'r esgobaethau hyn er y goresgyniad; ac o ganlyniad, i estroniaid—caredigion a chyfeillion y cyfryw esgobion Seisnig—y rhoddid

y bywiolaethau mwyaf gwerthfawr yn y rhan yma o'r dywysogaeth, yr hyn a barasai anfoddlonrwydd cyffredinol i'r brodorion; a'r cyfryw estroniaid oeddynt yn fradwrus i Owain a'i achos: yr hyn all fod yn un rheswm am arllwysiad dialedd Owain arnynt. Ond heblaw hyny, efallai fod ganddo "ddant" neillduol at *Trefor*, esgob Llanelwy—yr hwn, ar ei ddyrchafiad i'r esgobaeth, a gymmerasai arno fod yn gyfaill ffyddlawn i Risiart frenin; ond ar drawsfeddianniad Harri o'r orsedd, nid yn unig cefnasai yn ddiddiolch ar ei gymmwynaswr blaenorol, ond ymroddasai i gefnogi Harri mor aiddgar, fel y cyhoeddai y ddedfryd o ddiorseddiad ar Risiart, ac y cydsyniai i fyned ar genadwri i lys yr Hispaen, er cyfiawnhau ymddygiadau y trawsfeddiannwr. Ond o fewn corph y flwyddyn yn yr hon y dychwelodd efe o'r Hispaen, llosgid ei eglwys a'i lys esgobawl gan Owain; ac yntau—byth am gefnogi y blaid lwyddiannus—wrth ganfod rhwysg a llwyddiant y gwron Cymreig, a gefnodd ar Harri, ac a bleidiodd Owain; am yr hyn y darfu i'r brenin ei fwrw o'r esgobaeth. Ond y mae yn debyg fod dylanwad tywysog Glyndyfrdwy yn ddigonol i sicrhau cyllidau yr esgobaeth iddo hyd ei farwolaeth, yr hyn a gymmerth le yn Mharis, yn y flwyddyn 1410: felly ymddengys ddarfod i'r esgob fod yn ffyddlawn i Owain dros yr wyth mlynedd olaf o'i einioes.* Y mae awdwyr ereill yn haeru, ddarfod i Harri—oddiar ystyriaeth fod cynddaredd Owain yn erbyn Trefor yn cael ei achosi gan ffyddlondeb yr esgob i'w fawrhydi—erchi iddo gael dal bywioliaethau Meifod, y Trallwm, a Chegidfa, er cynnal ei urddas dros yspaid anrheithiad ei esgobaeth.†

Mae yn debyg mai tua'r adeg yma y darfu i Owain roddi y gospedigaeth ofnadwy hono ar ei gâr—*Hywel Sele*, o Nannau—am ei fod yn elyn gwleidyddol iddo, o'r hyn y mae traddodiad byw hyd heddyw yn amgylchoedd Dolgelleu.—Dywedir fod abad y Cymmer, monachlog gyfagos i anedd Hywel Sele, yn awyddus i gael gan Owain ac yntau ymheddychu, wedi dyfeisio rhyw lwybr i'w cael i gyfarfod â'u gilydd; ac ymddangosai tebygolrwydd mawr fod ei amcan ar gael ei gwblhau. Ond fel yr oedd y ddau gefnderwydd yn cydrodio yn mharc Nannau, a Hywel, yr hwn a gyfrifid yn un o saethyddion goreu yr oes, yn dwyn ei fwa ar ei fraich—Owain yn canfod hydd yn pori, a gyfeiriai ati fel nod rhagorol i'w saeth. Hywel ar hyny a dynai yn ei fwa; ond yn fradwrus, troai yn ddisymwth, a gollyngai ei saeth yn gymhwys at fynwes Owain; ond yn ffodus, yr oedd ein gwron yn arfer gwisgo arfwisg ddur dan ei ddillad, trwy yr hyn y siomwyd y bradwr yn ei amcan; a chanlynwyr y tywysog Cymreig, y rhai oeddynt dystion o ymddygiad ysgeler Hywel, a'i daliasant, ac a'i dygasant ymaith; a meddylir eu bod, drwy orchymyn Owain, wedi ei fwrw i geubren oedd yn y parc, lle y'i gadawsant i drengu; ac yn mha le, meddir, y caed ei esgyrn-glwm yn mhen tua deugain mlynedd wedi hyny.

Ereill a ddywedant, mai cyfarfod â'u gilydd yn ddamweiniol a wnaethant, fel yr oedd Owain yn hela yn nhiriogaethau Hywel; i'r ddau fyned i ymdaeru, ac o hyny i ymladd â'u gilydd; i Hywel gwympo yn yr ymladdfa, ac i'w gorph marw gael ei fwrw i'r ceubren.—Yn mhen tua deugain mlynedd ar ol hyny, cyfaill i Owain Glyndwr, yr hwn oedd yn y fan pan gymmerai hyn le, a anfonodd hysbysiad o'r peth i rai o berthynasau Hywel, ac felly y caed ei esgyrn-glwm ef yn y ceubren; a hyd hyny nis gwyddai neb o deulu arglwydd Nannau pa beth a ddaethai o hono. Yr hen dderwen hynod hono a fu yn sefyll yn mharc Nannau dros oesoedd lawer ar ol hyny, ac adwaenid hi wrth yr enw "Ceubren yr Ellyll;" ond

* Gwel "Parry's Cambrian Plutarch," p. 250.

† "Memoirs of Owen Glendower, by the Rev. T. Thomas," p. 90.

ar nos y 13eg o Orphenhaf, 1813, pan oedd yr hin yn desog a thawel, hi a gwympodd gan ei phwysau ei hun.

Pan fynegwyd i'r brenin am yr anrheithiau parhaus hyn o du Owain, efe a benderfynodd wneyd un ymdrech eto i'w lethu; ac i'r dyben hyny, ar y pummed o Fehefin, efe a anfonodd wŷs at raglawiaid deuddeg ar hugain o swyddi, i erchi arnynt grynhoi eu lluoedd milwraidd yn nghyd, a chyfarfod âg ef yn Litchfield, ar y 7fed o Orphenhaf, er gwneyd pen ar y gwrthryfel. Ond tra yr oedd y brenin yn cynnull ei fyddinoedd, dygid y newydd cythryblus iddo fod gwron Glyndyfrdwy wedi enill buddugoliaeth bwysig ar un o'i brif faeslywyddion—*Syr Edmund Mortimer*—wedi brwydr galed a gwaedlyd, yn agos i Knighton, yn swydd Faesyfed; yn yr hon frwydr y collasai Mortimer un cant ar ddeg o wŷr, y rhan fwyaf o honynt yn lladdedigion ar y maes; ac yn y frwydr, cyfarfuasai Glyndwr yn bersonol â Mortimer, ac wedi ei ddifarchu, efe a'i cymmerasai yn garcharor: enillwyd y fuddugoliaeth ysplenydd hon ar yr 22ain o Fehefin. Ar ol y llwyddiant yma, aeth Owain rhagddo trwy y Deheubarth, gan dywallt ei lid ar y Saeson a wladychent yn y parthau hyny, cyn y gallent uno eu lluoedd â'r eiddo y brenin, yn gystal ag ar y Cymry anwladgar, y rhai a gefnogent estroniaid yn hytrach na'u cenedl eu hunain, ar y fath gyfnod. Yn y cadgyrchiad yma, efe a anrheithiodd gastell yr esgob yn Llandaf, ac a losgodd Gaerdydd a'i mynachlogydd, dinystriai gastell Penmarc, a llosgodd y Fenni a'i chastell, Crughywel a'i chastell, a Thre'r tŵr; ac yna prysurodd i Wynedd, er amddiffyn y wlad hono rhag goresgyniad y brenin, gan yr hwn yr oedd tair byddin gref i'r pwrpas—un yn gwersyllu yn Henffordd, y llall yn y Mwythig, a'r drydedd yn Nghaerlleon ar Ddyfrdwy, er mwyn blino y Cymry o gynnifer o bwyntiau ar unwaith. Ond ein gwron a barotodd groesawiad cynnes iddynt, gan ysgubo y wlad o'u blaen o bob defnydd cynnaliaeth iddynt, ac encilio gyda'i ychydig wŷr i'w lochesau mynyddig: a'r canlyniad naturiol oedd i newyn, haint, ac anfoddlonrwydd, ddylenwi rhengau y fyddin Seisnig; a'r hin, gan droi yn dra gwlybyrawg a thymhestlawg, a orphenodd eu haflwydd, fel y bu raid i Harri encilio yn warthus y tro hwn eto, wedi methu cwblhau dim o'i amcanion: a'i ganlynwyr anffodus a ymgysurent, trwy briodoli eu haflwydd i ddewiniaeth y gelyn, yn hytrach nag i'w fedr a'i ddewrder. Ac at y dyb gyfeiliornus yma y cyfeiriai Bardd *Avon*, yn y llinellau hyny a ddyry efe yn ngenau Owain:—

> "Where is he living, clipp'd in with the sea,
> That chides the banks of England, Scotland, Wales,
> Who calls me pupil, or hath read to me?
> And bring him out, that is but woman's son,
> Can trace me in the tedious ways of art,
> And hold me pace in deep experiment?
> I can call spirits from the vasty deep."

Ac y mae yn dra thebyg mai at yr enciliad yma o eiddo Harri y cyfeiriai efe yn y llinellau canlynol drachefn:—

> "Three times did Henry Bolingbroke make head
> Against the Welch; thrice from the banks of Wye,
> And sandy-bottom'd Severn, did they send
> Him bootless back, and weather-beaten home."

Yn fuan ar ol hyn, ymgynghreiriai ieirll Northumberland a Douglas yn erbyn y brenin; a chan eu bod yn barnu y buasai yn dra manteisiol iddynt gael y gwron Cymreig i'r cynghrair, mab iarll Northumberland—sef *Henry Percy*, yr hwn a gyfenwid "*Hotspur*"—a wnaeth y cynnygion i Owain, â'r

hyn y cydsyniodd yntau yn galonawg: ac prawf o'i ddiffuantrwydd, efe a ryddhai Mortimer heb na gwerth na gwobrwy, yn ddiamodol. Er cadarnhau y cynghrair yma, yn gystal a chynllunio eu gweithrediadau rhagllaw, cyfarfu *Percy* ieuanc, *Owain*, ac *Edmund Mortimer* yn nhy deon Bangor;* ac ar yr achlysur hwnw, penderfynid rhanu y deyrnas, o'r tu deheuol i'r afon Tweed, rhwng y triwyriad: Syr Edmwnt Mortimer—ar ran ei nai, yr *Iarll March*, yr hwn oedd o dylwyth etifeddion coron Lloegr, ac felly a ystyrid yn meddu yr hawl uchaf—oedd i gael yr holl wlad rhwng Trent a Hafren, hyd derfynau deheuol a dwyreiniol yr ynys; iarll Northumberland oedd i gael y rhan o'r ynys a orweddai ar y tu gogleddol i'r Trent; ac arglwydd Glyndyfrdwy oedd i gael yr holl diriogaeth ar y tu gorllewinol i'r Hafren, yn ychwanegol at dywysogaeth Cymru, yr hon a hawliai fel ei dreftadaeth.

Gorchwyl cyntaf ein gwron, yn y canlyniad i ffurfiad y cynghrair hwn, ydoedd ceisio cydsyniad ei gydwladwyr i'w waith yn cymmeryd arno ei hun awdurdod freninol yn y dywysogaeth; ac i'r perwyl hyny, gwysiodd gymmanfa genedlaethol i ymgyfarfod yn Machynlleth; lle y gwnaed cydnabyddiaeth ffurfiol o'i deitl fel tywysog Cymru, a chyflawnwyd hyd yn nod y ddefod o'i goroni; ac ymddangosai yr undeb mwyaf diffuant yn y gwyddfodolion i gydnabod ei hawlion. Ond yr oedd yn eu mysg un bradwr—sef, *Syr Dafydd Gam*—yr hwn, dan y rhith o gymmeradwyo yr amcan cyffredinol, a ddaethai i Fachynlleth ar y gwir fwriad o lofruddio Owain, ac felly gwblhau amcanion Harri, i'r hwn yr oedd yn bleidiwr gwresog; ac efallai ddial sarhad a gawsai efe ei hunan, neu ei geraint, yn rhai o gadgyrchiadau blaenorol y tywysog i froydd Maesyfed a Henffordd. Ond ei fwriad ysgeler a ddarganfyddwyd pan oedd ar gael ei roddi mewn gweithrediad; daliwyd y bradwr—ac efe a roisid i farwolaeth yn y fan, oni buasai i rai o gyfeillion mynwesol y tywysog eiriol drosto; ond efe a garcharwyd yn ddyogel yn naiardy Glyndyfrdwy dros ddeng mlynedd—sef, hyd derfyn rhwysg Owain. Dywedir fod ei garchar yn 13 troedfedd ysgwar, a 10½ troedfedd o uchder. Mae ei adfeilion yn agos i eglwys Llansantffraid Glyndyfrdwy; ac fe'i gelwir hyd heddyw "Carchardy Owen Glyndwrdwy."

Tua'r adeg yma ar oes ein gwron y cyfansoddai ei brif fardd, Iolo Goch ei "Gywydd Molawd" iddo, lle y dywaid—

"Pablaidd gorph, pobloedd a gur,
Post addwyn, hael, pais dewddur;
Por a ladd mewn ymladdgors
Pedwar can' mil o hil Hors.
Pen neu pur, mur mawr waladr,
Por glew, llew llym, cyflym cadr;
Prudd Nudd Ner yw'r Muner mau;
Por dor dar yw'r gwanar gwinau;
Pleidiwr brwydr, paladr briwdwn:—
Poed gwir bywyd hir i hwn;
Pedr i'w borth, pa dir y bo;
Pwy mwy i swydd? pum' oes iddo!"

Mae yn sicr fod Owain a'i ganlynwyr yn golygu eu hachos yn dra gobeithiol yn awr; ac yn dysgwyl, trwy gydweithrediad *Hotspur* a *Mor-*

* Y deon hwn oedd Dafydd Daron, o Aberdaron—mab i Efan ab Dafydd ab Gruffudd, o hiliogaeth Caradawg ab Iestyn, tywysog Cymru; ac yn Aberdaron y bu y cyfarfod pwysig uchod. Yr oedd y lle hwn yn dra neillduedig, dyogel, a manteisiol i gynnal y cyfryw gynghorfa.—*Mem. of Owain Glyndwr, pp.* 106, 107.

*timer*, y buasai terfyn buan yn cael ei roddi ar rwysg a breniniaeth Harri, ac annibyniaeth y Cymry yn cael ei sicrhau dan eu tywysog. Ond yr oedd haner dydd Owain wedi pasio yn senedd Machynlleth, a dysgwyliadau gloywaf ei ganlynwyr a siomwyd yn mrwydr drychinebus y Mwythig, am yr hon y rhoddaf adroddiad byr yn nesaf.

Yn y canlyniad i'r cynghrair crybwylledig, yr hwn a ffurfiwyd yn Aberdaron, cynnullai *Percy* a *Douglas* eu galluoedd, a chyfeirient eu camrau tua chyffiniau Cymru, a byddin o tua deuddeng mil o wŷr dan eu llywyddiad. Harri frenin a brysurodd i wrthladd y gwrthryfelwyr gogleddol hyn â byddin gref iawn, ac a gyrhaeddodd Burton ar y Trent erbyn yr 16eg o Fehefin; ond pan ddeallodd fod *Percy* wedi myned rhagddo o'r Mwythig, er mwyn ymuno â byddin Owain Glyndwr—yr hwn, gyda phymtheng mil o wŷr, a wersyllai gerllaw Croesoswallt—efe a brysurodd, yn ol cynghor iarll Dunbar, tuag yno, fel y gallai orfodi *Percy* i ymladd cyn ymuno â'r fyddin Gymreig; a thrwy gyflymdra ei symudiad y tro hwn yn unig y cadwodd efe ei goron—canys efe a feddiannodd y wlad rhwng y Mwythig a Chroesoswallt cyn bod dim mwy na rhyw bedair mil o wŷr Owain wedi gallu ymunaw â byddin *Percy*, y rhai a ymladdasant â gwrhydri teilwng ddydd y frwydr—sef yr 21ain o Fehefin. Gan fod gwŷr y brenin yn meddiannu y bont, ni allasai Owain yn ei fyw ddyfod gyda'i wŷr i gynnorthwyo *Percy* yn y frwydr; ac y mae hen geubren derwen gerllaw y ffordd o'r Mwythig i Groesoswallt, am yr hon y mae traddodiad fod Owain o'i ben yn gweled y frwydr bron ar hyd y dydd, ac felly yn dyst o faeddiad ei gyfeillion, a siomiant ei obeithion, heb allu gwneyd dim er lluddias y naill na'r llall.

Dywedir fod tua dwy fil a thri chant o bendefigion ac uchelwyr wedi eu lladd yn y gad hon—y rhan fwyaf o honynt o fyddin y brenin; ac oddeutu chwe' mil o filwyr cyffredin—dwy ran o dair o ba rai oeddynt o fyddin *Percy*. Lladdwyd *Percy* ei hunan, a *Syr Jenkin Hanmer*, brawd yn nghyfraith Owain, yr hwn oedd swyddog ar y Cymry; a'r ieirll *Worcester* a *Douglas* a gymmerwyd yn garcharorion; y cyntaf a ddihenyddiwyd yn y Mwythig—ond ar eiriolaeth mab y brenin, tywysog Cymru, ymddygwyd yn dynerach at *Douglas*.

Pe buasai Owain wedi gwneuthur rhuthr ar fyddin y brenin, yn ei lludded ar derfyn y frwydr hon, gallasai ei llwyr orchfygu; a gallasai—yn nghyda'r rhai a ddiangasant o wŷr *Percy* ac iarll Northumberland, yr hwn oedd yn cynnull byddin i'w cynnorthwyo—effeithio y chwyldroad a fwriadent yn y deyrnas hon; ond gan iddo encilio, a throi at ei hen orchwyl o anrheithio tiriogaethau, ac yspeilio meddiannau arglwyddi y cyffindiroedd, collodd yr arfod oreu a ymgynnygiodd iddo yn ei oes.

Yn nechreu y flwyddyn 1404, cawn fod cynghrair ymosodol a diffynol yn cael ei ffurfio rhwng Owain a brenin Ffrainc, yr hwn ni chydnabuasai eto gyfiawnder hawl Harri i goron Lloegr. Y cynghrair crybwylledig a gadarnhawyd ac a law-nodwyd yn Mharis, ar y 14eg o Fehefin, 1404; ac a gymmeradwywyd gan Owain yn nghastell Llanbadarn, gerllaw Aberystwyth, Ion. 12, 1405. Cenhadon Owain i lys Ffrainc ar yr achlysur yma, ydoedd *Gruffudd Yonge, LL.D.*, a *Syr John Hanmer*, ei frawd yn nghyfraith. Yn y cyfamser, ymosodai Owain yn egniol ar y cestyll perthynol i'r Saeson oeddynt yn aros eto yn Nghymru; ac efe a gymmerth amryw o honynt, gan ddystrywio rhai, a gosod gwarchodwyr yn y lleill; yn mysg y rhai cryfaf o honynt y cyfrifid cestyll Aberystwyth a Harlech.

Ar un achlysur, yn fuan wedi i'n gwron gymmeryd y cestyll hyn, fel yr oedd efe yn cyrchu tua swydd Drefaldwyn, efe a gyfarfu—yn annysgwyliadwy, debygid—â byddin gref o Saeson, dan dywysiad iarll Warwic, ar

fynydd Cwm du, y rhai yn ddisymwth a ymosodasant arno, a laddasant lawer o'i wŷr, ac a'i gorfodasant yntau i encilio; ond yn fuan ar ol hyny, efe a dalodd y pwyth iddynt; canys efe a adgynnullodd ei wŷr, ac a ymlidiodd ar ol y fyddin freninol, yr hon a oddiweddodd gerllaw Craig y Dorth, yn agos i Fynwy, ac yno efe a roes gurfa dost iddynt, gan eu hymlid hyd byrth Mynwy, a phob tref a chastell arall i'r rhai y ffoisant. Yn fuan ar ol y fuddugoliaeth uchod ger Craig y Dorth, cyfarfu ein gwron âg aflwydd; canys fel yr oedd mintai o'i bleidwyr, hyd wyth mil o nifer, y rhai a gynnullasid yn y Deheubarth, yn ol arfer yr oes, yn anrheithio ac yn llosgi y trefydd a'r amddiffynfeydd y ffordd yr elent—cyfarfuwyd hwy gan fyddin Seisnig, dan lywyddiad *Syr Gilbert Talbot*, ac a lwyr orchfygwyd, gan adael o honynt *fil o wŷr* yn lladdedig ar y maes. Gwnaeth Owain ei oreu i adgyweirio y rhwyg yma, gan anfon ei fab *Gruffudd* gyda byddin o wŷr i chwilio am y gelyn, yr hwn a ymladdodd frwydr arall â'r Saeson, ar fynydd y Pwll Melyn, yn swydd Frycheiniog; ond bu hon mor anffodus i'r Cymry a'r un flaenorol—yn gymmaint ag i bymtheg cant o'i wŷr naill ai cael eu lladd neu eu carcharu: yn mysg y carcharorion yr oedd ei fab *Gruffudd*, a'i frawd *Tudur* yn mysg y lladdedigion. Yr oedd y fath debygrwydd yn yr olaf hwn i'w frawd Owain, fel yr ymorfoleddai y Saeson yn ddirfawr, gan feddwl mai Owain ydoedd, a chyhoeddent bod yr arch-wrthryfelwr Cymreig wedi ei ladd; ond erbyn sylwi ar y corph yn fanylach, gwelid mai yr eiddo Tudur, ac nid Owain ydoedd, gan nad oedd yr un ddafad uwchben ei lygad ef, yr hon a wahaniaethai Owain oddiwrth ei frawd. Nid yw yn annhebyg bod brwydr arall wedi ei hymladd gerllaw Caerlleon ar Wysg, yn fuan ar ol yr un flaenorol, yn yr hon y llywyddid y fyddin Seisnig gan y tywysog Harri, ac y gorchfygwyd Owain drachefn. Yr aflwyddau olynol yma, a thaeniad y chwedl fod Owain ei hunan wedi ei ladd, a barodd i'w brif gefnogwyr ymwasgaru bawb i'w fan, gan ddiarddelwi lluman y gwrthryfel can gynted ag y gallent, rhag disgyn o honynt dan ddialedd y brenin; a bu y tymhor hwn yn gyfnod o ddyoddef cyfyngderau a chaledi dirfawr i Owain ei hunan, yr hwn a orfyddai grwydro o fan i fan, i ymofyn nawdd gyda'r ychydig gyfeillion ffyddlawn a ymlynent wrtho eto; a rhag tynu drwg yn mhen y rhai hyny a'i coleddent ac a'i celent, efe a geisiai loches yn aml mewn ogofeydd a diffeithfaoedd. Bu dros beth amser yn llechu mewn rhyw geunant ddofn, ar ochr Moel Hebog, gerllaw Beddgelert; ac y mae ogof yn agos i lan y mor, yn mhlwyf Llangelynin, swydd Feirion, a elwir "Ogof Owain" hyd heddyw, lle y'i cynnelid yn ddirgelaidd gan *Ednyfed ab Aaron*, boneddwr o'r gymmydogaeth hono, o wehelyth Ednowain ab Bradwen.—Pa hyd y bu fel hyn, nis gwyddom i fanylrwydd; ond gallem gasglu na fu yn faith iawn—canys cyn diwedd yr un flwyddyn, glaniodd 140 o lestri o Ffrainc, yn dwyn deuddeng mil o arfogion yn gynnorthwy iddo, yn angorfa Aberdaugleddau; ac Owain a lwyddodd i gynnull tua deng mil o wŷr, y rhai a arweiniodd efe mor fuan ag y gallai i ymunaw â hwy, ac yn Ninbych y Pysg, yn swydd Benfro, y cyfarfuant; a'r man cyntaf a gymmerwyd ganddynt oedd tref Caerfyrddin; ac oddiyno cyfeiriasant i *Worcester*, a llosgasant ran fawr o'r dref, gan anrheithio y wlad oddiamgylch. Ond yn fuan daeth y brenin Harri a'i fyddin i'w herbyn; ac yn lled agos i *Worcester* bu y ddwy fyddin yn gwersyllu ar gyfer eu gilydd dros rai dyddiau, heb fod y naill mwy na'r llall yn barod i wneyd yr ymosodiad cyntaf; ac eto y mae yn ymddangos fod y Cymry wedi llwyddo i gymmeryd amryw gludfeni llwythog o ymborth i'r fyddin freninol, a bod y Saeson wedi lladd oddeutu dau cant o'r Ffrancod mewn rhyw ysgarmesau—yn mysg pa rai yr oedd rhai o'r prif bendefigion. Pa fodd bynag, fel y gwesgid ar y

fyddin freninol gan brinder ymborth, gwelai y brenin mai goreu oedd oddi ef encilio; a'r Cymry hwythau a ddychwelasant i'w gwlad, lle y'u dylynwyd yn fuan gan y Ffrancod.

Ymddengys fod y Ffrancod wedi blino ar Gymru yn fuan, a dychwelyd i'w gwlad eu hunain, heb wneyd nemawr wasanaeth i'n gwron. Hwy a hwyliasant i Ffrainc yn ngwanwyn y flwyddyn 1406; ond daeth cyfnerthiad arall yn eu lle yn fuan—sef y gweddill o fyddin led gref a adawsai lenydd Ffrainc, mewn 38 o longau—wyth o ba rai, yn llwythog o arfogion, a gymmerasid gan lynges Lloegr; a'r gweddill a ddiangasant yn yr annhrefn mwyaf, a rhai o honynt a gyrhaeddasant Gymru: ond ni allasent fod o gymhorth mawr i Owain, gan fod llawer o'i gefnogwyr yn Nghymru yn cefnu arno bellach, gan farnu ei achos yn anobeithiol. Ac yr oedd gwrthryfeliad gwŷr Ystrad Tywi, yn swydd Gaerfyrddin, yn ei erbyn, y rhai a fuasent yn gefnogwyr tra gwerthfawr iddo o'r blaen, yn ddyrnod andwyol ar ei achos ef.

Ryw bryd yn y flwyddyn hon y darfu i *iarll Northumberland* ac *arglwydd Bardolff*, y rhai oeddynt alltudion yn yr Alban—wedi cael achos i ofni fod yr Albaniaid ar fedr eu bradychu i'r brenin—encilio i Gymru, lle yr hyderent y'u dyogelid yn ffyddlonach dan aden eu hen gyfaill Owain, yr hwn yn wir a'u derbyniodd yn groesawus; ond yn nghorff y flwyddyn ganlynol gwelsant hwythau fod achos eu noddwr yn myned yn fwyfwy anobeithiol, ac am hyny barnasant yn ddoeth iddynt ymofyn am nodded newydd mewn rhyw wlad arall.

Y blyneddoedd canlynol o oes ein gwron a dreulid ganddo mewn rhuthriadau achlysurol ar drefydd ac amddiffynfeydd arglwyddi Seisnig y cyffindiroedd, meddiannau y rhai a yspeiliai efe yn ddiarbed, gan eu dwyn i'w lochesau mynyddig, lle yr oedd ef a'i ganlynwyr yn gallu ymgadw yn ddyogel o ddwylaw ei elynion, er ei fod yn rhy egwan i ymgymmeryd âg un rhyfelgyrch o bwys. Er hyny, y mae yn ymddangos fod ein gwron yn parhau i arhoni rhwysg ac awdurdod dywysogaidd; canys nyni a'i cawn yn pardynu rhai o'i gydwladwyr tua'r pryd hwn—yn enwedig gŵr o'r enw *John ab Hywel ab Ieuan Goch*, yr hwn a ddyddiasid yn "Cefn Llanvair, Ion. 10fed, yn y chweched flwyddyn o'm teyrnasiad." Ac ar y cŵyr â'r hwn y seliasid y weithred yr oedd bathiad o Owain Glyndwr, yn dal teyrnwialen yn un law, a chronen (*globe*) yn y llall. Ond nid oedd hynyna amgen nag ymdrech i gadw y cysgod wedi i'r sylwedd ddiflanu: yr oedd ei fawredd a'i rwysg wedi ei adael, ac nis meddai ond nifer fach o ganlynwyr—y rhai, fel yntau, ni phlygent i gydnabod awdurdod y Saeson, ac a ymhyfrydent mewn gwneuthur rhuthriadau annysgwyliadwy o'u llochesau mynyddig ar gefnogwyr ffyddlonaf y brenin Harri, ac yna encilio yn ol mor gyflym ag y gallent i'w hamddiffynfeydd, a'u hysbail ganddynt. Y cadruthrau hyn a wnelid gan amlaf yn erbyn arglwyddi y cyffindiroedd, i'r rhai yr oedd ei enw yn ddychryn; ac amryw o honynt a ddarbwyllid i ymheddychu âg ef, er mwyn cael mwy o ddyogelwch i'w personau a'u meddiannau; ac nid oedd hyn yn annymunol gan Owain, oblegyd ei fod trwy hyny yn cael gwell arfod i flino y lleill; a dechreuid y flwyddyn 1409 gydag anrheithiadau ofnadwy o'i du ef ar arglwyddi y cyffindiroedd, ac yn mysg ereill gwnaeth golledion mawr i *arglwydd Powys*, yr hwn oedd yn un o anwyliaid y brenin; ac ar hyny Harri a archai i arglwydd Powys osod gwarchodluoedd cryfion yn ei holl gestyll, a chadw ei holl wŷr dan arfau, gan wneyd pob ymdrech i lwyr lethu y gwrthryfel yn Nghymru, ac anfonodd genadwriaethau i'r un perwyl at y lleill o arglwyddi y cyffindiroedd—megys *Edward*, dug Caerefrog; *Thomas*, iarll Arundel; *Richard*, iarll Warwick; *Rheinallt*, arglwydd Grey o Ruthin, yr hwn a fuasent yn

achlysur o ddechreu y rhyfel, ac amryw ereill—gan eu gwahardd i ymheddychu âg Owain ar un cyfrif. Ac y mae yn debyg i hyn gael rhyw gymmaint o effaith ar Owain, canys ni chanfyddwn ei fod yn gwneyd rhuthriadau mor eofn ar feddiannau ei gymmydogion mwyach; ond cyfyngai ei weithrediadau milwraidd gan mwyaf i hunanddiffyniad.

Yn ystod y cadgyrchiadau yspeilgar a grybwyllwyd, deallwn i ddau o swyddogion goreu Owain—y rhai a anrheithient ranau helaeth o swydd y Mwythig—gael eu dal trwy fywiogrwydd barwniaid y brenin, a'u hanfon yn garcharorion i Lundain, lle y'u rhoddwyd i farwolaeth. Enwau y ddau swyddog hyn oedd *Rhys Ddu* a *Phylip Scudamore;* a dywaid *Cacston* fod Rhys wedi ei ddwyn o flaen y barnwyr, y rhai a'i dyfarnent fel bradwr i gael ei lusgo ar glwyden drwy y ddinas, i Tyburn, lle y'i dihenyddid; ac yna bod ei bedwar aelod i gael eu hanfon i bedair o ddinasoedd ereill, a'i ben gael ei gyfleu ar bont Lundain.

Cawn hefyd enwau amryw Gymry ereill, y rhai oeddynt yn garcharorion yn nghastell Windsor, gwŷr pendefigaidd yn ddiau, pe amgen ni chawsent eu carcharu yn y castell dywededig, y rhai y gorchymynai y brenin iddynt gael eu trosglwyddo i Syr William Lisle, pen distain Lloegr, i'w dihenyddio; dyma eu henwau—

| | |
|---|---|
| Hywel ab Ieuan ab Hywel. | Rhys ab Meredydd. |
| Walter ab Ieuan Fychan. | Dafydd ab Cad. |
| Rhys ab Ieuan ab Rhys. | Madog ab Bery. |
| Ieuan Goch ab Morgan. | Jenkin Backer. |
| Dafydd ab Tudur. | Thomas Dayler. |

Nid yw yn ymddangos i nemawr amgylchiadau o bwys gymmeryd lle yn nghorph y flwyddyn 1410. Yr oedd swydd Fflint, gallem feddwl, yn dra rhanedig yn ystod yr ymrafaelion hyn; a chawn Harri, tywysog Cymru, yn caniatau maddeuant i amryw dirddeiliaid yn nghwmwd Cwnsyllt, am ymrestru o honynt dan luman y gwrthryfelwr. Un o'r enw *Owain ab Aldud*, a wrthladdai y Saeson ar y cyffiniau hyn yn dra effeithiol, gan gadw holl Degeingl dan ei lywodraeth dros oddeutu tair blynedd, sef hyd oni chafodd faddeuant am ei ymlyniad wrth Owain. *Hywel Gwynedd*, yr hwn a ddisgynai o Edwin, arglwydd Tegeingl, ac un o bymtheg llwyth Gwynedd, a fu dros yspaid maith yn ddraen yn ystlysau y Saeson yn swydd Fflint. Y milwr glew yma a ddaliwyd, trwy gynllwyn ei elynion o dref Fflint; ac heb unrhyw brawf cyfreithiol, torwyd ei ben ar Foel y Gaer, yn mhlwyf Llaneurgain, a rhoed ei etifeddiaeth i un o'r enw *Saxton.* Mae y fan lle gorweddai llys Edwin, o fewn tua milltir i'r gogleddorllewin o'r eglwys, yn gylchynedig gan amglawdd (*moat.*) Yn y flwyddyn hon hefyd y darfu i Trefor, esgob Llanelwy, wrth weled achos Owain yn myned yn anobeithiol, encilio i Paris, lle y bu farw, ac y'i claddwyd.

Yn y flwyddyn 1412, cawn fod y brenin yn awdurdodi rhai o'i brif swyddogion—sef, *Syr John Tiptofte*, a *William Botiller*—i geisio dyfod i ryw gytundeb âg Owain, am ryddhad Syr Dafydd Gam; neu yntau ymdrechu i ddal rhai o hoff gyfeillion Owain, fel y gallent eu cyfnewid am y bradwr; ac y mae yn ymddangos ddarfod iddynt lwyddo yn eu cais, a bod Dafydd wedi ei ryddhau, ar yr amod nas dygai arfau mwy yn erbyn Owain, ac nas gwnelai ddim er gwrthladd ei amcanion. Ond er iddo ymrwymo i hyn oll yn ddifrifol, can gynted ag y cyrhaeddodd allan o gylch awdurdod Owain, efe a ymosododd ar ei bleidwyr, ac amlygai fwriadau Owain i'r brenin, can belled ag yr oeddynt yn wybyddus iddo. Ac Owain, yn gosb am ei fradwriaeth, a losgodd ei dŷ ef yn gydwastad â'r llawr. Gweithred nesaf Dafydd oedd yn un dra gwaradwyddus; canys mewn ymrafael ar yr heol yn Aberhonddu, efe a laddodd ei gâr, *Rhisiart Fawr,*

arglwydd Slwch; ac yn y canlyniad, bu raid iddo ffoi o'r wlad. Yn y flwyddyn 1415, efe a gyfododd fintai o wŷr yn swydd Frecheiniog, y rhai a arweiniodd efe yn gymhorth i'r brenin yn ei gadgyrchiad i Ffrainc, ac yma efe a enillodd iddo ei hunan ddirfawr glod, ar derfyn ei einioes. Efe a anfonwyd gan y brenin i wneyd arsylwadau ar nifer y fyddin elynol, ac ar ei ddychweliad a wnaeth yr atebiad hygof hwnw—"Y mae yna ddigon o honynt i'w lladd, digon i'w cymmeryd yn garcharorion, a digon i ffoi." Yn y frwydr hono y darfu i *Dafydd*, *Roger Fychan* ei fab-yn-nghyfraith, a *Walter Llwyd* ei gar, achub bywyd y brenin, ar draul eu heinioes eu hunain; a'r brenin a'u hanrhydeddodd âg urdd marchogion, fel yr oeddynt yn trengu ar y maes. Yr oedd yn ddyn tra gwrol, o gorpholaeth cryf, gwallt coch, a llygaid croesion—am ba achos y'i gelwid *Dafydd Gam*.

Yr oedd dau garcharor enwog o Gymru wedi syrthio i ddwylaw y brenin tua'r pryd hyn—sef 1412; nid amgen na *Rhys ab Tudur*, o Benmynydd, Mon, a'i frawd. Y rhai hyn oeddynt hynafiaid *Owain ab Meredydd ab Tudur*—a elwir yn gyffredin *Owain Tudur*—o'r hwn y disgynai llinach freninol y Tuduriaid: y gwŷr uchod a ddihenyddiwyd yn Nghaerlleon ar Ddyfrdwy. Gallem feddwl mai ar ol rhyddhad Dafydd Gam y cymmerwyd y pendefigion hyn yn garcharorion, neu y buasid yn eu cynnyg hwy, a hwythau yn geraint i Owain, yn gyfnewid am y gŵr hwnw, gan fod y brenin mor awyddus am ei waredigaeth.

Yn y flwyddyn 1413, esgynodd Harri V. i orsedd Lloegr, yn lle ei dad; a thros flyneddoedd cyntaf ei deyrnasiad, nid ymddengys ei fod wedi cymmeryd nemawr sylw o helynt y Cymry; ac yn wir, ymddengys fod ei holl feddwl wedi ymlenwi gan ei gynlluniau yn erbyn Ffrainc. Yn y cyfamser, y tywysog Cymreig a arosai yn ddyogel yn ei encilfa fynyddig, heb gynnyg ar unrhyw orchestion teilwng eu cofnodi; er hyny, mae yn ymddangos fod Harri a'i gynghoriaid yn ei gyfrif yn gyfryw elyn ag yr oedd yn ddoeth iddynt arfer unrhyw foddion i'w heddychu; am hyny, yn y flwyddyn 1415, ymostyngai y brenin i anfon cenad ato—sef, *Syr Gilbert Talbot*, o Grafton, yn swydd Worcester, mab ieuengaf *John*, ail iarll y Mwythig—wedi ei gyflawn awdurdodi i wneuthur amodau heddwch âg ef, gan gynnyg maddeuant cyflawn i Owain a'i ddilynwyr, os y'i dymunent. Tybir mai ei gyfryngwr ar yr achlysur oedd *Dafydd Holpetch*, isoruchwyliwr arglwyddiaethau Bromfield ac Ial. Ond ni fynegir i ni pa beth a ddaeth o'r cynnygiad haelfrydig yma: efallai i angau derfynu y gyflafareddiaeth hon.

Terfynodd ein gwron ei obeithion a'i ofnau ar yr 20fed o Fedi, 1415, yn yr 61ain flwydd o'i oedran. Y dywediad cyffredin yw, iddo farw yn nhy un o'i ferched; ond pa un ai *Scudamore* ai *Monington* sydd ansicr. Y traddodiad yn swydd Henffordd yw, iddo farw yn nhy ei ferch o *Monington*, ac iddo gael ei gladdu yn mynwent yr eglwys hono; ond y mae ereill yn dadleu mai yn *Kentchurch* y'i claddwyd, gan fod un o'i ferched wedi priodi boneddwr o'r enw *Scudamore*, perchenog llys *Kentchurch*, lle y meddylia rhai fod ein gwron yn llechu dros yspaid o amser cyn ei farwolaeth. Dywedir am dano ei fod o ran corph yn lluniaidd, ac o ymddangosiad urddasol a mawreddog—yn feistr trwyadl ar holl goethder yr oes hono: yn ei foesweddau yn dywysogaidd ac enillgar; yn rhwydd a hyawdl ei ymadrodd; yn ddoeth mewn cynghor, a gwrol mewn rhyfel. Yr englyn canlynol a edrydd ddechreu ei wrthryfel a diwedd ei einioes:—

"Mil a phedwar cant, nid mwy,—cof ydyw,
Cyfodiad Glyndyfrdwy;
A phymtheg praff ei safwy
Bu Owain hen byw yn hwy."

Efallai bod ei enciliad yn lled ddirgelaidd, ac adeg ei farwolaeth wedi bod yn anhysbys dros beth amser i'w gyfeillion hoff yn Ngwynedd; canys y mae cywydd ar gael, a gyfansoddai ei fardd *Iolo Goch* iddo, "wedi ei fyned ar ddifancoll." Ond pan ystyriom fod Iolo yn hen iawn ar doriad allan wrthryfel Owain, y mae yn fwy tebyg mai yn y misoedd cyn i'r cyfnerth o Ffrainc ddyfod drosodd, yn 1405, pan oedd Owain yn ffoadur o ogof i ogof, y canai yr hen fardd y cywydd cwynfanus yma, yr hwn sydd fel y canlyn:—

"Y gŵr hir, ni'th gar Harri,
Adfyd daeth, a wyd fyw di?
Ac od wyd, â gwayw o dân,
Dyred, dangos dy darian!
O wlad garw aergad, eurgylch
Rhufain, dwg arfau'n dy gylch;
Dwg feddiant Pedr sant dan sel,
Drwy iawnswydd Duw a'r insel.
Dyred o wlad y dwyrain,
Darw mawr, a bwrw dyrau main.
Rhwydd y daw rheiddiau o dân
Rhagod—pawb a'th anrhegan'.
Eryr glwys, dos Ior o'r Glyn,
Iarll awchlaif, i dir Llychlyn;
Y gŵr a ddyg arwydd iach
Yn ei darian bedeirach:—
Tri llew glas fel yr asur,
Trwy wyllt dan, a'r tair rhwyll dur,
Rhown ni ar y paun diwarth,
Rhowch rwyf ar yr hwch a'r arth;
Llyna'r tair bwyill unyd,
Lle mae'r gwaith, llu mawr i gyd.
Gollwng, yn gyntaf gellych,
Saith long, a saith ganllong gwych;
Dyred, wrth ddymuniad Mon,
O'r Nordd, hyd yn Iwerddon.
Rhaid yw i ti, rho Duw Tad,
Gael *Owtils*, a'u galw atad;
Cyfod o glau Galïod glân,
Cawn glywed cyn Gwyl Ieuan;
Dyro fflam, benadur fflwch,
Draw'n Nulyn, drwy anialwch;
Gwna lynges gain o longwyr,
O Gynfyl, Gwyddyl a'i gwŷr.
Tyred, ŵr a draeturiwyd,
O Fanaw dir, f'enaid wyd.
Goreu arwydd gan Wyddyl,
Melyn a choch yn mlaen chwyl:
Urdda bensel Llewelyn,
Arddel hwy â'r ddeuliw hyn.
Galw ger bron, gwae Loegr o'i brad,
Lu Brytaen a'i lwybr atad.
Dyred i'n gwlad, dur iawn gledd,
Deyrnaswr drwy ynysedd:
Cynneu dân, cyn oed unawr,
I oror Mon, eryr mawr!
Cur gestyll, caerau gystudd,
Cwncweria wal cwn Caerludd.
Cur a lladd y wadd a'i wŷr,
Cyrn aur Mon, cur Normanwyr.
Dir yw y gwnai, d'rogan oedd,
Fyd teilwng o fateloedd.
Gwna frwydr a gwaith grwydr yn groch
A'r llew mwyn, Ior lle mynoch;
Gwaith dy law a ddaw yn ddig,
Gwŷr meirw a geir yn Merwig;
Gwna drwy'r haf, gwn droi'r rhod,
Gymynu brwydr Gwminod;
Gwna gad fel toriad deri
Fochno, a hŷn f'ych na hi:
Gwna daith yn rhyd Glyn Iaithon,
Gwŷr lawer, a maner Mon;
Gwna naw cad yn daladwy,
Yn un modd, ac na wna mwy.
Deigr Cadwaladr Fendigaid,
Dyred a dwg dir dy daid;
Dyga ran dy garenydd,
Dwg ni o'n rhwym dygn yn rhydd."

Wedi marwolaeth Owain, adnewyddwyd y cyflafareddiad rhwng *Syr Gilbert Talbot*, o du y brenin, a *Meredydd ab Owain Glyndwr*, o du y Cymry; a'r canlyniad fu heddychu Cymru a Lloegr, yn gynnar yn y flwyddyn 1416, wedi ymrysonfa waedlyd ac anmhenderfynol dros fwy na phymtheng mlynedd. Ac o'r pryd hwn allan, y mae yn ymddangos fod y penaduriaid Seisnig wedi deall mai trwy garedigrwydd a chyfiawnder yr oedd hawsaf trin y Cymry, ac nid trwy drais; ac fel yr ysgafnheid yr iau ormesol ar eu gwarau, ymwasgent hwythau yn fwy awchus mewn ffyddlondeb oddeutu lluman eu penadur; a llawer o honynt a wasanaethasant gyda dewrder dihafal yn myddinoedd breninoedd Lloegr, yn eu rhyfeloedd cartrefol a thramor.

Yn y flwyddyn 1422, bu farw *Harri y Pummed*, wedi teyrnasiad tra llwyddiannus o naw mlynedd a phum' mis, gan adael ar ei ol unig fab—

o'i frenines *Catherine*, merch Siarl V. o Ffrainc—yr hwn a'i dylynodd yn y llywodraeth, dan yr enw *Harri y Chweched.* Nid oedd y frenines hon ond ieuanc pan y'i gadewid yn weddw; ac y mae yn ymddangos ddarfod iddi syrthio mewn cariad â phendefig ieuanc o Gymro, o'r enw *Owain Tudur*, o Benmynydd, yn Mon—â'r hwn yr ymbriododd; er fod amryw o'r pendefigion Seisnig wedi ymdrechu eu goreu i gael ganddi beidio: gan ddadleu, pa ledneisrwydd bynag a berthynai i Owain Tudur ei hunan, fod ei genedl mor anolygus ac anwar, fel na buasent ond gwarth parhaus iddo ef a hithau. Ond er gwrthbrofi y cyfryw haeriadau, dyg Owain ddau o'i geraint i bresenoldeb ei mawrhydi—sef, *John ab Maredydd* a *Hywel ab Llewelyn*—y rhai oeddynt ddynion tra lluniaidd o gorpholaeth a theg o bryd, ond yn dra amddifaid o ddysgeidiaeth a dygiad i fynu; ac wedi i'r frenines eu cyfarch mewn amryw ieithoedd, heb eu bod yn alluog i ateb iddi air, hi a ddywedai eu bod y creaduriaid mud harddaf a welsai hi erioed.*

Nid oedd Harri VI. ond naw mis oed pan fu farw ei dad; ond wedi ei wneuthur yn dywysog Cymru, a chyn marw, galwasai ei dad am ei frodyr i'w wydd, a phenodasai Ddug Bedford yn rhaglaw Ffrainc, a Dug Caerloyw yn amddiffynydd Lloegr ac yn warcheidwad ei faban. Ymroddodd y Dug o Bedford i ddwyn y rhyfel yn mlaen yn Ffrainc; ond yn mhen ychydig flyneddoedd, collodd y Saeson eu hawdurdod yn y wlad hono yn dra llwyr, a hyny yn benaf trwy ddylanwad geneth dlawd a fuasai yn gwasanaethu mewn gwestdy, ac a gyfenwid *Joan o Arc*, yr hon a ffugiai ei bod yn derbyn cenadwriaethau o'r nef, a'i bod yn ordeiniedig gan y Goruchaf i waredu ei gwlad oddiwrth drais estroniaid. Hyn a gynhyrfodd y Ffrancod i ymuno, ac ymwroli yn erbyn y Saeson, nes adenill y wlad oddiarnynt bron yn llwyr. Yn y cyfamser, yr oedd y brenin ieuanc yn dra aflwyddiannus gartref, ac anfoddlonrwydd a thuedd i wrthryfela yn ffynu drwy yr holl wlad. A chan fod ei daid, Harri IV., fel y crybwyllwyd yn nechreu hanes gwrthryfel Owain Glyndwr, heb feddu hawl gyfiawn i'r orsedd, ond wedi ei thrawsfeddiannu—yn gymmaint ag mai mab oedd efe i *John*, dug Lancaster, trydydd mab Iorwerth III.; tra yr oedd y goron o hawl yn perthynu i dylwyth yr ail fab, ar balliant hiliogaeth i'r cyntaf. Yr oedd y Dug o Gaerefrog yn hanu o'r ail gangen yma, ac o ganlyniad yn gyfiawn etifedd y goron. A chan fod gan y bobl lawer o achos i fod yn anfoddlawn ar eu penadur presenol, tröent eu meddyliau yn naturiol at dy Caerefrog; a'r canlyniad fu, rhyfeloedd blinion a gwaedlyd rhwng y ddwy gangen grybwylledig o'r teulu breninol, am yr orsedd. Yn mrwydr *Wakefield*, gorchfygid byddin Dug Caerefrog, ac yntau ei hun a laddwyd; ond ei blaid ef a ymgryfhaodd drachefn, ac mewn brwydr yn *Tewkesbury*, enillasant y maes; ac yn fuan wedi, cyhoeddwyd mab Dug Caerefrog yn frenin, dan yr enw *Edward y Pedwerydd*, yn y flwyddyn 1461.—Dywedir i Harri druan gael ei lofruddio yn ei ystafell wedi hyn, gan Ddug Caerloyw, brawd y brenin Edward, yr hwn wedi hyny a fu yn frenin dan yr enw *Rhisiart y Trydydd*, ac a balmantodd ei ffordd i'r orsedd trwy lofruddiaethau a chreulonderau digyffelyb.

Drwy yr yspaid cynhyrfus yma ar y deyrnas, yr oedd y Cymry hefyd yn dra rhanedig: amryw o honynt, wrth ystyried hawl rhagorach Edward i'r orsedd, a chan gofio ei fod o waedoliaeth, ac yn dwyn enw un o'u hen dywysogion, a'i cefnogent yn galonog, gan ymladd ei ryfeloedd yn ddewrion: ond rhai o honynt a lynent wrth Harri. Yn mysg pleidwyr Harri yr oedd *Rheinallt ab Gruffudd ab Bleddyn*, o'r Twr, gerllaw y Wyddgrug; yr

* Yorke.

hwn, yn nghyda phump o gadbeniaid Cymreig ereill, a amddiffynodd gastell Harlech, yn erbyn Gwilym Herbert, iarll Penfro, cadlywydd byddinoedd Iorwerth; ac un o honynt, o'r enw *Dafydd ab Ieuan ab Einion*, wedi hir ddyrysu ymdrechion iarll Penfro, a ddywedai, "Myfi a gedwais dwr yn Ffrainc, nes i holl hen fenywod Cymru glywed am dano; ac yn awr, fe gaiff holl hen fenywod Ffrainc glywed pa fodd y diffynais y castell hwn." *

Yr oedd *Owain Tudur* hefyd yn un o bleidwyr y Lancastriaid, fel yr oedd yn naturiol dysgwyl iddo fod, trwy ei briodas â mam Harri VI.; ac efe a gymmerwyd yn garcharor gan y blaid arall, y rhai a'i dodent dan gadwraeth yn nghastell Brynbyga, gerllaw Caerlleon ar Wysg. Ac yno elai John ab Meredydd ei gar, a channwr ereill o'i gydwladwyr, i ymweled âg ef, er ei gysuro yn ei adfyd. Ar eu dychweliad, pan o fewn dwy filldir i Gaerlleon, amgylchynid hwy gan fintai arfog o gefnogwyr ty Caerefrog, fel nad oedd un tebyg y buasai yn ddichonadwy iddynt ddianc. Dan yr amgylchiad cyfyng yma, John ab Meredydd a gyfarchai ei gydwladwyr, gan ddywedyd, "Na chaffed neb byth ddywedyd, *Dyna* lle y *ffodd* cant o Wyneddwyr; ond yn hytrach, bydded y llanerch i'w chofio a'i nodi allan fel y fan lle y lladdwyd cant o Wyneddwyr;" ac felly, gan ymwroli yn erbyn gobaith, efe a drefnodd ei fintai fechan yn y modd goreu, gan gyfleu *Hywel ab Llewelyn ab Hywel*, a rhyw rai ereill oeddynt unig feibion eu tadau, yn y lle dyogelaf, tra y cyfleai ei feibion ei hun yn ngwyneb y gelynion, gan eu harwain ei hunan i angau neu fuddugoliaeth; a chan ruthro ar y gelynion yn ddiarbed, ac agor adwy drwy eu rhengau â'i gleddyf, efe a'u llwyr orchfygodd; cafodd yntau ei hunan archoll dwfn yn ei wyneb, yr hyn a barai iddo gael ei alw o hyny allan, "*Ysgwier y Graith*."

Tra yr ydoedd byddin iarll Penfro yn Ngwynedd, yr oedd *Ievan ab Robert ab Meredydd*, un o hynafiaid *Syr John Wynne*, o Wydir—yr hwn, trwy ei gadgyrchiad yn erbyn tiroedd Dug Caerefrawg, yn nghymmydogaeth Dinbach, a achlysurodd i'r brenin anfon yr iarll yno i'w gosbi—yn gorfod gadael ei dy ei hun, a llechu y nos mewn ogof yn agos i Feddgelert, a elwid *Ogof filen*, mewn craig gerllaw *Meillionen;* a bu cyfarfod rhyngddynt yn mwlch Nanhwynan. O'r diwedd, yr iarll a anfonodd at y Cymro glew, i erfyn arno ddyfod i ymweled âg ef yn heddychol; ac felly y bu: a gwnaed cymmod rhyngddynt.

Er mwyn taflu i'm darllenwyr ryw gipolwg ar ansawdd gymdeithasol ein cenedl yn yr oes hon, a'r hawl a honai y pendefigion yn y werin, dodaf y cytundeb canlynol ger bron:—

"Myfi, Ednyfed Fychan ab Ednyfed, ydwyf drwy y weithred hon yn rhoddi, yn trosglwyddo, ac yn cadarnhau, fy rhydd dyddynod o Randir Gadog, &c.; a'm rhydd dyddynod o Borthamel, &c.; a'm saith priodor—sef, Hywel ab Dafydd Dew, Mathew ab Dafydd Dew, Ieuan ab Ieuan Ddu, Llewelyn ab Dafydd Dew, Dafydd ab Matto ab Dafydd Dew, Hywel ab Matto ab Dafydd, a Llewelyn ab Ifan Goch, yn nghyda'u holl hiliogaeth, ganedig, neu i gael eu geni, a'u holl feddiannau, &c.—i Wilym ab Gruffudd ab Gwilym, ei etifeddion, a'i ddirprwywyr, dros byth.—Rhoddedig yn Rhandir Gadog, ar yr 20fed o Fehefin, yn y 27ain flwyddyn i Harri VI." Dwy fferam fawr yn Mon ydyw Rhandir Gadog a Phorthamel.

Crybwyllasom eisoes fod y boneddwr ieuanc, o Blas Penmynydd, wedi ymbriodi â'r frenines *Catherine*, mam Harri VI. Bu iddo dri o feibion ac

* Yorke.

un ferch o honi; un o'r meibion a aeth yn fonach, a'r ddau ereill oeddynt *Edmund Tudor*, iarll Richmond, a *Jasper Tudor*, iarll Penfro.

Edmund Tudor a briododd unig ferch ac etifeddes *John Beaufort*, Dug Somerset, yr hwn oedd hanedig o Iorwerth III.; a mab iddo o honi oedd *Harri Tudor*, iarll Richmond, yr hwn a anwyd yn nghastell Penfro, tua'r flwyddyn 1455. Pan y gorthrechwyd plaid Lancaster yn mrwydr Tewkesbury, yn y flwyddyn 1471, gorfu i Jasper Tudor ffoi, a chan gymmeryd ei nai, Harri Tudor, iarll Richmond, i'w ganlyn, efe a enciliodd i'w gastell ei hun yn Mhenfro. Ond ni chawsant aros yno yn hir, cyn i un o wyrion *Gruffudd ab Nicholas*,* sef Morgan ab Thomas ab Gruffudd, trwy orchymyn y brenin, gynnull llu cadarn, gan osod gwarchae mor ddyfal ar y castell, fel nad oedd un gobaith o ddihangfa i'r tywysogion. Ond yn y cyfyngder hwn, daeth *Dafydd ab Thomas*, brawd Morgan, yr hwn oedd gyfaill i iarll Penfro, a lluaws mawr o wŷr y wlad i'w ganlyn, y rhai yn y cyffredin oeddynt bleidwyr i deulu y Tuduriaid; ac er nad oeddynt wedi ymarfogi yn rheolaidd, ymosodasant ar y gwarchaewyr mor wrol, fel y bu raid iddynt gilio oddiwrth y castell; ac yna Dafydd a ddyg y ddau iarll i Ddinbych, porthladd cyfagos i Benfro, ac oddiyno hwyliasant drosodd tua Ffrainc, gan fwriadu myned ar unwaith i lys eu car—brenin y wlad hono: ond fe'u chwythwyd i ororau Llydaw, ac ni chaniatai Dug Llydaw iddynt ymadael oddiyno dros yspaid.

Yn y flwyddyn 1483, daeth y brenin *Rhisiart y Trydydd* i'r orsedd; a hyny, fel y crybwyllwyd eisoes, trwy lofruddiaethau a chreulonderau o'r fath waethaf. Ac mor atgas ydoedd, fel yr ymroddodd amryw o'i ddeiliaid galluocaf i gynllwyno yn ei erbyn; a throisant at Harri Tudor, iarll Richmond, gan ei gynghori i gynnyg ymbriodi â'r dywysoges Elisabeth, merch Iorwerth IV., fel yr unid y ddau deulu—sef Lancaster a Chaerefrawc—i'w gefnogi, ac i ddiorseddu *Rhisiart*. Yr oedd amryw o bendefigion Cymru yn dra blaenllaw yn yr ysgogiad yma, gan eu bod yn edrych ar Harri yn mhob ystyr fel un o'u cenedl eu hunain, nid yn unig am ei fod o wehelyth Syr Owain Tudur, ond hefyd am ei eni yn Mhenfro. Un o'r prif offerynau yn dwyn yr ohebiaeth yn mlaen rhwng y pendefigion a'r iarll, oedd deon Bangor, *Rhisiart Cyffin*, a gyfenwid y "Deon du o Fangor," yr hwn oedd yn byw yn Llanddwynwen, yn Mon, ac a anfonai genadwriaethau oddiyma i Ffrainc, at Richmond, drwy gyfrwng cychod pysgota, y rhai a dramwyent rhwng y ddwy wlad. O'r diwedd, enillwyd *Rhys ab Thomas*, ŵyr i Gruffudd ab Nicholas, yr hwn a fuasai yn wastadol yn bleidiol i dy Caerefrog, i uno yn y cynghrair; ac yna trefnwyd yn fuan i Harri hwylio o Harfleur, yr hyn a wnaeth, a thua dwy fil o Ffrancod i'w ganlyn; ac yn mhen ychydig ddyddiau, ymddangosai y llynges ar gyfer Aberdaugleddau, lle y'i cyfarfyddwyd gan Rhys, yr hwn a'i croesawodd yn rhwysgfawr. Penderfynwyd cyrchu tua Lloegr yn ebrwydd—Harri a'i wŷr ar hyd Ceredigion, a Rhys trwy siroedd Caerfyrddin a Brecheiniog. Cafodd *Dafydd ab Ieuan* yr anrhydedd o roesawu Richmond a'i fyddin yn Llwyn Dafydd, dros un noswaith; a'r noswaith ganlynol efe a gafodd dderbyniad caredig yn y Wern Newydd, gan *Einion ab Dafydd Llwyd*. Anrhegai yr iarll Dafydd ab Ieuan â hirlas ysplenydd, yr hwn sydd yn nghadw gan iarll Cawdwr eto, yn y Gelli Aur. Ymunai cynnifer o'r trigolion â Rhys ab Thomas, ar ei gadgyrchiad, fel y gwelodd yn angenrheidiol, yn Aberhonddu, anfon llaweroedd o honynt yn ol i'w cartrefi, gan

* Gruffudd ab Nicholas, yr hwn a fuasai mor enwog yn ei gyssylltiad âg Eisteddfod Caerfyrddin, yn 1450, a laddwyd yn mrwydr Tewkesbury, yn ymladd dros yr Yorciaid.

gadw gydag ef yn unig y rhai oeddynt debyg o fod yn wasanaethgar iddo ef rhagllaw, yn nydd cyfyngder a rhyfel.

Cyfarfu Rhys ab Thomas â'r iarll ychydig cyn cyrhaedd o honynt dref y Mwythig; a dywedir fod Harri wedi gwersyllu ar Fynydd Digoll, rhwng y Trallwng a'r Mwythig. Aethant oddiyno tua Nottingham, lle yr oedd Rhisiart frenin yn aros; ac ar faes Bosworth, yn swydd Leicester, y bu brwydr waedlyd rhyngddynt, ac yno y lladdwyd Rhisiart. Dywaid amryw mai Rhys ab Thomas a roddodd ei ddyrnod marwol iddo; ac nid yw hyny yn annhebyg chwaith: canys y mae yn ymddangos fod Rhys a'i Gymry dewrwych wedi ymroddi i gadw yn agos i berson Harri trwy y frwydr; a dywedir fod Rhisiart yn gwneyd y rhuthriadau ffyrnicaf ar y rhan hono o'r fyddin elynol lle yr oedd Harri ei hunan yn ymladd, gan geisio am ei fywyd â'i holl egni. Dywedir ddarfod iddo, ychydig cyn ei ladd—pan welodd yr *arglwydd Stanley* yn ymunaw â Rhys ab Thomas, i ymladd o blaid Harri—alw am gawgiad o win, a chan eistedd ar ei farch, trodd at *Rhys Fychan*, gŵr boneddig o Wynedd, yr hwn a lynasai wrtho yn ffyddlon hyd y diwedd, gan ddywedyd, "Yma, Fychan, yfaf atat ti, y Cymro cywiraf a gefais erioed yn Nghymru." Wedi yfed y gwin i fynu, taflodd y gwpan dros ei ben, a rhuthrodd yn garnwyllt i ganol ei elynion, gan wneyd un cynnyg eto am fywyd Harri, debygid; ond ar y cynnygiad yma, efe ei hun a laddwyd. Lladdwyd llumanwr Harri, *Syr William Brandon*, gan Rhisiart, â'i law ei hun; ac ar hyny y rhoddes Harri y lluman i *Rys ab Maredydd* i'w dwyn. Y Cymro hwn oedd ŵr o ddewrder a chadernid corfforol digyffelyb o'r bron, o Hiraethog, yn swydd Ddinbach; oddiwrth yr hwn yr hanodd tylwythau *Wynne* o'r Foelas, a *Price* o'r Rhiwlas.

Wedi i'r brenin Rhisiart gwympo felly yn lladdedig, cyhoeddwyd Harri yn frenin ar y maes, yn nghanol gwaed a galanas, a bloeddiadau am fuddugoliaeth. Ar ol canu mawl gwedi y frwydr, urddwyd Rhys ab Thomas yn farchog yn y fan, ac efe a ddyrchafwyd i lanw amryw swyddau anrhydeddus yn Nghymru.

Ymddygodd Harri, yr hwn bellach a elwir *Harri y Seithfed*, yn hynod gall fel penadur—efe a briododd *Elisabeth*, merch henaf Iorwerth IV., aeres tylwyth Caerefrawg, ac felly unodd yr Yorciaid a'r Lancastriaid; diddymodd y cyfreithiau dirwyawl a chospawl a wnelsid yn erbyn y Cymry gan y breninoedd rhagflaenorol; parhaodd i gynnal cyfeillgarwch â *Syr Rhys ab Thomas*, ac ereill o brif foneddigion Cymru; a gosododd wŷr dysgedig ar waith i olrhain ei achau Cymreig, trwy yr hyn y profwyd i foddlonrwydd ei fod o ran ei dad a'i fam yn hanu o dylwyth pendefigol, ac yn tarddu oddiwrth hen freninoedd ynys Prydain: ac o'r pryd hyny hyd yn awr, nid oes neb wedi bod yn ffyddlonach na'r Cymry i goron Lloegr; na chenedl dan goron Lloegr, efallai, dedwyddach ar y cyfan na'r Cymry.

# DARLITH X.

## TORIAD GWAWR PROTESTANIAETH AR GYMRU.

Un o'r pethau sydd yn wir destyn syndod i bob un a ymroddo i efrydaeth deilwng ar Hanes Cymru, ydyw grym a gwydnwch yr ysbryd annibynawl a amlygid gan y genedl, yr hwn nis gallodd grym holl lengau Rhufain, yn mawredd rhwysg milwraidd y llywodraeth hono, na minteioedd afrifed y Daeniaid, y Sacsoniaid, a'r Normaniaid—dros bymtheg can' mlynedd o ymdrech didor—ei lwyr lethu; fel y cawn yn eu hanesiaeth, fod rhai o'r genedl â'u harfau yn eu dwylaw yn barhaus, yn gwrthdystio yn eofn yn erbyn trawsfeddianwyr gorsedd eu gwlad, hyd oni welsant ei meddiannu gan dywysog o'u gwaedoliaeth eu hunain, yn nynsawd *Harri y Seithfed*, ŵyr *Syr Owain Tudur*, ac y cawsant hawl i anfon eu pendefigion eu hunain i'w cynnrychioli yn senedd y Deyrnas Gyfunol, a'u cyfrif ar yr un tir a'r Sacsoniaid a'r Normaniaid, o barth penodiad i swyddau o ymddiried yn y llywodraeth: ond er y pryd hyny, y maent mor hynod am eu heddychlonder, a'u ffyddlondeb i'r orsedd, ag oeddynt o'r blaen am eu gwrthladdiad parhaus i benaduriaid Lloegr; yr hyn sydd brawf cryf, mai nid i gythryblusrwydd cynhenid eu natur yr ydys i briodoli eu hanfoddogrwydd i ymostwng yn dawel dan iau y Saeson, ond i'w syniad egwyddorol o'u hawl gyfiawn eu hunain i arglwyddiaeth yr ynys hon, ac annghyfiawnder hawl un genedl arall i'w difeddiannu o'u hiawnderau.

Nyni a ganfyddwn hefyd ryw gymmaint o'r unrhyw ysbryd annibynawl a dianwadal yn dylanwadu eu syniadau crefyddol; enghraifft wych o'r hyn a grybwyllwyd yn y Chweched Ddarlith, lle yr adroddid am ymgais aflwyddiannus Awstin Fonach i'w cael i gydnabod uchafiaeth y Pab ac eglwys Rhufain mewn pethau crefyddol. Ac er fod yr esgobion Seisnig a draws-wthid mewn amser i'r esgobaethau Cymreig, wedi bod yn dra selog i adeiladu a gwaddoli mynachlogydd, a phob math o grefydd-dai, tueddol i feithrin slafeidd-dra Pabaidd, ac arfer eu holl ddylanwad i suddo y genedl ddyfnach ddyfnach i'r unrhyw gaddug o gyfeiliornadau Pabaidd ag ydoedd yn toi eglwysi y cyfandir yn gyffredinol, yn yr oesoedd a elwir "Yr oesoedd tywyll," mae yn ymddangos fod rhyw ronynau gweiniaid o'r gwirionedd yn aros yn mysg y dosbeirth mwyaf dysgedig o'r genedl trwy yr oesoedd; a bod ambell un o bryd i bryd yn ddigon dewrfryd i wrthdystio yn erbyn cyfeiliornadau yr offeiriaid; ac nid wyf yn meddwl y byddai yn anhawdd profi fod mwy o oleuni y gwirionedd yn ffynu yn mysg y Cymry trwy yr yspaid crybwylledig, nag ydoedd yn mysg eu cymmydogion y Saeson; a meddyliwn y gallwn weled un rheswm am hyny, yn yr ystyriaeth o fod yr Ysgrythyrau wedi bod yn ysgrifenedig yn iaith y Cymry er oes Cystenyn, os nid cyn hyny, tra nad oes sail i feddwl fod un ran o honynt wedi ei ysgrifenu yn iaith y werin Seisnig cyn dyddiau *Wickliffe*.* Am hyny, tra yr oedd eglwys Rhufain yn melldithio y sawl ni chredai fod traddodiad dynol o gyfuwch awdurdod â'r Ysgrythyr Lân,

* Hanes Crefydd yn Nghymru, t.d. 345.

ac yn cynnwys pethau angenrheidiol i iachawdwriaeth, cyfarfyddwn ambell i Gymro yn dyrchafu ei lef i wrthdystio yn erbyn y cyfryw gyfeiliornad dinystriol, oesoedd cyn dyddiau *Luther*. Yr hen "Gattwg Ddoeth," athraw a feddai ddylanwad apostolaidd o'r bron ar efrydwyr Llancarfan, yn y chweched ganrif, a floeddiai, "*A gair Duw yn benaf!*" Y Bardd Glas, o'r gadair athrawol, ger bron yr hon y crymai bonedd a gwreng y dywysogaeth, a adseiniai yr unrhyw syniad yn y nawfed ganrif, gan ddywedyd, "*Nid gair ar bob gair, ond gair Duw!*" Ac er sicrhad i ni, mor ddwfn y gwreiddiasai yr egwyddor hon yn meddyliau lluaws y dywysogaeth, tystiai yr hybarch Dr. Davies, esgob Mynyw, yn ei ragymadrodd i gyfieithiad *Salisbury* o'r Testament Newydd, ei fod yn arferiad cyffredin gan y Cymry, cyn toriad gwawr Protestaniaeth, ddywedyd, "Mi a wnaf—a ddywedaf—neu a âf i'r man a'r man, a gair Duw yn uchaf."*

Pan ddechreuodd eglwys Rhufain ddal allan yr athrawiaeth anysgrythyrol o Draws-sylweddiad, Cymro o athrofa Mynwy, neu Dy Ddewi, o'r enw *Ioan Erigena*, oedd un o'r rhai cyntaf i ysgrifenu yn erbyn y geudyb dywededig; ac y mae yr hanesydd eglwysig *Mosheim*, yn ei gyfrif y galluocaf a'r egluraf a ysgrifenai yn erbyn y geugred hon ar ei chychwyniad; ac yn un nad amlygai y gogwydd lleiaf at y gred yn y presenoldeb corphorol. Ond y Pabyddion, yn Nghymmanfa *Vercelli*, yn y flwyddyn 1150, a ddyfarnent lyfr y Cymro ystyrbwyll hwn yn wrthodedig—am ei fod, yn ol eu tyb hwy, yn cynnwys gau athrawiaeth!

Yn y flwyddyn 1030, cawn fod *Joseph*, esgob Llandaf—oddiar ei ofid wrth ystyried esgeulusdra rhieni i hyfforddi eu plant yn egwyddorion y grefydd Gristionogol, a'r anfoesoldeb mawr a ffynai yn ei holl esgobaeth yn y canlyniad—yn rhoddi gorchymyn, na wnelid un math o waith ar y Sabbath, a bod i'r offeiriaid addysgu yr ieuenctyd i ddarllen yr Ysgrythyrau, "heb dal, heb ged;" ac y mae yn dra thebyg mai yn yr iaith gyffredin yr oedd yr Ysgrythyrau hyny, gan na fuasai gwaith y bobl yn eu darllen mewn iaith estronol yn tueddu dim i'w moesoli a'u lleshau, yn ol amcan duwiolfrydig yr esgob. Ac heblaw hyny, yr oedd y Cymry yn ystyried mai ofer ac ynfyd oedd dysgu dim mewn iaith anadnabyddus; canys yr oedd yn ddiareb yn eu plith—"Tri anhebgor ysgoleigdod; awydd diwydgais, pwyll awenfryd, a *llyfrau cyfiaith*." †

Tua chanol y bedwaredd ganrif ar ddeg, yr oedd un *William Breton* yn ŵr enwog yn mysg y Cymry, mewn dysgeidiaeth a hyddysgrwydd yn yr Ysgrythyrau; a dywedir iddo ysgrifenu llawer o lyfrau—ond mai ei ben gwaith oedd ei esponiad o'r holl eiriau anhawdd yn y Beibl; ac y mae yn debyg fod y llyfr hwn yn y fath fri, yn yr oesoedd canlynol, fel yr apeliodd *Standish*, esgob Llanelwy, ato yn ei ddadl âg Erasmus, yr hwn a adawsai 1 Ioan, 5. 7, allan o'r argraffiad cyntaf o'i gyfieithiad o'r Testament Newydd, ond a'i dododd i fewn yn yr ailargraffiad, ar awdurdod hen adysgrifen Gymraeg o'r Beibl, medd *Dr. Gill*.

Rhai o'r Trioedd hefyd, y rhai oeddynt mewn bri uchel gan y beirdd, a ddangosant yn eglur mor atgas oedd rhai o'r crefyddolion Pabaidd a'u syniadau yn ngolwg y rhai mwyaf goleuedig o'n cyndadau yn foreu:—

"Tri pheth ni waeth pa leiaf y clywir o honynt; cân hwch ar wynt, cnec hen wrach, a *phregeth brawd llwyd*."

"Tri pheth sydd, a gwae a ddelo dan eu crafangau; *cyffeswr o frawd llwyd*, llogwr arian, ac arglwydd tir o gostoglwyth."

"Tri anhebgor uffern; rhingyll, *brawd llwyd*, a Sais."

* "Eglwys Loegr yn annibynawl ar Eglwys Rhufain," gan y Parch. J. Williams, t.d. 46 a 74. † Hanes Crefydd, &c., t.d. 256.

"Tri pheth ni waeth i ddyn ychydig na llawer o honynt; *bara offeren, nawdd y creiriau*, a rhoddion mab y crinwas."

Gan fod y beirdd, a gwŷr o ddylanwad yn y wlad, yn coledd y cyfryw ddaliadau a hyn yn mysg y genedl, ac yn adlewyrchu ychydig o oleuni y gwirionedd ar dywyllwch dudew y nos gaddugawl, nid rhyfedd bod rhai o'r Cymry yn dangos parodrwydd nodedig i roesawi ysgrifeniadau *Wickliffe*, a chymmeradwyo yr egwyddorion a ddysgid ganddo, ar ymddangosiad cyntaf gwawr y Diwygiad Protestanaidd.

Yn y flwyddyn 1324 y ganwyd *John Wickliffe*, "seren foreu" y Diwygiad, yn swydd Gaerefrog; ac efe a ddygwyd i fynu yn y brif athrofa, yn Rhydychain, lle yr enillodd iddo ei hunan radd dda, fel efrydydd diwyd ac ysgolhaig campus; o'r hyn yr oedd ei etholiad i fod yn ben coleg Caergaint, yn Rhydychain, yn brawf. Bu yr etholiad yma arno tua'r flwyddyn 1365; ond efe a symudwyd o'r swydd hono mewn modd tra annghyfiawn, tua'r flwyddyn 1367, trwy ymdrechion y myneich, y rhai a fynent un o'u corph eu hunain i'r swydd anrhydeddus hono. Efe a apeliodd yn erbyn y ddedryd hon at y Pab Urban; ond yr oedd gan y myneich hwythau eu dylanwad yn Rhufain; ac felly, yn y flwyddyn 1370, y Pab a anfonodd i gadarnhau y weithred o ddiswyddiad. Mae lle i gasglu ei fod ef, cyn y diswyddiad uchod, yn cyfeirio meddyliau ei ddysgyblion at yr egwyddorion gwrthbabaidd hyny a ddyfernid ganddo mor gyhoedd a diarbed, yn ei bregethau a'i ysgrifeniadau, yn y canlyniad i'w neillduaeth i'w blwyf ei hunan—sef *Lutterworth*.

Deallwn fod amryw efrydwyr o Gymru yn aros yn Rhydychain tra yr oedd Wickliffe yno, ac i rai o honynt yfed ei egwyddorion yn awchus, a'u taenu yn aiddgar yn mysg eu cydwladwyr, ar eu dychweliad i'w gwlad eu hunain; ac oddiar ryw egwyddorion, ac i ryw ddybenion, nas gallaf gael arfod i'w holrhain yn y Ddarlith hon, cefnogid Wickliffe, a'r rhai a goleddent ei syniadau, gan amryw o bendefigion y deyrnas—megys, y Duc o Lancaster, yr hwn oedd fab i Iorwerth III., ac a elwir yn gyffedin *John o Gaunt; Henri Percy*, arglwydd dystain Lloegr; *Syr John Oldcastle*, a gyfenwir arglwydd Cobham, &c. Y cyntaf o'r pendefigion uchod oedd ŵr o ddylanwad tra mawr; a pha mor waelion bynag y gallai fod yr egwyddorion a'i cymhellai ef i gymmeryd plaid Wickliffe mor wresog yn erbyn yr esgobion, bu dda i'r *Lollardiaid* gael llechu am dymhor dan ei adenydd.

Un o'r enw *Walter Brute*, Cymro ganedig o gyffiniau swydd Frycheiniog, a ddygid i fynu yn Rhydychain, lle hefyd y'i graddiwyd, tra yr oedd Wickliffe yno. Ond er ei fod ar y cyntaf, efallai, wedi bwriadu cymmeryd ei ordeinio i'r offeiriadaeth, pan y'i cymhwysai ei hun trwy ddysgeidiaeth ddigonol i'r swydd, nid yw yn ymddangos ddarfod iddo byth gymmeryd urddau eglwysig; ond gan iddo dderbyn egwyddorion Wickliffe yn foreu, gweithredai arnynt yn y canlyniad gyda mwy o gysondeb a dianwadalwch na llawer, ac efallai iddo eu cario allan yn mhellach na Wickliffe ei hunan, na nemawr o'i ganlynwyr. Ymddengys ei fod yn dal allan annghyfreithlondeb llwon ar bob achlysuron, a rhyfel yr un modd, a'i fod yn gwadu hawl yr offeiriaid i'r degymau; a gellir meddwl na roddai efe nemawr fri ar yr offeiriadaeth ei hunan, ac o ganlyniad, ni chyfrifai bod urddau eglwysig, neu urddau esgobol, yn angenrheidiol er cymhwyso un i bregethu yr efengyl; am ba achos y gelwid ef, nid y "Gweinidog parchedig," ond y "Lleygwr dysgedig," ac weithiau hwy a'i galwent ar enwau drwg a gwaradwyddus.

Yr oedd efe yn wrthwynebwr trwyadl i ragfarn ac erledigaeth grefyddol; gan ddal allan nas meddai llysoedd eglwysig na gwladol, offeiriaid nac ynadon, hawl i ymyraeth â materion cydwybod y deiliaid. Mae yn

amlwg fod *Walter Brute*, yn eangder a chywirdeb ei syniadau, gannoedd o flyneddoedd o flaen ei oes.

Pa hyd y bu efe yn llafurio ar hyd a lled y wlad, i daenu ei egwyddorion crefyddol, cyn i'r myneich a'r offeiriaid pabaidd ei atal, a'i ddwyn ger bron y llywodraethwyr fel heretic a therfysgwr, nis gellir cael allan ar hyn o bryd; ond y mae yn debyg ei fod wedi cael rhai blyneddoedd o hamdden, y rhai a dreuliodd efe yn ddiwyd, ac i'r dyben goreu, gan daenu egwyddorion y gwirionedd trwy siroedd Henffordd, Brycheiniog, a Maesyfed. Dysgai y bobl yn y rhandiroedd crybwylledig, o'r neilldu ac yn gyhoeddus, yn nhai yr amaethwyr a phalasau y bonedd; a chynnorthwyid ef yn effeithiol yn yr ymdrech clodwiw i efengyleiddio y gororau hyn o Gymru, gan ei ddau gyfaill mynwesol, *Mr. William Swinderby*, a *Mr. Stephan Ball*, y rhai oeddynt bregethwyr enwog am eu duwiolfrydedd, ac eglurder eu syniadau am egwyddorion crefydd. O'r diwedd cynhyrfodd uffern gynddaredd ei offerynau yn erbyn y gwŷr da hyn; a chafwyd *awdurdodiad* odditan law y brenin Rhisiart II., tua'r flwyddyn 1392, cyfeiriedig at bendefigion a bonedd swydd Henffordd, ac at faer y ddinas, yn eu hawdurdodi i erlyn *Walter Brute*, dan yr achwyniad o bregethu cyfeiliornad yn yr esgobaeth a'r ardaloedd cylchynol, ac o gynnal cyrddfeydd anghyfreithlawn; ac yn y canlyniad i hyn, ymneillduai *Brute* a'i gydlafurwyr i ranau mwy anghysbell o Gymru, gan gario eu gwaith yn mlaen mewn modd mwy dirgelaidd. Ond fe'u daliwyd o'r diwedd, ac a'u dygwyd i brawf; canys y mae *Fox* yn crybwyll am *Swinderby*, cyfaill *Walter Brute*, iddo gael ei losgi am ei broffes, yn Maes y Gofaint, Llundain, yn y flwyddyn 1401. Ni fynega Hanesydd y Merthyron i ni pa beth a ddaeth o *Brute;* ond oddiwrth yr hyn a ddywaid am eofndra ei ddiffyniad ar ei brawf, y mae yn debyg mai yn y cyffelyb gerbyd tanllyd y cafodd yntau fyned adref i dangnefedd.

Nid yw yn annhebyg fod yr offeiriad dysgedig, a'r bardd enwog, *Sion Cent*—yr hwn a ddygwyd i fynu gan dylwyth y *Scudamores*, yn swydd Henffordd—wedi derbyn egwyddorion y Lolardiaid, yn benaf trwy *Walter Brute* a'i gydlafurwyr; ac yr oedd y gŵr hwnw, er ei fod mewn urddau offeiriadol, yn gwrthdystio yn eofn yn erbyn cyfeiliornadau eglwys Rhufain, ac yn dynoethi drwgfucheddau yr offeiriaid yn ddiarbed, fel y dangoswyd yn y Chweched Ddarlith (t.d. 135, 136.) Ac o'm rhan fy hun, y mae rhyw ddirgel dyb ynwyf y gallasai yr hen wron, Owain Glyndwr, fwynhau hyfforddiadau crefyddol y dywededig Sion Cent, yn ei ddyddiau diweddaf, y rhai a dreuliodd efe, fel y tybir, yn nhy ei ferch *Scudamore;* i'r hwn deulu yr oedd Sion Cent, yr offeiriad goleuedig, yn gapelwr tua'r un adeg.

Tua'r flwyddyn 1383, yr oedd gan Eglwys Rhufain *ddau* ben anffaeledig, y naill yn chwythu tân a brwmstan melldith ac ysgymundod ar y llall—sef, y Pab *Urban*, yr hwn a breswyliai yn Rhufain; a'r Pab *Clement*, yr hwn a gyfaneddai yn Avignon. Yn y flwyddyn uchod, cyhoeddai Urban alwad awdurdodol ar bawb a ofalent am ffyniant crefydd, i wregysu eu harfau, ac ymfyddinaw yn mhlaid y ffydd, ac yn erbyn Clement a'i ganlynwyr; gan addaw i'r rhai a ymrestrent yn yr achos yma, yr unrhyw ollyngdod, maddeuant, a rhagorfreintiau, ag a ganiateid i'r rhai a ymroddent gynt i ryfeloedd y groes, ac a gollent eu bywydau ynddynt. Bu y cyhoeddiad yma yn dra llwyddiannus yn Lloegr, yr hyn a achlysurid efallai trwy fod y "Tad Santaidd" wedi ethol Sais i fod ei gadlywydd eglwysig—sef, *Henry Spencer*, esgob Norwich. Wedi i'r rhyfelwr *parchedig* (?) hwn gael cymhorth mewn gwŷr ac arfau gan senedd Lloegr, cychwynai ar ei gadgyrchiad yn llawn o sel ddallbleidiol, a chanddo dan ei lywyddiaeth fyddin o haner can' mil o wŷr traed, a dwy fil o farchogion.

Wedi lladd a llosgi a gwneyd difrod ofnadwy ar y Fflandrwysiaid—y rhai mewn gwirionedd a addefasent uchafiaeth Urban—cyfarfu Siarl VI., brenin Ffrainc, â hwy, yn blaenori byddin alluog; a gwnaeth ddifrod mawr arnynt, fel y bu dda i'r esgob, a'r gweddill o'i fyddin benboeth, gael dychwelyd i Loegr am nodded.

Y fath ryfel a hon, yn mha un yr oedd crefydd yn cael ei darostwng i'r fath ddybenion annheilwng, a gyffrôdd ddigofaint *Wickliffe*, fel y cydiodd yn ei ysgrifell unwaith drachefn, er ei fod eisoes ar gil einioes, ac yr ysgrifenodd yn erbyn y fath gadgyrchiad yn eofn a diarbed, gan ymliw â'r Pab, a gofyn, Pa fodd y beiddiai ef gymmeryd arwydd o Grist ar y groes—yr hwn sydd arlun o heddwch, trugaredd, a chariad—yn lluman i arwain Cristionogion i ladd eu gilydd, er mwyn dau gau offeiriaid, ac i ormesu y byd Cristionogawl, yn waeth nag y gormesai yr Iuddewon Grist a'i apostolion? "Pa bryd," medd efe, "y bydd i offeiriad trahausfalch Rhufain, ganiatau trwyddedau i ddynolryw i fyw mewn heddwch a chariad, fel y mae yn gwneyd yn awr iddynt i ymladd â'u gilydd, a llofruddio y naill y llall?" Cyffrôdd hyn gynddaredd Urban yn ofnadwy; ac y mae yn dra thebyg y buasai yn dwyn trallod nid bychan yn ei ben, pe y buasai byw ychydig yn hwy; ond o fewn corph y flwyddyn ganlynol, bu farw *Wickliffe* mewn heddwch, yn ei blwyf ei hun, ac ehedodd ei ysbryd i fynwes ddyogel ei Brynwr, o gyrhaedd y Pab, a holl offer ei gynddaredd.

Ni bu y diwygiwr Cymreig yntau, *Walter Brute*, yn ol o wneyd ei ran er cynnorthwyo breichiau *Wickliffe*, gan wrthwynebu cyhoeddiad y Pab, a dyfarnu cadgyrchiad gwaedlyd esgob Norwich, fel yr ymddengys oddiwrth yr achwyniadau a roddwyd i'w erbyn yn mhen rhai blyneddoedd ar ol hyn—sef, pan y'i gwysid i ymddangos y waith gyntaf o flaen *John Tresnant*, esgob Henffordd. Efe a gyhuddid yn bendant ar yr achlysur hyny, o ddadgan yn gyhoeddus, di-gel, a bwriadol, fod y sawl a bregethent neu a gyhoeddent y maddeuadau a ganiateid gan yr uchel esgob i'r rhai a gynnorthwyent amcan y parchedig dad, arglwydd Henry, trwy rad Duw, esgob Norwich, pan ymgymmerth â'i daith i ymladd dros y Tad sanctaidd, y Pab—yn ymbleidwyr â hereticiaid; ac nad oedd yn ngallu y Pab, nac un dyn arall, ganiatau y fath faddeuadau.* Hefyd, ei fod yn fynych yn dywedyd, ac yn dadleu yn gyffredin, mai yr *Anngհrist*, a *thwyllwr y bobl*, oedd y Pab; a'i fod yn hollol wrthwyneb i gyfraith a buchedd Crist. Hefyd, ei fod wedi dadleu, ac ymdrechu i enill dynion i gredu, nad oes un dyn yn rhwym i roddi degymau neu offrymau; ac os bydd neb yn dewis rhoddi, y gall efe eu rhoddi i'r neb y myno. Heblaw

* Y pab Urban a addawai *faddeuant cyflawn o'u holl bechodau*, nid yn unig i bawb a groesent y moroedd yn yr ymrafael hono, ac a ymgymmerent yn bersonol yn y cadgyrchiad gwaedlyd hwnw, yn erbyn Clement, ei wrthymgeisydd am gadair Pedr, a'i gefnogwyr—ond hefyd i bawb a ymroddent i dalu i unrhyw nifer o filwyr galluog a anfonid allan i'r cyfryw ymgyrch; ac hyd yn nod i'r rhai oll a gyfranent ryw ran o'u da i esgob Norwich, tuag at ddwyn traul y cadgyrchiad. Geirid y Maddeueb yn y modd canlynol:—"Trwy awdurdod apostolaidd a ymddiriedwyd i mi i'r perwyl yma, yr ydym yn dy ryddhau di, A.B., oddiwrth bob pechodau a gyffesir â'th enau, tra yn edifeiriol dy galon; ac o'r rhai y buasit yn eu cyffesu, pe y daethent i'th gof; ac yr ydym yn caniatau i ti faddeuadau cyflawn o bob math o bechodau; ac addawwn i ti gyfran o wobrwy yr holl gyfiawnion, ac o iachawdwriaeth dragywyddol; a chynnifer o ragorfreintiau ag a ganiateid i'r rhai a elent i ryfela am y Tir Sanctaidd, nyni a'u caniatawn i ti; ac o holl weddiau a buddion yr eglwys, y Gymmanfa Gyffredinol, a'r Eglwys Lan Gatholig, y'th wnawn yn gyfranog."—Pa ryfedd i ddynion o ysbryd *Wickliffe* a *Brute* gyffroi yn erbyn y fath dwyll a thraha cableddus?

hyny, fe'i cyhuddid o ddal allan a dysgu nad oedd aberth yr allor yn wir gorph Crist, namyn cofarwydd yn unig.—Dyma yr egwyddorion am ddal pa rai y cyhuddid *Walter Brute*, seren foreu y Diwygiad oddiwrth Babyddiaeth yn Nghymru, megys yr oedd Wickliffe yn Lloegr.*

*Walter Brute*, yn hyddysg yn yr Ysgrythyrau, ac yn gadarn yn y ffydd, a ysgrifenodd ei amddiffyniad, ac a'i rhoddodd i'r esgob. Yn yr amddiffyniad hwnw y mae yn dywedyd mai Cymro ydoedd; ac os oedd neb yn alluog i ddangos trwy yr Ysgrythyrau ei fod yn cyfeiliorni yn yr athrawiaethau a ddysgai i'w gydwladwyr, y derbyniai efe argyhoeddiad yn ostyngedig a llawen; ond na roddai efe ddim coel ar eiriau dynion, na byddent yn seiliedig ar yr Ysgrythyrau. Yna rhoddai gyffes gryno o'i ffydd iddynt, yn yr hon yr addefai fod Crist yn Dduw ac yn ddyn; iddo farw yn aberth dros bechod; ac mai efe yw unig Frenin, Offeiriad, a Phrophwyd ei eglwys. Yn ddiweddaf, tystiai yn groyw ei fod ef yn credu mai "yr Anghrist" yw y Pab, a bod Pabyddiaeth yn groes i'r gwirionedd: a therfynai, gan ddatgan ei fod ef yn barod i ddyoddef yn llawen er mwyn y gwirionedd.

Wedi i'r esgob ddarllen amddiffyniad *Walter Brute*, gan nas gallai wrthbrofi ei osodiadau eglur a dysyml, efe a gymmerai arno fod yr ysgrifen hono yn rhy fer ac aneglur; ac am hyny deisyfai arno ysgrifenu ei olygiadau yn eglurach a helaethach, â'r hyn y cydsyniai *Brute* yn ewyllysgar; yn y canlyniad, efe a ysgrifenodd ei olygiadau yn helaeth ar y pethau yr oedd ei farn ef arnynt yn amrywio oddiwrth yr eiddo y Pabyddion, gan eu profi yn eglur allan o air Duw. Wedi i'r esgob dderbyn yr ysgrif hon, efe a benododd amser drachefn i *Walter Brute* ymddangos o'i flaen ef yn Henffordd, yr hyn a wnaeth efe ar y dydd gosodedig; ac erbyn i'r diwygiwr ymddangos yn y llys, yr oedd yno luaws o esgobion, abadau, myneich, a boneddigion ereill, wedi dyfod yn nghyd i gynnorthwyo esgob y lle, yn y gorchwyl oedd ganddo mewn llaw: ac wedi iddynt dreulio tri diwrnod i ddarllen a phrofi amddiffyniad *Brute*, penderfynasant o'r diwedd ei bod yn cynnwys llawer o gyfeiliornadau dinystriol, a barnasant ei fod yn euog o heresi; ac ar ddydd Llun, y 6ed o Hydref, 1393, gorfodwyd y diwygiwr enwog hwn i ddarllen yr ymostyngiad a'r dadgyffe iad canlynol, ar groes mynwent Henffordd:—"Yr wyf fi, *Walter Brute*, yn ymostwng yn benaf i efengyl Crist, ac i benderfyniad y lân eglwys, ac i gynghorau cyffredinol y lân eglwys: hefyd i farn a phenderfyniad y pedwar athrawon ac ysgrifenwyr duwiol—sef, Awstin, Ambrose, Jerome, a Gregory. Ac yr wyf, mewn llareidd-dra, yn ymostwng i'ch cerydd chwithau, fel y gweddai i ŵr ymostwng i'w esgob."

Mae y diweddar Barch. T. Jones, o Ddinbach, yn sylwi fel y canlyn ar y dadgyffesiad uchod:—"Fe allai mai ymadroddiad anmhendant ac aneglur y papuryn uchod oedd yn achlysur i beri i *Walter Brute* ymostwng i'w ddarllen; ac y mae yn lled debygol hefyd, er fod amryw o'r esgobion penaf wedi dangos ymgeisiadau a bwriadau gwaedlyd, nad oeddynt mewn llawn rydd-deb i arfer tân a ffagodau, tra bu Richard yr Ail ar yr orsedd. Pa fodd bynag, y mae yn eglur fod *Walter Brute* wedi dianc yn fyw y tro hwn, er mai nid â chydwybod diarcholl, fel y gallwn feddwl. A pha fodd yr ymdarawodd ar ol hyn, nid oes genym hysbysrwydd; ond, oddiwrth lythyr cyhoedd a roisai y brenin allan yn ei erbyn ef wrth ei enw, '*ac ereill o blant anwiredd cyffelyb iddo*,' mae yn lled amlwg fod ganddo amryw bregethwyr teithiol yn ei gynnorthwyo." †

* "Cambro-British Biography," by Dr. W. Richards. pp. 432—444.
† Fox, vol. i., p. 575.—Merthyrdraith, t.d. 1136.

Yn wir, wedi pwyllo uwchben yr amgylchiad uchod, nis gallwn lai na synu fod cynnifer o esgobion ac urddasolion dros Babyddiaeth wedi boddloni i gymmeryd y fath rith o ymostyngiad, yn yr hwn nis gorfodid y cyffeswr i ddadgyffesu dim cymmaint ag un erthygl bwysig o'r gwirionedd a amddiffynai mor eofn a chyhoeddus trwy ei ysgrifeniadau a'i bregethau. Efallai fod *Walter Brute* yn rhy boblogaidd, a'i egwyddorion wedi enill tir rhy fawr, i'w elynion feiddio arllwys arno eithaf eu cynddaredd, rhag ofn y bobl.. "Efallai hefyd nad oeddynt mewn llawn rydd-deb i arfer tân a ffagodau tra yr oedd Richard yr Ail ar yr orsedd," yn enwedig ar ŵr o Gymro, tra yr oedd amryw Gymry—megys Owain Glyndwr, ac ereill—mewn ffafr mor uchel gyda'r penadur hwnw.

Gan i mi grybwyll enw Owain Glyndwr yma, goddefer i mi hysbysu fy nirgel farn am dano—sef, nad oedd yn ddyeithr i egwyddorion y *Lollardiaid*, nac yn hollol anystyriol o dwyll, cyfeiliornad, a llygredigaeth yr esgobion, yr offeiriaid, a'r myneich; pe amgen, ni buasai yn anrheithio yr eglwysi cadeiriol a'r mynachlogydd mor ddiarbed yn ystod ei rwysg, fel y crybwyllwyd yn y Ddarlith flaenorol. A bod gwybodaeth helaethach o'r Ysgrythyrau yn mysg ein cydgenedl yn yr oesoedd tywyll hyn, nag a ellid ddysgwyl wrth ystyried rhwysg Pabyddiaeth, a welir wrth sylwi ar ddull goleu ac ysgrythyrol beirdd y cyfnod yma yn trin athrawiaethau dwyfol.—*Iolo Goch*, bardd teuluaidd Owain Glyndwr, a ganai gywydd gorgampus i'r Drindod, tua'r adeg dan sylw; a chan ei fod yn ddyeithr i'r rhan fwyaf o'm cydgenedl, hyderaf na bydd yn flin ganddynt i mi ei ddodi yma.

"Duw, Ior y duwiau ereill,
Dofydd a llywydd y lleill;
Dawn llawn Duw yw'n llawenydd,
Duw a weddïwn bob dydd;
Dawn yw gweddio Duw Naf,
Duw byth nis diobeithiaf!
Heb Dduw i'm dysg, heb ddim dawn;
A Duw agwrdd, a digawn.
Mwyaf yw pwys fy mywyd
Ar Dduw byw nag ar dda byd.
Rhodd yw, i'r rhai addewynt,
Rhaid yw im' wybod ar hynt,
Pwy ddeil gof, pa ddelw y gwn,
Pa Dduw—pwy a weddïwn?
Pybyr Greawdr pob hoywbeth,
Pob rhai byw, pob rhyw o beth.
Pwy a wnaeth y nef hefyd,
Pob rhyw, feirw a byw, a byd?
Pwy sy'n cynnal grwndwal gwym
Llawr yr adail lle'r ydym?
Pwy a oedd Dduw? pwy a ddaw?
Pwy sydd piau sy eiddaw?
Tri'n y nef gartrefan'—
Tadwys, Mab glwys, Ysbryd Glan.
Tri pherson, undon Unduw;
Ac nid un onid un Duw.
Nid oes fry yn eu dwys frawd
Ond yr Unduw a'r Drindawd:—
Trindawd yr Unduw ydynt,
Ac un Duw gogoned ynt.
Un feddian' yn eu glandy,
Un gadernyd, un fryd fry,
Un fraint, un feddiant, un frys,
Un allu, un ewyllys,
Un don, un waith da'n un wedd,
Un Duw in' yn y diwedd.
Gair oedd yn y Goreudduw,
A'r Gair a ddaeth o'r gwir Dduw:
Gwnaethpwyd o'r Gair gwenith-bwys,
Gnawd glân, Mab gogoned glwys;
Ac o ryw y goreuair
Y ganed mab o gnawd Mair;
Yn Methlem, o'i fam wythlwys,
Y ganed ef, Fab gwyn dwys;
A'i eni'n Fab, anian fwyn,
O'r wyryf Fair, wir forwyn;
Nid o natur dyn ytoedd,—
Eithr o Dduw (medd athrodd) oedd;
Ac o radd y Goreudduw,
A'r Ysbryd Glan buan byw.
Graddau y Mab goreuddoeth,
O allu Duw oll y doeth:—
Dau a gyssylltwyd mewn dawn,
Duw a dyn diwyd uniawn.
Duw yn ein mysg, dawn a'n medd,
A dry Gair o'i drugaredd,
I'n dwyn i nef dan ei nawdd,
Ddofydd a ddyoddefawdd."

Mor iachus y ddwyfyddiaeth! mor eang ac ysgrythyrol y syniadau, ac mor gaeth y farddoniaeth a gynnwysir yn y llinellau uchod, pan feddyliom

eu bod wedi eu cyfansoddi ers pedwar cant a haner o flyneddoedd yn ol! Ac mor dra dystadl wrth eu hochr a fyddai y goreuon o ganiadau crefyddol y beirdd Seisnig o'r un cyfnod!

Tua'r un adeg, sef y flwyddyn 1400, yr oedd y bardd enwog *Dafydd ab Meredydd ab Tudur* yn ei flodau; ac yn mysg ereill o'i gyfansoddiadau ydynt eto ar gael, y cawn y cywydd canlynol i'n Hiachawdwr, megys creawdwr y bydoedd: *—

"Credu i'r Iesu rasol
Yr wyf, rhag fy mod ar ol!
Creawdr, ymerawdr im' wyt,
Credaf mai cywir ydwyt!
Dy garu yw ffynu ffydd;
Dy ofni mae pob defnydd.
Da seiliaist, dewis aelwyd,
Daear a nef, dëyrn wyt!
Y byd y sydd fel y bêl,
Wedi'i osod yn isel:
Bu Baradwys glwys ei glog
Ar y ddaear werdd ddiog;
Mae ffurfafen uwch ben byd,
Man uchel, lle mae'n hiechyd.
O Iesu, tyfu mae'r tau
O ryddid yr holl raddau!
Jesu gwydr, tywysog ydwyd,
A drych y cyfiawnder wyd;
Uchel wyd, uwchlaw adar
Uchelion, gwylltion a gwâr!
Pob man yr wyt, yn mhob nerth,
Eithr uffern fawr ei thrafferth;
Nâd, dy bridwerth ni pherthyn,
Oen i Dduw, nâd yno ddyn!
Tyn fi i'r wysi ar fer,
O lindag y creulonder;
Derbyn, Duw gwyn, fi o gaeth,
Yn nwylaw fy uinoliaeth!
Gwae a fo, wrth gau ei fedd,
Yn aros mewn anwiredd,
Dan ei faich y dyn a fo,
Annedwydd yn penydio!
Nid baich ond baich o bechod,
Yn y farn gwae ddyn ei fod!
Cyffesed berchen bedydd,
Cyffesol difarwol fydd.
Wylaw ydd wyf, olew oedd dda,
Wylofus oedd chwedl Efa.
Da fuost ti, difost Ion,
Duw Iesu, wrth dy weision,
Abram, Isag, a Siagob,
Gwŷr grym, Siosasym a Siob.
Na âd roi pan fo druan,
Enaid dy was yn y tân;
Moes i'm *siartr* ar fy nghartref,
Moes dynghedfen o nen nef!"

Tuag ugain neu ddeng mlynedd ar hugain yn ddiweddarach na hyn yr oedd *Sion Cent*, am yr hwn y crybwyllasom o'r blaen, yn ei flodau. Y gŵr hwn oedd frodor, fel y tybir, o Gwm tridwr, yn mhlwyf Eglwys Eilian, yn Morganwg. Wedi myned trwy gwrs addysg gofynol i'r perwyl hyny, efe a dderbyniodd urddiad offeiriadol, a bu dros ryw ysbaid yn offeiriad Castell Newydd yn Emlyn; ond cyn hir, efe a gafodd eglwys plwyf Cent, neu *Kentchester*, yn swydd Henffordd, lle y bu yn gwasanaethu hyd ddydd ei farwolaeth. Noddid ef gan y *Scudamores*, ceraint Owain Glyndwr, lle hefyd y tybir fod yr hen wron, pan fu farw. Yr oedd y gŵr hwn yn un tra dysgedig ac ystyrbwyll, megys y prawf ei draethodau Lladinaidd ar Ddwyfyddiaeth, cystal a'i gywyddau Cymreig. Yr oedd yntau hefyd yn un o'r Lolardiaid; ac mor fawr oedd cynddaredd y myneich ato o'r herwydd, fel y taenasant chwedlau am dano ar hyd y wlad, ei fod yn ddewin, yn gyfarwydd ar y gelfyddyd ddu, ac mewn cyngrair â'r diafol; ac mor ddiwyd y buant wrth y gorchwyl o enllibio y gŵr duwiol hwn, fel y mae enw *Sion Cent* yn cael ei ddefnyddio gan y mamau, yn swyddi deheuol Cymru, fel enw ellyll, er bwrw ofn ar eu plant, hyd y dydd hwn: ond y gwir yw, mai dyn dysgedig a duwiol ydoedd, a gŵr yn byw yn mhell o flaen ei oes.† Er enghraifft o'i syniadau crefyddol, dodaf yma un o'i gywyddau.

* Gwel Hanes y Ffydd, gan Charles Edwards, t.d. 499.
† Gwel y Bedyddiwr, am Chwefror, 1849.

## CYWYDD O WAITH Y DR. SION CENT.*

"Afraid i ddyn, derfyn dig,
Ei rwyf na'i ormod rhyfig.
Ni ŵyr Cristion aflonydd
Ba hyd yn y byd y bydd!
Heddyw'n arglwydd rhwydd rhan—
Heno mewn bedd ei hunan.
Gwae ydyw ei bwynt gwedi bo
Unawr dan y pridd yno!
Ni wisg sidan am dano
Yn llan, ond graian a gro;
Ni ŵyl serch, ac ni pherchir;
Ni phryn un tyddyn o'n tir;
Nid â'n ol; ni chais olud,
Na gwin mwy'n y genau mud;
Ni ŵyl obry gwedy gwin,
Un o'i ddeiliaid i'w ddilin;
Ni ddwg ran a fo gwanach;
Ni ddaw i'r wledd o'r bedd bach;
Ni ddwg dyddyn y dyn dall,
Nac un erw'r gwan arall.
Gwedi'i farw nid â carwr
Gydag ef—ond gwadu y gŵr;
Nac aur, na mud, trud troedfedd,
Na mab iach bellach y bedd!
Nid â'i wraig hoyw-saig hy',
Fain ŵyl, o fewn ei wely!
Ni ddyd gordderch o ferch fain
Ei llaw dan gwr y lliain.
Maddeu weithred, a meddwl
Ymwrthod â'r pechod pwl.
Och! pa'm y gwnai ddau ddirmyg,
Ddiddawn ddyn, ei Dduw yn ddig!
Edrych yn fynych, f'einioes,
Ar Grist, a'i gorph ar y groes;
A'i fron a'i galon i gyd,
A'i wiwdlws gorph yn waedlyd;
A'i draed gwrdd mewn diriaid gur,
A'i ddwylaw'n llawn o ddolur!
O'th odlau, ddyn, a'th adlam,
O'th gas y cafas y cam;
O'th rwyf dithau, a'th ryfig,
A wnai Dduw beunydd yn ddig.
Diffrwyth oedd, fel dwy Affrig,
I ddyn ei dda, a'i Dduw'n ddig!
Anair i ddyn na ro ei dda,
A byred fydd ei bara.—
Mae Salmon, nid oedd annoeth
O ddysg? P'le mae Sibli ddoeth?
Mae tal a gwallt Absalon,
Deg aur bryd? dwg e' ger bron.
Mae Samson, galon y gwŷr
Nerthol? P'le mae nai Arthyr?*
Oes a edwyn, syw ydych,
Bridd y rhai'n rhagor pridd y rhych?
Afraid i lawen hyfryd
Ryfyg, er benthyg y byd;
Ni phery'r byd hoff ir-wych
Mwy na'i drem yn min y drych!
A fyno nef i'w enaid,
O feiau byth ef a baid.
Dir i'r bobl, dewr yw'r bwbach,
Ryngu bodd i'r angau bach.
A faco'r ddaear aren,
A lwnc oll, fel afanc hen.
Nid oes nerth ar a berthyn,
Onid Duw, i enaid dyn.
Iesu wrth gyfraith Moesen,
Awr brid, a'n prynodd ar bren.
Pruddlawn ydyw'r corph priddlyd,
Pregeth oer o beth yw'r byd.
Hoywddyn aur, heddyw'n arwain
Caeau,† modrwyau, a main;
Gostwng gwan yn ei eiste',
Dan ei law, a dwyn ei le;
Cynnull arian dau cannyn,
Cyrchu'r da, carcharu'r dyn;
Ni roddai'n ddiau ddwyfuw
O'i dda ddoe, er ddae o Dduw;
Heddyw mewn pridd yn ddiddim,
O'i dda nid oes ganddo ddim!
A'i ddewrgorph i'r ddaeargist,
A'i drwyn yn rhy laswyn drist;
A'i bais o goed, hoed hydryn;‡
A'i grys heb lewys, heb lun;
A'i ddir hynt i'r ddaear hon,
A'i ddeufraich ar ei ddwyfron;
A'i wraig o'r winllan adail,
Gywir iawn, yn gwra'r ail;
A'i neuadd fawr falch galchbryd
Yn arch bach, yn eiriach byd;
A da'r wlad yn ei adaw,
I lawr, heb ddim yn ei law;
Llyffant hyll—tywyll yw'r tŷ,
Os gwyl—fydd ei was gwely!
Yna ni bydd i'r enaid
Na phlâs, nac urddas, na phlaid.
Am y trosedd a wneddyw,
A'r camoedd, tra f'oedd yn fyw,
Rhyhwyr fydd yn y dydd du,
Od wyf ŵr, i 'difaru!
Astyd fyd ystad fydawl
A ddwg lawer dyn i ddiawl.
Medd Sant Bernad gredadyn—
Ni fyn Duw fod nef ond un.
Dyn na chymmered, er da,
(Nwyf aml) ei nef yma,
Rhag colli, medd meistri mawl,
Drwy gudd, ŷ nef dragwyddawl.

* *Modred*, yr hwn oedd un o'r rhyfelwyr dewraf. † Gwddf-dlysau.
‡ Gofid trwm.

Dig yw'r cedyrn clo-chwyrn clyd,
Dig iawn nas dyoganwyd;
Dig yw'r gwŷr llen a'r menaich,
Dygn fyth, dwyn digon o faich.
Truth noeth, traethu a wnaethost
Na chânt hwy (gwn achwyn tost,
Groen du ffol, graen yw dy ffed)
Gaerydd nef yn agored!
Meddir, o bydd cywir cant,
I minau hwy a'i mynant;
Arian glew, ar a glywais.
Orddwy drud, ar Dduw a drais.
Pob un heb na llun na lles,
Ofer iawn, â'i feiriones;
Ei weddi, miloedd wiwdda
I wlad nef, medd ef, ydd â!
Minau, o'm dysg a'm anian,
A thrwy liw'r Ysgrythyr Lan,
Mi a gaf, gwiraf gwarant,
O'i gwrs ef, y goreu sant,
Na lewas, gwiwras gwerin,
Dewi ar ei weddi win;
Na gwisgo crys gwiw ysgawn,
Na phais, ond yr unbais rawn;
Na llanw, yn ddisalw ei sain,
Y pot—na rhuthro putain.
Gwn gyfraith, euriaith arab,
Y Tad, eiriau mad, a'r Mab,
I nifer hwy nef ar hynt
Am ei gael, ymogelynt!
Astud wyf, ystod ofwy,
Ystyru twyll, ystyriant hwy,
Nad o wleddau, gau gymen,
Ydd air i nef, ddioer nen!
Rhyfalch ydynt yn rhwyfaw
Rhyfig—Duw yn ddig a ddaw;
Pan ddel dydd y farn arnam,
A chosb am bechod a cham;
Am yr hawl, a'r mawr hwyliaw
Y farn ddig ar frys a ddaw;
Pob plaid dyfynir, pob blin,
Gar ei fron, y gwir Frenin.
Ni ddichon brawd gŵr tlawdgall,
Na'r llaw ymddiried i'r llall;
Er pwyth byd, er peth bydawl,
Er da ydd â'r dyn i ddiawl!
Profais i, megys prif-fardd,
Pawb o'r byd, ŵr hyfryd, hardd;
Profais yn rhwydd arglwyddi—
Tlawd, cyfoethawg, rywiawg ri';
Nid cywir gradd o naddyn'—
Nid oes iawn gyfaill ond Un!
Er neb ni thores Iesu
Ei lan gyfeillach â'i lu."

Dyna i chwi ddernyn gan Gymro, yn cynnwys duchan mor rymus ar lygredigaeth y myneich a'r offeiriaid Pabaidd a dim a gynnyrchodd ysgrifell ei gyfoeswyr enwog, *Jerome* a *Huss*, yn Bohemia; ac fel hyn yr oedd yn deilwng i'w gyfrif yn un o ser boreuol y Diwygiad Protestanaidd yn Nghymru. Ond fe debygid i ffurfafen grefyddol Cymru dywyllu eilwaith ar ol hyn, cyn ei myned hi yn ddydd; canys y Pab, a'i gynnrychydd ffyddlawn—archesgob Caergaint—wrth ganfod parodrwydd y Cymry i dderbyn syniadau y Loleriaid, a ymroisant i benu i'r esgobaethau Cymreig ddynion y gallent ymddiried ynddynt y gwnelent eu goreu i gadw y wlad yn y tywyllwch; a difuddid o'u bywiolaethau offeiriaid neu esgobion a feiddient ddyrchafu eu llef yn erbyn geugred a llygredigaeth yr eglwys. Er hyny y beirdd nid ymatalient; ond fel hen brophwydi Duw yn Israel gynt, a gair Duw yn llosgi yn eu hesgyrn, nes cyfodi o honynt eu llef, i fynegi i'r bobl eu camweddau; felly yr oedd ysbrydoliaeth yr awen yn disgyn ar ambell i fardd goleuedig, fel nas gallent ymatal; ac irad y cwynent o herwydd cyflwr eu cenedl. Y mae y tystiolaethau hyn mor ddyddorawl, fel nas gallaf ymatal rhag rhoddi engraifft neu ddwy eto o'u cyfansoddiadau.

*Iorwerth Fynglwyd*, bardd o Forganwg, a ganai tua diwedd y bymthegfed ganrif, sef 1460, fel y canlyn:—

"Er rhoi niwl ar yr hen iaith,
O'r un niwl yr awn eilwaith.
Swyddau gwlad sy heddyw gloff,
A swydd eglwys sydd ogloff.
Gair yr euog ar gywir,
Ag arian ef a'i gyr yn wir.
Aeth anwir ar fath enyd,
Aeth y gwir ar feth i gyd."

A thrachefn, tua'r flwyddyn 1500, canai *Tudur Aled*, bardd o Wynedd, ar yr un testyn, sef ffyniant anwiredd yn y tir, gan ddywedyd—

"Nid dim gan y to yma,
Trwy lid oll, ond treulio da.
Nid er da'r un y doi'r draul,
Ond drwg weithred rhyw gythraul.
Car yn cyhuddo arall—
Hawdd i'r llaw gyhuddo'r llall.
Nithied bawb, noethed heb wir,
Fai ei gilydd, ef a goelir.
Gair a drig ar y drygwaith,
A'i liwio i'r gwaed lawer gwaith.
Goreu yw dal y gair du
A niweidiol, na'i wadu.
Atal saeth, nid dilys hyn,
A êl unwaith o linyn."

Ac oddeutu yr un cyfnod—sef tua diwedd y bymthegfed, neu ddechreu yr unfed ganrif ar bymtheg—yr oedd bardd enwog y dyfynais ran o'i waith eisoes (gwel tudal. 136)—sef *Gruffudd ab Ieuan ab Llewelyn Fychan*, o'r Llanerch, yn swydd Ddinbach—yn gwrthdystio mor eglur ac eofn yn erbyn cyfeiliornadau eglwys Rhufain ag y gwrthdystiai *Luther* a *Chalfin* yn mhen deng mlynedd ar hugain ar ol hyny.

Yr ydym wedi bod eisoes yn lled faith gyda gwawriad egwyddorion y Diwygiad yn Nghymru; ond hyderaf, gan mai dyna brif destyn y Ddarlith hon, na chyfrifir y dyfyniadau blaenorol yn flin gan neb meddylgar. Awn rhagom.—Yn fuan wedi i Luther a'i gydlafurwyr ddechreu dadblygu lluman y Gwrthdystiad ar y cyfandir, darfu i'r gwiwglodus *William Tyndale* —gŵr a anwyd ar gyffiniau Cymru, os nad oedd efe yn Gymro ei hunan,* ac a ddygasid i fynu yn holl ddysgeidiaeth Rhydychain a Chaergrawnt— ymroddi i gyfieithu yr Ysgrythyrau i'r iaith Seisnig; a chan y gwyddai yn dda nas beiddiai gynnyg argraffu ei gyfieithiad yn Lloegr y pryd hyny, efe a aeth drosodd i'r Almaen; ac wedi ymweled â Luther, yn nghyda diwygwyr enwog ereill yn y gwledydd hyny, efe a ymsefydlodd yn nhref Antwerp, tra fu yn argraffu y Testament Newydd; ac yn mhen ychydig flyneddoedd, efe a symudodd i Hamburg, lle yr argraffodd efe yn gyntaf bum' llyfr Moses, ac yna yr *holl Feibl*, yn yr iaith Saesoneg. Efe a gynnorthwyid yn y gwaith pwysig hwn gan *Miles Coverdale* a *John Rogers*. Mae yn debyg i'r eiliadon cyntaf o'r Testament Newydd yn Saes'neg, gan Tyndal, gael eu dwyn drosodd i'r deyrnas hon, tua'r flwyddyn 1526; ond *Wolsey*, yr hwn oedd y pryd hyny mewn rhwysg tywysogaidd, a anfonodd gyhoeddiad allan, yn cynnwys gwaharddiad pendant i neb i'w dderbyn na'i ddarllen. Ac yn fuan wedi hyny, *Tonstal*, esgob Llundain, a Syr *Thomas More*, Arglwydd Ganghellwr y deyrnas, a anfonasant ac a brynasant yr holl argraffiad; ac wedi cael y llyfrau drosodd, fe'u llosgwyd ar groes St. Paul. Ond ychydig a feddylient hwy, wrth ymlawenhau yn y goelcerth hono, bod yr arian a dalent am y Testament Newydd, yn galluogi y Diwygwyr i fyned rhagddynt gydag argraffiad cyflawn o'r Ysgrythyrau, yr hwn a ddygid allan yn mhen ychydig flyneddau; ac er i'r cyfieithydd llafurus ddyoddef merthyrdod yn fuan yn wobr ei lafur, fe wreiddiodd yr hâd a hauwyd ganddo yn ddwfn, ac enillodd y llyfr a gyfieithwyd ganddo ddylanwad cyffredinol ar drigolion y gwledydd a arferent yr iaith Saes'neg.

* Haerir yn y "Gwladgarwr," ond nis gwn ar ba seiliau, mai Cymro ganedig o swydd Fflint ydoedd efe.—Cyfrol iv., tudal. 1.

Yn gymmaint ag nad oedd Harri VIII. yn ddiwygiwr egwyddorol, yr oedd amgylchiadau y Diwygiad a'r diwygwyr yn dra chyfnewidiol yn ystod ei deyrnasiad ef—weithiau byddai *Cranmer* a'i gyd-ddiwygwyr yn ei ffafr, a'r pryd hyny rhoddid anogaeth freninol allan i gyfieithu, argraffu, a lledaenu yr Ysgrythyrau drwy y wlad; a gwelid bod y Diwygiad megys yn cael ei gludo ar frig y don gref, i uchelfanau yr ynys; ond yn y man, y mae *Anne Boleyn* yn colli y ffafr freninol, ac yn fuan wedi hyn ei bywyd, a'r Diwygiad Protestanaidd megys pe buasai yn gwyleiddio, ac yn encilio yn ol. Ond pa fodd bynag, fe ddarfu i Harri, yn ei eiddigedd dros ei arbenicter eglwysig, cystal a than ddylanwad ei drachwant i arian, ymroddi i lwyr ddarostwng yr holl fynachlogydd trwy Gymru a Lloegr, a dystrywio yr holl ddelwau, pa le bynag y ceid gafael arnynt. Ar y neges yma, anfonid *Ellis Price* a *John ab Rhys* i ymweled â mynachlogydd Cymru; a dywedir fod y boneddwr cyntaf a enwid, pan ar ei ymweliad trwy esgobaeth Llanelwy, wedi cael yn Llandderfel, yn lled agos i'r Bala, ddelw fawr, a elwid "Derfel Gadarn," yr hon a berchid yn fawr gan lawer yn Ngwynedd; a'r dirprwywr, Mr. Price, a ddywedai fod rhwng pump a a chwe' chant o bererinion wedi dyfod i addoli ger bron y ddelw hon, yn ystod yr amser y bu efe yn y fan lle yr oedd hi. Rhai o'r pererinion hyn a ddygent eu hanifeiliaid, ereill eu harian, i'w hoffrymu i "Derfel Gadarn," neu fel y gelwir hi mewn rhai o'r hen ysgrifau, "Darfel Gatheren," gan fod y lluaws yn credu bod gan y ddelw hon ddylanwad i gadw o uffern bawb a offryment iddi yn haelionus ac ewyllysgar. Ac yn esgobaeth Ty Ddewi yr oedd delw Mair, a chanwyll gŵyr fawr yn ei llaw, yn cael parch addoladwy gan y lluaws, y rhai oeddynt dra choelgrefyddol.*

Yn y flwyddyn 1538, wedi gorphen yr argraffiad diwygiedig o'r Ysgrythyrau, rhoddodd y brenin orchymyn allan i'w holl ddeiliaid ei ddarllen yn ddiarswyd; ac i'r offeiriaid osod un Beibl yn mhob eglwys, ac anog y bobl i'w ddarllen, fel gwir air Duw. Gorchymynai hefyd, bod i bregeth gael gael ei thraddodi yn iaith y bobl, yn mhob eglwys, *unwaith bob tri mis* o leiaf, fel y gallai y bobl glywed yr Ysgrythyrau yn cael eu hagoryd.

Pan dynwyd y mynachdai i lawr, penwyd cyflog blyneddawl i'r abadau dros eu hoes; a gosodid y myneich mewn bywioliaethau eglwysig can gynted ag y delent yn weigion; a thrwy hyny cafodd llawer o'r plwyfoliaethau eu perchenogi gan elynion gwaethaf y Diwygiad.†

Yn y flwyddyn 1546, cyhoeddwyd y llyfr argraffedig cyntaf yn yr iaith Gymraeg, debygid, ar draul un *Syr John Price*, fel y tybir. Cynnwysai y llyfr hwn y Wyddor Gymraeg, Dyddlyfr, Credo yr Apostolion, y Deg Gorchymyn, a rhai pethau ereill.‡ Ac yn y flwyddyn ganlynol i hon, debygid, yr argraffodd *Mr. William Salisbury*, o swydd Ddinbach, Eirlyfr Saesneg a Chymraeg, er cynnorthwyo ei gydwladwyr i ddeall yr iaith Saesneg. Yn y flwyddyn 1551, darfu iddo gyhoeddi llyfr Cymraeg drachefn, yn cynnwys cynnifer o ranau o'r Ysgrythyrau ag a ddarllenid yn yr eglwysi ar amser cymmun ar y Sabbath, ac ar ddyddiau gwyl, trwy y flwyddyn.§ Yr oedd hyn yn ychydig gynnorthwy i'r Cymry; ond nid oedd yr Ysgrythyrau wedi eu hargraffu yn Gymraeg eto; ac yr oedd y bobl gyffredin yn suddedig yn nhywyllwch caddugawl Pabyddiaeth, a'r cyffredin o'r offeiriaid nid oeddynt nemawr amgen eto. *Syr William Herbert*, yr hwn a gafodd ei wneuthur y pryd hyn yn iarll Penfro, *Syr John Price*, a *Mr. William Salisbury*, oeddynt fwyaf ymdrechgar er goleuo eu cydgenedl y pryd hwn.

* Gwel Hanes Crefydd yn Nghymru, t.d. 409.
† Burnet's History of the Reformation, p. 190. Neal's History of the Puritans, vol. i.
‡ Williams of Defynog's Catalogue. § Ibid.

Yr oedd hyn yn nheyrnasiad y brenin ieuanc, Iorwerth VI., yr hwn a olynodd Harri VIII. yn y llywodraeth, yn y flwyddyn 1547. Yn yspaid byr teyrnasiad y penadur ieuanc duwiol hwn, cafodd egwyddorion y Diwygiad gefnogaeth gysson a grymus; ond y mae yn amlwg bod llawer o'r offeiriaid a'r esgobion wedi cymmeryd arnynt gefnogi y Diwygiad, er rhyngu bodd i'r rhai oeddynt mewn awdurdod, er nad oeddynt amgen na Phabyddion; canys can gynted ag yr esgynodd Mari i'r orsedd, ac yr amlygodd ei hunan yn benderfynol i bleidio Pabyddiaeth, trodd lluaws o honynt yn wrthwynebwyr atgasaf i'r Diwygiad, ac yn erlidwyr creulonaf ar y diwygwyr cydwybodol: o'r cyfryw yr oedd *Anthony Kitchin*, esgob Llandaf; *Arthur Bulkeley*, esgob Bangor; a *Robert Parfew*, esgob Llanelwy. Yr unig esgob Cymreig a ddaliodd ei broffes yn ddianwadal, ac felly a brofai ei fod yn feddiannol ar egwyddor a chydwybod yn ngweinyddiad ei swydd, oedd y duwiol *Robert Farrar*, esgob Ty Ddewi; ac o'r herwydd, efe a gollodd ei esgobaeth yn fuan; a Phabydd ffyrnig, o'r enw *Dr. Henry Morgan*, a benodwyd i'r esgobaeth yn ei le—yr hwn, yn mhen ychydig fisoedd a ddyfarnai y duwiol Ffarrar i gael ei rwymo â chadwyn wrth bawl, ger croes Caerfyrddin, a'i losgi yno; a dywedir i un o'r enw *Richard Jones* fyned ato, ychydig cyn iddo ddyoddef, gan ddywedyd fod yn ddrwg ganddo ei fod i ddyoddef y fath farwolaeth boenus; i'r hyn yr atebai yr esgob duwiol, "Os gwelwch fi yn syflyd unwaith yn y tân, na chredwch fy athrawiaeth;" ac felly, pan oedd y tân yn llosgi oddiamgylch iddo, a'i ddwylaw yn syrthio oddiwrtho, efe a safai yn amyneddgar, heb syflyd dim, nes i un *Richard Gravel* ei daro ar ei ben â ffon, fel y cwympodd efe i lawr.

Pysgodwr o dref Caerdydd, o'r enw *Rawlins White*, wedi clywed y diwygwyr yn pregethu, yn amser Harri VIII., a gafodd ei argyhoeddi o gyfeiliornadau Pabyddiaeth; a phan argraffwyd y Beibl yn yr iaith Saes'neg, gan ei fod yn analluog i ddarllen ei hunan, efe a anfonodd ei fab bach i'r ysgol i ddysgu darllen, fel y gallai ddarllen y llyfr dwyfol iddo; a thrwy hyny efe a ddaeth yn hyddysg iawn yn yr Ysgrythyrau yn fuan, ac yn alluog i hyfforddi ereill yn egwyddorion y gwirionedd. Yn nheyrnasiad Iorwerth VI., efe a gymmerai ei fab i'w ganlyn i dai ei gyfeillion a'i gymmydogion, i ddarllen yr Ysgrythyrau iddynt; ac yntau a'u heglurai iddynt, gan eu hyfforddi yn y pethau a berthynent i'w heddwch. Ond yn nheyrnasiad y frenines Mari, cafodd yntau ei ddedfrydu, gan *Anthony Kitchin*, esgob Llandaf—yr hwn, dan y teyrnasiad blaenorol, a gymmerai arno ei fod yn Brotestant—i gael ei losgi yn Nghaerdydd, ar ddiwrnod marchnad. Wedi ei ddyfod at y pawl lle yr oedd i ddyoddef, disgynodd ar ei liniau, a chan gusanu y ddaear, dywedai, "Daear i'r ddaear, pridd i'r pridd; tydi yw fy mam, ac i ti y dychwelaf." A thra yr oedd y tân yn ei losgi, llefai â llef uchel, "O Arglwydd, derbyn fy enaid."

Un o'r enw *William Nichol* hefyd, o Hwlffordd, yn swydd Benfro, a gafodd ei losgi yn y dref hono, ychydig amser cyn marwolaeth Mari, am iddo ddywedyd rhywbeth yn erbyn Pabyddiaeth. Cawn enwau ereill o'n cydgenedl a ddyoddefasant ferthyrdod dros y gwirionedd yn Lloegr, yn ystod y teyrnasiad yma—megys, *John ab Rhys*, *Phylip Humphrey*, *John David*, *Henry David*, *Robert Samuel*, *John Floyd*, *John Gwynne*, *James Harris*, *Robert Williams*, ac ereill.*

Ond, o drugaredd, fe fyrhawyd dyddiau terfysglyd y frenines greulawn a dallbleidiol *Mari;* ac wedi teyrnasu o honi bum' mlynedd a phedwar mis, hi a fu farw—wedi peri llosgi, yn yr yspaid byr hwnw, ddau cant a

* Fox's Martyrs.

phedwar ugain a phedwar o rai rhagorol y ddaear, yn unig am eu hymlyniad wrth air Duw, ac wrth dystiolaeth Iesu Grist, heblaw achlysuro marwolaeth llawer ereill mewn carcharau.*

Oddiwrth y crybwyllion uchod, gwelwn nad llawer a ferthyrwyd yn Nghymru; ac nid rhyfedd, gan fod y bobl heb Feibl, bod yr ystanciau heb ferthyron; a chan fod yr esgobion a'r offeiriaid yn Babyddion rhith-Brotestanaidd, nid rhyfedd mai ychydig a ffynai egwyddorion Protestaniaeth yn mysg y bobl.

Yn nechreuad teyrnasiad y frenines *Elisabeth*, gwnaed y ddeddf am unffurfiad mewn pethau crefyddol, ac achlysurodd hyny ymraniad galarus yn myddin y diwygwyr Protestanaidd—y naill ran o honynt a elwid yn "Ddiwygwyr y Llys;" a'r lleill, na chytunent â gosodiadau y ddeddf grybwylledig, a elwid "Puritaniaid." Yn wir, yr oedd hadau yr ymraniad yma wedi dechreu blaguro yn mysg y cynnulleidfaoedd Seisnig a ffurfiasid ar y cyfandir, gan y Protestaniaid a ffoisent o Loegr rhag cynddaredd y frenines Mari; y naill blaid o ba rai a fynai gyflawni addoliad dwyfol yn unol â'r trefniadau awdurdodedig gan Iorwerth VI.; a'r llall a fynai yn hytrach y dull arferedig gan y diwygwyr Swissaidd, am eu bod yn ei gyfrif yn fwy syml, ac unol âg arferiad y brif eglwys yn oesoedd boreuaf Cristionogaeth: a phan y caniatawyd iddynt ddychwelyd i'w gwlad eu hunain, ar esgyniad Elisabeth i'r orsedd, dygasant eu dadl o barth y defodau perthynol i addoliad crefyddol i'w canlyn.

Pan gadarnhawyd deddf yr Unffurfiad, cwynai y Puritaniaid yn dost, bod cynnifer o ddefodau ofergoelus Pabyddiaeth—y rhai y gobeithient hwy am danynt eu bod wedi eu difodi trwy y Diwygiad Protestanaidd—yn cael eu hadnewyddu trwy y ddeddf hon, a'u harddodi ar y wlad, megys iau drom, trwy awdurdod freninol; a dadleuent nas gallent hwy gydffurfio o herwydd cydwybod. Er hyny, yr oedd y Puritaniaid eu hunain yn rhanedig yn eu gwrthwynebiad i'r cyfansoddiad newydd yma ar yr eglwys: y naill a ofynent am lwyr ddifodiad yr hyn oll a wnaed tuag at sefydlu crefydd wladol, a bod i eglwys Loegr gael ei ffurfio yn hollol ar gynllun eglwys Genefa; ond y blaid dyneraf, a mwyaf cymmedrol, ni cheisient ychwaneg na rhyddid cydwybod i gynnal addoliad crefyddol fel y barnent hwy eu hunain ei fod yn fwyaf cysson â gair Duw. Ond yr oedd y frenines yn fwy hoff o Babyddiaeth nag o Buritaniaeth; yn unig nis gallai oddef y meddwl am i neb gael ei gydnabod yn ben yr eglwys yn ei theyrnas, ond ei hunan; ac am hyny, caniatai i elynion Puritaniaeth arfer pob dichell, a defnyddio llymder y gyfraith i'w llethu; ac felly sefydlwyd yn Mrydain ffurf o grefydd a ysgarai yr eglwys Seisnig oddiwrth eglwys Rhufain ar un llaw, ac oddiwrth yr eglwysi diwygiedig mor llwyr ar y llaw arall; ac ar yr un pryd, gosodwyd sail i ymrysonau ac ymbleidiaeth barhaus yn y deyrnas hon. Yr oedd y Puritaniaid yn ffieiddio y gwisgoedd a arferai offeiriaid eglwys Loegr wrth gyflawni gwasanaeth dwyfol, gan edrych arnynt yn unig fel llumanau Annghrist; ac edrychent ar y ffurf o lywodraeth eglwysig yn hollol annghysson â'r ffurf a sefydlasid gan Iesu Grist, deddfwr mawr a phen yr eglwys; a dadleuent fod holl weinidogion yr efengyl yn berffaith gyfartal mewn gradd ac awdurdod, yn ol y gosodiad dwyfol. Ond ni ddygid y ddadl hon yn mlaen gyda rhyw chwerwder dirfawr, tra y boddlonai yr esgobion Seisnig i ddadleu hawl ddynol yn unig i'w hurddas a'u hawdurdod yn yr eglwys a'r wladwriaeth. Eithr yn y flwyddyn 1588, enynwyd y ddadl gyda thanbeidrwydd dau ddyblyg, trwy i *Bancroft*—yr hwn a fu wedi hyny yn archesgob Caergaint—feiddio

* Burnet, b. iii., p. 329.

haeru fod yr urdd o esgobion uwchlaw y corph o henuriaid, nid trwy unrhyw osodiad dynol, ond trwy drefniant dwyfol neillduol. Yr oedd y Puritaniaid yn ffieiddio y sefydliadau treulfawr a rhwysgfawr oeddynt gyssylltiedig â'r eglwysi cadeiriol; mynent ddifodi yr archddiaconiaid, deoniaid, a chynonau, a'r amryfal swyddwyr ereill a gynnelid ar eu tiroedd a'u cyllidau. Annghymmeradwyent y dull rhwysgfawr yn yr hwn y cyflawnid gwasanaeth crefyddol yn yr eglwysi hyny, a chyfrifent ddefnyddiad offerynau cerdd yn ngwasanaeth Duw yn neillduol o anghyfaddas. Cwynent hefyd o herwydd arosodiad gormesol defodau a seremoniau arnynt, trwy orchymyn y frenines, ac awdurdod ei chynghor; yn mysg y rhai hyn yr oedd y dyddiau gwylion a gedwid er anrhydedd y saint, defnyddio arwydd y groes yn y bedydd, penodi tadau a mamau bedydd fel meichiafon dros addysg plant y byddai eu rhieni yn fyw, yr athrawiaeth o barth bedydd lleygol, penlinio wrth dderbyn y swper sanctaidd, ymgrymu wrth enw yr Iesu, cadarnhad plant trwy arddodiad dwylaw esgobol, darllen llyfrau yr Apocrypha fel rhan o wasanaeth crefyddol, gorfodogiad pob gweinidog i arfer ffurf osodedig o weddiau, &c. Ond er eu cwynion, gomeddai y frenines a'i chyngor neshau dim at eu golygiadau, nac ysgafnhau dim ar eu gorthrymder; am hyny hwy a farnasant mai eu dyledswydd oedd dodi eu hachos ger bron y byd; ac felly cyhoeddasant lyfr o hunanddiffyniad am eu gwaith yn ymwrthod â gwisgoedd a defodau a gyfrifent hwy yn Babaidd, er eu bod drwy hyny yn anufuddhau i orchymyn y frenines. Arweiniodd hyn i ddadl boethlyd trwy y wasg; ond buan y deallodd eglwyswyr y llys fod y bobl yn gyffredin yn amlygu gradd helaeth o gydymdeimlad â'r Puritaniaid, ac yn prynu eu llyfrau gyda'r awyddfryd mwyaf. Am hyny, gwnaed cyfraith ar frys i rwystro i bawb, o hyny allan, gyhoeddi llyfrau yn erbyn gorchymyn y frenines; ac y byddai i bwy bynag a argraffai y cyfryw lyfrau gael ei garcharu dri mis, colli ei holl lyfrau, a'i ddihawlio ei hunan i arfer y gelfyddyd o argraffu byth ar ol hyny.*

Erbyn hyn, pan welodd y gweinidogion Puritanaidd nad oedd un gobaith i gael y diwygiad a farnent yn angenrheidiol yn yr eglwys sefydledig, ac nas goddefid hwythau i gyflawni gwasanaeth crefyddol yn yr addoldai a elwid yn eglwysi, heb arferyd y gwisgoedd, a chydffurfio â'r defodau Pabaidd—a hwythau yn deall ar yr un pryd fod lluaws o'r bobl gyffredin o'r un farn a hwy am y pethau hyn—wedi ymgynghori llawer â'r Arglwydd mewn difrifwch mawr, a chydymgynghori â'u gilydd, hwy a ddaethant i'r penderfyniad o ymneillduo oddiwrth eglwys Loegr, a chyfarfod fel y caffent gyfleustra, mewn tai neillduol, a lleoedd ereill, i addoli Duw mewn dull didramgwydd i oleuni eu cydwybodau, a gwneyd ymarferiad o ddull dysyml eglwys Genefa yn unig yn eu gwasanaeth crefyddol. Ac fel hyn y bu cadwraeth defodau Pabaidd yn eglwys Loegr yn achos dechreuad ymneillduaeth oddiwrthi yn y wlad hon; a hyny, hyd heddyw, yw yr achos penaf o flinder a pherygl eglwys Loegr.

Yn y flwyddyn 1567 y cyhoeddwyd yr argraffiad cyntaf o'r Testament Newydd yn yr iaith Gymraeg, yn llyfr pedwarplyg, wedi ei ddosbarthu yn llyfrau a phennodau, fel y mae yn bresenol; ond nid oedd yr holl bennodau wedi eu rhanu yn adnodau. *Dr. Richard Davies*, esgob Ty Ddewi, mab Dafydd ab Goronwy, o sir Ddinbach, a gyfieithodd ail lythyr Paul at Timôtheus, y llythyr at yr Hebreaid, llythyr Iago yr apostol, yn nghyda dau lythyr Pedr; *Thomas Huet*, cantor Ty Ddewi, a gyfieithodd lyfr y Datguddiad; a *Mr. William Salisbury*, o'r Cae du, Llansanan, a

* Neal's Hist. Purit., vol. i., p. 153.

gyfieithodd y rhanau ereill. Yn fuan ar ol hyn, argraffodd Mr. Salisbury y Llyfr Gweddi Gyffredin yn yr iaith Gymraeg; ac yn yr un flwyddyn, darfu i un *Gruffudd Roberts* gyhoeddi Gramadeg Cymraeg, yr hwn a argraffwyd yn Milan.

Nid argraffwyd yr holl Feibl yn Gymraeg hyd y flwyddyn 1588, er fod gorchymyn seneddol i hyny wedi ei roddi allan ers chwe' mlynedd ar hugain. Gellid meddwl mai un achos o'r cyfryw hir oediad, oedd bod llawer o'r esgobion a'r pendefigion Seisnig yn dra awyddus am i'r Cymry oll ddysgu Saesonaeg; ac er mwyn peri i'r bobl anghofio eu hen iaith hybarch eu hunain, ni oddefent i'r Ysgrythyrau gael eu cyfieithu iddi. Heblaw hyny, yr oedd yr esgob Richard Davies, a'i gyfaill llafurus, Mr. William Salisbury—y rhai unwaith a fwriadent ddwyn yr holl Feibl allan yn iaith eu cenedl—yn awr wedi myned i orphwyso oddiwrth eu llafur; ac nid hawdd oedd cael neb o gyffelyb feddwl a chymmwysderau, i orphen y gwaith pwysig a ddechreuasid ganddynt hwy. Ond o'r diwedd, gŵr o'r enw *William Morgan*, offeiriad Llanrhaiadr, yn sir Ddinbach, a gymmerodd y gorchwyl gwiw mewn llaw; nid drwy orchymyn y llywodraeth na'r esgobion, debygid—ond ar ddymuniad ambell ŵr duwiol o'i gydnabod, ac mewn gwir awydd i ogoneddu Duw, ac i leshau ei gydgenedl. Cyfarfu âg amryw wrthwynebiadau cryfion, a defnyddiau digalondid; ond efe a nerthwyd o wendid, nes cyflawni y gwaith pwysig, yn y flwyddyn 1588. Ac fel hyn y cawsom y

"Llyfr dechreu goreu i gyd,—llyfr diwedd,
Llafar Duw i'r hollfyd;
Llyfr nef a daear hefyd,
Llyfr ar ben holl lyfrau'r byd."—R. D.

---

# DARLITH XI.

## DANIEL ROWLANDS, A'R DIWYGIAD METHODISTAIDD.

---

Yn y Ddarlith flaenorol, dangoswyd mai cyndynrwydd y frenines *Elisabeth* ac eglwyswyr y llys, rhag cydsynio â cheisiadau rhesymol y Puritaniaid, i ddirymu y defodau Pabaidd o'r eglwys sefydledig, a yrodd y gwŷr duwiol hyny i ffurfio cynnulleidfaoedd ymneillduol yn y deyrnas hon. Y gynnulleidfa ymneillduol gyntaf a ffurfiwyd yn mhentref *Wandsworth*, yn agos i Lundain, a hon oedd yr eglwys Bresbyteraidd gyntaf yn Lloegr; ac er i swyddogion y frenines gael gorchymyn i osod deddf yr Unffurfiad mewn grym, cyfodwyd lluaws o gynnulleidfaoedd ereill ar yr un cynllun, mewn amryw o'r gwledydd cymmydogaethol yn fuan; a'r trais creulawn a arferid gan y frenines a'r esgobion ar y Puritaniaid, er ceisio eu cadw o fewn rhwymyn yr eglwys sefydledig, a'u gyrodd yn llawer pellach oddi-

wrthi, fel y dechreuai rhai o honynt ddadleu yn lled eofn na allai eglwys Loegr fod yn wir eglwys i Grist, na'r gweinidogion a arosent ynddi fod yn weinidogion cymhwys y Testament Newydd. Y dosbarth yma o'r Puritaniaid a elwid *Browniaid*, oddiwrth un o'r enw Robert Brown, offeiriad yn esgobaeth Norwich, o dylwyth anrhydeddus, ac wedi ei ddwyn i fynu yn Nghaergrawnt. Yr oedd y gŵr hwn yn bregethwr tanllyd, meddiannol ar ddoniau poblogaidd, ac efe a elai oddiamgylch gan bregethu yn erbyn esgobion taleithiol, defodau, llysoedd eglwysig, a phethau ereill a farnai efe eu bod yn feius yn eglwys Loegr. Ond er i'r gŵr hwn ddyoddef llawer o erledigaethau—a bod, fel y dywedir, mewn deg ar hugain o garcharau, rhai o honynt mor dywyll nas gallai weled ei law ynddynt ganol dydd; ac o'r diwedd, iddo ef a'i gynnulleidfa orfod ffoi i Holand, er cael llonydd i wasanaethu Duw yn ol y drefn a gyfrifent hwy yn ysgrythyrol—efe a adawodd ei gynnulleidfa mewn amser, ac a ddychwelodd i Loegr; ac wedi datgan ei ymwrthodiad â'i egwyddorion blaenorol o ymneillduaeth, efe a gafodd bersonoliaeth yn swydd Northampton, lle yr ymroddodd i fyw buchedd segur, heb gyflawni dyledswyddau y fywioliaeth; ond yn derbyn y cyllid fel math o dalwobr am fod yn ddystaw. Ond ei ganlynwyr a gynnyddasant, ac a ddaethant yn blaid luosawg, gan sefydlu yr enwad crefyddol a adwaenir yn bresenol wrth yr enw "Annibynwyr," neu "Gynnulleidfaolion." Y llafurwyr enwocaf yn eu plith, wedi i Brown gefnu arnynt, oeddynt *Henry Barrowe* a *John Greenwood*, y rhai oeddynt wŷr o ddygiad da i fynu, ac o ymarweddiad diargyhoedd; a dyoddefasant lawer o herwydd cydwybod. Tra yr oeddynt hwy, a lluaws mawr o'u brodyr, mewn cadwynau yn ngharcharau Llundain a'r cymmydogaethau—wedi i'r esgobion fethu dwyn un cyhuddiad yn eu herbyn, yn amgen na'u bod yn ymneillduo oddiwrth yr eglwys sefydledig, i addoli Duw yn ol y ffurf yr oeddynt hwy yn barnu yn gydwybodol fod gair Duw yn eu cyfarwyddo—hwy a anfonasant yr apeliad canlynol at arglwyddi y cyngor, yr hwn sydd deilwng o'i goffhau, am ei fod yn rhoddi golwg gryno i ni ar eu hegwyddorion, ac ar ysbryd erledigaethus yr esgobion rhith Brotestanaidd, yn nyddiau y frenines Elisabeth; fel hyn y dywedent—

"Yr ydym yn canfod fod y glwysbenaeth Seisnig yn anghytunol â gosodiad Crist, ac yn ddeilliedig oddiwrth yr Annghrist, gan ei fod yn unrhyw ag a adawodd y Pab yn y wlad hon; i'r hwn ni feiddiwn ymostwng. Yr ydym yn canfod yn mhellach, fod Duw wedi gorchymyn i bawb a gredant yr efengyl, rodio yn y ffydd sanctaidd, a'r drefn hono a ordeiniodd efe yn ei eglwys; gan hyny, gyda pharchedig ofn i'w enw yr ymgyssylltasom ni, gan ddaiostwng ein heneidiau a'n cyrph i'r cyfreithiau a'r ordinhadau *hyny;* a chan ddewis i ni ein hunain y cyfryw weinyddiaeth o fugail, athraw, henuriaid, a diaconiaid, ag a roddes Crist i'w eglwys ar y ddaear, hyd ddiwedd y byd, gan obeithio am gynnorthwy addawedig ei ras, pan yn dysgwyl wrtho ef, er gwarafuniad dynion, neu yr hyn oll a ellir ei wneyd i ni gan ddynion. Yr ydym yn barod i brofi bod ein trefn eglwysig yn awdurdodedig gan air Duw, yn ganiataol gan gyfreithiau ei mawrhydi, ac nad ydyw mewn un modd yn niweidiol i'w hawdurdod benadurol—ac i wrthbrofi ffurf addoliad a llywodraeth yr eglwys wladol trwy y cyfryw dystiolaethau ysgrythyrol ag nas gall ein gwrthwynebwyr eu gwrthsefyll; gan ardystio, os methwn ni yn hyny, nid yn unig y byddwn yn foddlawn i oddef y cyfryw gosb deilwng ag a arddoder arnom, ond hefyd y bydd i ni gydffurfio rhagllaw, oni ddymchwelwn ni ein gwrthwynebwyr; ni ddywedwn, os bydd i'n gwrthwynebwyr ein gorfodi ni."

Yr oedd hwn yn feiddiad eofn, ac yn brawf o argyhoeddiad trwyadl a didwyllder yr ymneillduwyr erlidiedig hyn: ond barnai eu gelynion fod

yn haws eu carcharu a'u herlid na'u gwrthbrofi. Ac yn mlaen yn yr un apeliad nyni a'u cawn yn cwyno o herwydd y driniaeth greulawn a dderbynient, yn unig ar gyfrif eu crefydd:—

"Y mae esgobion y wlad hon wedi ymddwyn tuag atom, ers amser maith, yn y modd mwyaf niweidiol, annghyfreithlawn, a dirdreisiol, trwy y gallu mawr a'r awdurdod uchel a gawsant i'w dwylaw, ac a drawsfeddiannasant goruwch pob llysoedd gwladol, barnwyr, cyfreithiau, a breintebau, perthynol i'r tir hwn; gan erlid a charcharu ein cyrph tlodion wrth eu hewyllys, heb unrhyw brawf, rhyddhad, na machnïaeth; a hyd yma heb ddwyn i'n herbyn yn uniongyrchol unrhyw achwyniad o gyfeiliornad na chamwedd. A rhai o honom a gadwasant yn awr dros fwy na phum' mlynedd yn ngharchar; ïe, pedwar o'r rhai hyn bum' mlynedd mewn carchar cauedig, dan driniaeth druenus—megys *Henry Barrowe* a *John Greenwood*, y rhai ydynt yn awr yn y *Fleet*, ac ereill a fwriasant i'w carchar yn *Newgate*, yn llwythog â chymmaint o haiarn ag a allant ddwyn; ereill i garcharau ffiaidd a pheryglus, yn mysg y dynion mwyaf ysgeler a gwaradwyddus; ac y mae yn alarus adrodd gynnifer o'r rhai diniwed hyn a drengasant o fewn y pum' mlynedd yma—o ba rai yr oedd amryw yn weddwon oedranus, hen wŷr, gwyryfon ieuainc, &c.; lle y mae cynnifer ag a adawyd yn fyw gan yr haint yn gorwedd mewn cyflwr truenus, ac yn debyg o ddilyn eu cymdeithion, oni cheir gwaredigaeth yn fuan iddynt. Ereill o honom a ffonodiwyd yn ddidrugaredd yn ngharchar *Bridewell*, ac a fwriwyd i le a elwir yno *Little Ease*, am omedd dyfod i wasanaeth eu capel; yn yr hwn garchar y terfynodd llawer eu heinioes. Ond ni oddefwyd i ymchwiliad na rheithbrawf gael ei gynnal ar un o'n cymdeithion a garcharwyd fel hyn, ac a fuant feirw yn eu carchar, fel y mae yn ofynol dan y cyfryw amgylchiadau, yn ol y gyfraith.

Eu dull o'n herlyn a'n dal hefyd nid yw yn llai creulawn a dirdreisiol. Eu rhingyllau a'u cynnorthwywyr a dorant i'n tai bob amser ar y nos, gan chwilota ac yspeilio wrth eu pleser, dan y cochl o chwilio am lyfrau bradwrus ac annghyfreithlawn. Llusgasant y gwŷr ganol nos o'u gwelyau, oddiwrth eu gwragedd, gan eu llurgunio i garchar. Ychydig yn ol, darfu i'w rhingyllau, yn enw y frenines, fyned i mewn i dŷ dinesydd gonest yn *Ludgate-hill*, yn y nos; yn mha le, wedi cael eu gwala o chwalu a chwilio pob lle, cistiau, &c. yn y ty, y daliasant ddau o'n gweinidogion—sef *Mr. Francis Johnson* a *John Greenwood*—heb unrhyw awdurdod, gan arwain y ddau, rhwng un a dau o'r gloch yn y bore, â chleddyfau a ffyn, i *Wood Street*, a rhwymo Mr. Boys, gŵr y ty, i'w cadw fel ei garcharorion hyd dranoeth, pan y darfu i'r archesgob, a doctoriaid ereill oeddynt gydag ef, eu traddodi i garcharau dyogel—dau i'r *Clink*, a'r trydydd i'r *Fleet*, lle y maent yn aros yn awr mewn cyfyngder. Ar ol hyny, hwy a garcharasant *Thomas Settle*, *Daniel Studley*, a *Nicholas Lane*, y rhai a gymmerasant i ddalfa ar ddydd yr Arglwydd yn ein cynnulleidfa, ac a gauasant i fynu yn y Porthdy; ac y maent yn erlyn ereill o'n cyfeillion yn barhaus, fel nad oes ddyogelwch iddynt yn un man.

Gan hyny yr ydym yn atolygu yn ostyngedig, yn enw Duw, a'n penadur y frenines, ar i ni gael amddiffyniad y cyfreithiau, a breinlen gyffredinol y deyrnas—sef, bod i ni gael rhoddi machnïaeth, hyd oni phrofer ni yn ol y gyfraith yn euog o ryw gamwedd yn haeddu rhwymau. Gwystlwn i'ch anrhydedd, *ein ffydd tuag at Ddnw, a'n gwarogaeth i'w Mawrhydi*, na bydd i ni gyflawni dim annheilwng o efengyl Crist, neu o duedd i aflonyddu heddwch cyffredinol ac iawndrefn y tir; ac y byddwn yn barod i ddyfod yn mlaen ar unrhyw rybudd rhesymol o eiddo eich arglwyddiaethau. O! na adewch i ni drengu cyn prawf na barn, yn enwedig tra yr ydym yn

llefain arnoch am hyny. Pa fodd bynag, yr ydym yma yn cymmeryd Arglwydd nefoedd a daear, a'i angelion, yn nghyd a'ch cydwybodau chwi eich hunain, a phawb yn mhob oes, at y rhai y delo ein deisyfiad hwn, yn dystion ein bod ni yma wedi rhoddi hysbysiad cywir i'ch arglwyddiaethau o'n cyflwr a'n triniaeth, a'n bod gyda phob gostyngeiddrwydd wedi cynnyg ein hachos i brawf Cristionogol."*

Ond er mor syml, gostyngedig, a difrifol, ydoedd yr apeliad uchod, ni feiddiai neu ni fynai y cyfrin-gynghor ymyraeth i geisio ffrwyno trahausder annghyfiawn yr esgobion didrugaredd.

Dyna y fath driniaeth a gafodd tadau ymneillduwyr presenol Prydain, oddiar ddwylaw *Parker* a *Whitgift;* ac os gellir casglu dim oddiwrth yr enllibau anwireddus ar Ymneillduwyr ac Ymneillduaeth, a fwrir allan yn ddidor drwy ryw gyhoeddiadau, y rhai ydynt warth i'r wasg Gymreig, felly y triniesid ninau gan y rhai a fawr folant yr esgobion uchod, pe y beiddiasent. Ond tra yn dywedyd hynyna am ryw ddosbarth o offeiriaid Cymru yn y dyddiau presenol, y mae yn dda genyf allu chwanegu, fod llawer o offeiriaid duwiol a chydwybodol yn y dywysogaeth, y rhai a ymofidiant yn llawn cymmaint, os nad mwy na neb o'r Ymneillduwyr, o herwydd ffyniant y fath ysbryd rhagfarnllyd yn eu heglwys.

Yr oedd gwir grefydd yn dra isel yn Nghymru tua chanol yr unfed ganrif ar bymtheg; a gellir barnu nad oedd y rhan fwyaf o'r offeiriaid oeddynt yn yr eglwys yn amgen na Phabyddion wedi cydffurfio, er mwyn cadw meddiant o'u bywioliaethau; a'r canlyniad oedd, bod y wlad yn gyffredin yn cael ei hesgeuluso, a'r trigolion yn suddedig mewn tywyllwch ac anystyriaeth. Ond cyn diwedd y ganrif grybwylledig, cyfododd gŵr ieuanc, brodor o swydd Frycheiniog, o'r enw *John Penri,* yr hwn a dderbyniasai ei ddysgeidiaeth ar y cyntaf yn Nghaergrawnt, ac wedi hyny yn Rhydychain, lle y'i graddiwyd yn A. C. yn y flwyddyn 1586. Hwn, wedi derbyn urddau cyssegredig, a ddaeth yn bregethwr poblogaidd yn y ddwy brifysgol; ac wedi ystyried cyflwr amddifad ei gydgenedl, efe a ddychwelodd i Gymru, lle yr ymroddodd i bregethu yr efengyl ar hyd a lled y wlad; ac yn un o'i lythyrau efe a ddywedai, mai efe oedd y cyntaf a bregethasai yr efengyl yn gyhoeddus yn mysg ei gydwladwyr er amser y Diwygiad, gan ymdrechu i hau yr had da yn mynyddoedd llymion Cymru. Ac yn mhellach, efe a ddywaid, "Ymlawenheais ger bron Duw yn aml, fel y gŵyr efe, am i mi gael y ffafr o'm geni a byw dan ei mawrhydi, er dwyn y gwaith hwn yn mlaen. Yn y dymuniad dwys a feddwn am weled yr efengyl yn cael ei phlanu yn fy ngwlad enedigol, a'r llygredigaethau gwrthwyneb yn cael eu symud, gallwn yn hawdd—megys yr addefais yn fy ysgrifeniadau cyhoeddedig, fel *Hegetorides*, y Thrasiad—annghofio fy mherygl fy hunan, ond byth nid annghofiaf fy rhwymau i fod yn ffyddlawn i'm penadur. A chan fy mod yn awr i orphen fy nyddiau cyn cyrhaedd hanner fy mlynyddoedd yn ol cwrs natur, yr ydwyf yn gadael llwyddiant fy llafur i'r cyfryw o'm cydwladwyr ag a gyfodir gan yr Arglwydd ar fy ol, er cwblhau y gwaith hwnw o alw fy ngwlad i wybodaeth o efengyl Crist, yr hwn a ddechreuwyd genyf."

Yn y flwyddyn 1588, efe a gyhoeddodd ddau lyfr; un a elwid "Golwg ar y diffygiadau cyhoeddus a'r annhrefn sydd yn Nghymru, yn nghyda deisyfiad gostyngedig ar y senedd i'w diwygio." Yn y llyfr hwn efe a ddangosai, nid yn unig yr angenrheidrwydd am ddiwygiad crefyddol yn mhlith y Cymry, ond hefyd y ffordd i ddwyn hyny oddiamgylch. Y llyfr

* Strype's Annals, iv., 62. Neal, vol. i., p. 365, 366. Price's Hist. of Noncon. vol. i., p. 417, 418.

arall ydoedd "Anogaeth i lywodraethwyr a phobl Cymru i ymdrechu yn ddifrifol am gael pregethiad yr efengyl yn eu plith."*

Dan greulonderau didrugaredd yr esgobion yn erbyn y rhai na chydffurfient â hwy yn gyflawn, darfu i amryw ddynion talentawg ymffurfio yn gymdeithas er cyhoeddi traethodau llymion, a gogan-gerddi chwerwon, yn erbyn penaethiaid yr eglwys sefydledig. Argreffid a chyhoeddid y rhai hyn yn y modd dirgelaf; ond yr arddull cofn a arferid, a'r dynoethiad diarbed a wnelid ganddynt o annghyfiawnder a chreulonderau ysgeler yr esgobion, a'u gwnelai yn boblogaidd dros ben; ac yr oedd rhai o'r ysgrifeniadau, yn enwedig y rhai a gyhoeddid yn enw "*Martin Marprelate*," yn enill dylanwad mawr ar y wlad, ac mor annyoddefol i'r esgobion a'u cefnogwyr, fel y rhoddid pob egni ar waith i roddi attalfa arnynt. Argreffid hwy ar wasg annghyhoedd; ond daeth iarll Derbi i ddeall ei bod yn rhyw le yn nghymmydogaeth Manchester, a elwid *Newton Lane*, ac efe a'i hatafaelodd. Barnai y cyfrin-gynghor mai Penri oedd eu hawdwr; ac felly anfonwyd gwarant allan, wedi ei llaw-nodi gan yr archesgob, ac amryw ereill o arglwyddi y cynghor, i ddal Mr. Penri, fel gelyn y llywodraeth; ond efe a ffodd i'r Alban, lle y bu yn llechu am oddeutu tair blynedd. Nid oes un prawf ar gael fod gan Penri un llaw yn nghyfansoddiad na lledaeniad y traethodau dywededig. Efe ei hunan a'i gwadai; a *John Udal*, Puritan dysgedig a duwiol, yr hwn a fu farw yn ngharchar yn y flwyddyn 1592, a roddai y dystiolaeth ddiameuol a ganlyn o'i blaid, yn ei arholiad o flaen y dirprwywyr, yn 1590. *Arglwydd Buckhurst*, un o'r dirprwywyr, a'i holai fel y canlyn:—

*Buckhurst.* Ond mynegwch i mi, atolwg, onid adwaenoch chwi Penri?

*Udal.* Adwaen, fy arglwydd.

*Buckhurst.* Ac oni wyddoch chwi mai efe yw Martin?

*Udal.* Na wn, yn ddiau; ac nid wyf yn meddwl mai efe yw Martin.

*Buckhurst.* Pa beth yw eich rheswm?

*Udal.* Hyn, fy arglwydd. Pan y daeth allan gyntaf, wedi deall o hono ef fod rhyw rai yn rhoddi y gair ar led y bernid mai efe oedd yr awdwr, efe a ysgrifenodd lythyr at gyfaill yn Llundain, yn yr hwn y gwadai hyny, gan arfer y cyfryw ymadroddion ag a'i profai yn ddyeithr iddo, ac heb un llaw ynddo.†

Eto, er nad oedd Penri yn awdwr yr un o'r cyhoeddiadau tramgwyddus hyn, ni faddeuodd yr esgobion byth iddo am ei lafur effeithiol yn mhlaid y diwygiad crefyddol a arswydent hwy mor fawr; ac yn fuan ar ol ei ddychweliad o'r Alban, efe a ddaliwyd, trwy offerynoliaeth ficer Stepney, yn Ebrill, 1593; a gwnaeth yr archesgob *Whitgift* bob ymdrech i brysuro ei ddihenyddiad. Fel hyn, heb unrhyw sail deg o achwyniad yn ei erbyn, efe a ddyfarnwyd i farw fel drwgweithredwr, ar y 25ain o Fai; ac yn mhen pedwar diwrnod, rhoddwyd y ddedryd mewn gweithrediad. Ac felly, er gwarth i deyrnasiad Elisabeth, ac i brif eglwyswyr yr oes hono, rhoddwyd y Cymro dysgedig, duwiol, a llafurus yma i farwolaeth, tua phump o'r gloch prydnawn y 29ain o Fai, 1523, yn y 34ain flwyddyn o'i oedran, gan adael gweddw a phedwar o blant amddifaid ar ei ol.

Bu y frenines farw yn mhen tua deng mlynedd ar ol hyn, ac ni bu yr archesgob *Whitgift* fyw nemawr ar ei hol. Ond dylynwyd y frenines ar yr orsedd wladwriaethol gan *Iago y Cyntaf*, yr hwn yn yr Alban a gymmerai arno fod yn henaduriaethwr egwyddorol, ac yn bleidiwr gwresog i'r Puritaniaid yn Lloegr. Ond wedi newid ei orsedd, newidiodd ei egwyddor; ac erbyn newid ei wlad, gwelodd yn gyfleus iddo erlid a drwgliwio y Puri-

* Hanes Crefydd yn Nghymru, t.d. 476, 477. † Price's Hist. vol. i., pp. 380, 381.

taniaid, gan ei fod wedi meddwi ar win gweniaith a molawd yr eglwyswyr; ac olynwyd Whitgift ar yr orsedd archesgobawl gan *Bancroft*, yr hwn a fu yn llawn mor greulawn at yr ymneillduwyr a'i ragflaenor. Ond yr oedd *Dr. Anthony Rudd* yn esgob yn Nhy Ddewi yn y blyneddau hyn, a dywedir am dano ei fod yn ŵr o dduwioldeb a challineb mawr, ac yn cael ei gyfrif yn bregethwr da; pa fodd bynag, mae yn amlwg ei fod yn fwy rhyddgarol na'r cyffredin o esgobion yr oes hono. Efe a fu farw yn y flwyddyn 1614, ac a olynwyd yn yr esgobaeth gan Dr. Milbourne.

Y gweinidogion annghydffurfiol Protestanaidd cyntaf a ganfyddwn ni yn Nghymru, ar ol dihenyddiad Penri, oeddynt *Mr. Wroth*, offeiriad Llanfaches, yn swydd Fynwy, a *Mr. William Erbury*, ficer St. Mari, Caerdydd; y rhai, gan eu bod yn ystyried y chwareuyddiaethau ar ddydd yr Arglwydd yn annghyfreithlon, a omeddasant ddarllen y cyhoeddiad a roisai y brenin *Carl y Cyntaf* allan o'u plaid, trwy anogaeth yr archesgob Laud; a phan glybu yr archesgob hyny, efe a wysiodd y ddau offeiriad duwiol i ymddangos yn ei lys ef yn Llundain, fel y rhoddent gyfrif am eu hanufudddod i orchymyn y brenin; a'r canlyniad fu, eu troi allan o'u heglwysi. Wedi i Mr. Wroth gael ei droi allan o eglwys Llanfaches, efe a gynnullodd ychydig o bobl y plwyf a ofnent yr Arglwydd, ac a'u ffurfiodd yn eglwys ymneillduol, tua'r flwyddyn 1639, lle y bu yn llafurus iawn, a chanddo yn gynnorthwywr yn y weinidogaeth un o'r enw *William Thomas*, yr hwn hefyd a ddygasid i fynu yn Rhydychain. *William Erbury*, wedi ei fwrw allan o'r eglwys, a aeth oddiamgylch i bregethu, pa le bynag y caffai ddrws agored, gan dreulio y rhan fwyaf o'i amser yn Lloegr. Efe a ysgrifenodd amryw lyfrau; a dywedir ei fod yn feddiannol ar feddwl hynod o ymofyngar. Efe hefyd a fu yn offerynol i gychwyn achos yr ymneillduwyr yn Nghaerdydd. Yr oedd *Mr. Walter Cradoc* o swydd Fynwy, yr hwn a ddygasid i fynu yn Rhydychain, yn gurad i Mr. Erbury yn Nghaerdydd, ar yr adeg grybwylledig; ac oblegyd iddo yntau wrthod darllen Llyfr y Chwareuyddiaethau, cafodd ei ddifuddio o'i fraint-lythyr gan esgob Llandaf. Ar hyny, efe a dramwyodd drwy siroedd Brycheiniog, Maesyfed, a Threfaldwyn, gan bregethu yr efengyl pa le bynag y caffai gyfleustra; a chyn nemawr o amser efe a ymsefydlodd yn Ngwrecsam, lle yr aeth yn dra phoblogaidd yn fuan; canys yr oedd efe yn bregethwr bywiog a grymus iawn, a'r Arglwydd a fendithiodd ei weinidogaeth i ddychwelyd llawer i ffydd Crist; ac yn mysg ereill o seliau ei weinidogaeth yr oedd *Vavassor Powel*, yr hwn oedd yn offeiriad ieuanc dysgedig, ond a enillwyd i ffydd yr efengyl wrth wrandaw ar Walter Cradoc yn pregethu, ar un o'i deithiau trwy siroedd Maesyfed a Threfaldwyn, ac a drodd allan yn llafurwr mor enwog yn ngwinllan Crist ei hunan wedi hyny. Un arall a ddychwelwyd dan weinidogaeth Cradoc, ac a fu yn dra enwog wedi hyny, oedd *Morgan Llwyd* o Gynfael, awdwr "Llyfr y Tri Aderyn"—"Gair o'r Gair"—"Yr Ymroddiad"—"Gwaedd yn Nghymru," &c.; ac olynydd Cradoc fel gweinidog yr eglwys ymneillduol yn Ngwrecsam.

Yr oedd y brenin Carl I. wedi priodi *Henrietta Maria*, merch Harri IV. o Ffrainc, yr hon oedd yn Babyddes benboeth; a thrwy ei dylanwad hi cryfheid breichiau y Pabyddion yn fawr yn ein teyrnas; a'r brenin ei hunan, yn nghyda'r Dr. Laud—yr hwn a drosglwyddid o Dy Ddewi i esgobaeth Lludain—a wnelent eu goreu i gefnogi y blaid fwyaf anefengylaidd yn yr eglwys, ac i lethu y Puritaniaid, y rhai yr oedd eu calonau yn llosgi gan awydd am ledaeniad egwyddorion gwir grefydd yn y wlad; ac yn yspaid y deuddeng mlynedd y bu *Laud* yn ei rwysg, enciliodd tua phedair mil o'r Puritaniaid i'r America—yr hyn yn ddiau a fu yn golled fawr i'r deyrnas hon, ond yn enill i'r rhan hwnw o'r byd.

O'r diwedd, aeth traha Carl yn ormod i'r wlad allu ei oddef yn hwy; ac heb i ni ymdroi yma i olrhain hanes y Chwyldroad, gallwn ddywedyd fod crefydd efengylaidd wedi cael ei hanadl yn fwy rhydd dan lywodraeth *Cromwel* nag y cawsai ar unrhyw gyfnod o'r blaen. Ond yr oedd y tymhor yn rhy fyr i nemawr o effeithiau hyny gyrhaedd Cymru; eto, rhaid addef fod mwy wedi ei wneyd dan raglawiaeth Cromwel, er efengyleiddio y dywysogaeth, na'r cyfan a wnelsid o'r blaen er toriad gwawr y Diwygiad Protestanaidd, yn amser Harri VIII. Fel hyn y dywedir am sefyllfa Cymru y pryd hyn:—"Yr oedd preswylwyr tywysogaeth Cymru yn amddifaid o foddion gwybodaeth Gristionogol; ychydig a ddeallid ar yr iaith; eu hoffeiriaid oeddynt anwybodus a diog, fel mai prin y caent bregeth o un chwarter i'r flwyddyn i'r llall. Ni feddai y bobl na Beiblau na holwyddoregau; ac nid oedd digon o gynnaliaeth i'r sawl oeddynt alluog i'w dysgu. Y senedd, wedi cymmeryd achos y bobl hyn i ystyriaeth, a gadarnhaodd weithred, Chwef. 22, 1649, er cefnogi lledaeniad a phregethiad yr efengyl yn Nghymru, er diswyddo gweinidogion ac ysgolfeistri anfucheddol," &c.* Ychydig o flyneddoedd cyn hyn y cyflwynasid cofeb i'r brenin a'r senedd, gan rai o garedigion ein cenedl—sef, yn y flwyddyn 1641—yn yr hon y cwynid nad oedd gynnifer o bregethwyr cydwybodol a chysson yn Nghymru ag oedd yno o siroedd; a bod y rhai hyny dan atalfa ac erledigaeth; ac nad oedd ond ychydig iawn yn arddel crefydd.†

Mewn canlyniad i'r penderfyniad uchod o eiddo y senedd, y dirprwywyr a fwriasant allan luaws o offeiriaid anfucheddol a dilafur o eglwysi Deheudir a Gogledd Cymru; a dywaid *Vavassor Powel* am danynt, nad adwaenai efe gymmaint ag un o'r rhai a fwriesid allan yn Ngogledd Cymru yn feddiannol ar rym duwioldeb, nag ond ychydig o honynt ei rhith; ond bod y rhan fwyaf o honynt yn rhai oeddynt yn rhy ddiog i bregethu, neu yn ysgeler yn eu moesau. Y cyllid a ddisgynai fel hyn i ddwylaw y dirprwywyr a drefnid fel y canlyn:—Rhenid y degwm yn chwe' rhan—un ran a roddid i'r gweinidogion a fwriesid allan; yr ail ran i weinidogion ereill, sefydlog a theithiol; y drydedd i gynnal ysgolion, ar amryw o ba rai yr oedd rhai o'r offeiriaid gwrthodedig a'u meibion yn athrawon; y bedwaredd i weddwon a phlant amddifaid yr offeiriaid diswyddedig; y bummed i is-swyddogion perthynol i'r ddirprwyaeth; a'r chweched i weddwon gweinidogion.‡ Nis gallai y dirprwywyr gael digon o bregethwyr duwiol a dysgedig, galluog i bregethu yn yr iaith Gymraeg, i ddiwallu angen y dywysogaeth; ond gwnaethant eu goreu tuag at hyny—gan benodi chwech o wŷr wedi derbyn eu dysgeidiaeth yn y prifysgolion, i fod yn bregethwyr teithiol yn mhob sir, i'r rhai y rhoddid can'punt yn y flwyddyn at eu cynnaliaeth; ac heblaw hyny, hwy a anfonasant allan ddeuddeg ar hugain o weinidogion—pedwar ar hugain o ba rai oeddynt wŷr o'r prif ysgolion, a rhai o'r lleill yn ysgoleigion da. Ond er fod y rhai hyn yn ddynion hynod o lafurus, yr oedd y gweithwyr yn rhy anaml o lawer i'r maes; ac am hyny, detholwyd amryw o lëygion talentog, aelodau o'r eglwysi, i deithio i'r ardaloedd cymmydogaethol, er cyfarwyddo a chynnorthwyo y bobl i gynnal moddion crefyddol. Caniateid i'r rhai hyn o £17 i £20 y flwyddyn am eu llafur; ac yr oedd amryw o honynt yn aelodau o eglwysi Llanfaches a Mynyddislwyn. Dywedir fod y pregethwyr effro hyn wedi bod yn fendithiol i ddychwelyd llawer at yr Arglwydd mewn amryw barthau; ac i grynhoi cynnulleidfaoedd crefyddol lluosawg mewn amryfal fanau drwy y wlad.

* Neal's Hist. of the Puritans, vol. iv., p. 14. † Ib. p. 104. ‡ Ib. p. 105, 106.

Ond bu farw Cromwel yn fuan; ac wedi i Carl II. ddyfod i'r orsedd, efe a adferodd esgobyddiaeth i fod yn grefydd sefydledig y wlad yn fuan; ac ni fuwyd yn hir cyn dechreu ymddial ar yr ymneillduwyr—yn enwedig yr Anymddibynwyr a'r Bedyddwyr—gan erlid a charcharu y gwŷr goreu a feddent. Cafodd Mr. Vavassor Powel, ac amryw o'i gyfeillion o Ogledd Cymru, eu carcharu yn yr Amwythig, heb un achos cyfreithlawn; a'r milwyr, heb ddangos un awdurdod, a yspeiliasant dai llawer o honynt; a chyfyngid mewn llawer ffordd ar yr ymneillduwyr. Ond ar y 19eg o Fai, yn y flwyddyn 1662, daeth deddf yr Unffurfiad i weithrediad, yr hon a fu yn achos i *ddwy fil* o weinidogion teilwng a chydwybodol ymadael âg Eglwys Loegr, ac ymuno â'r gwahanol gynnulleidfaoedd o ymneillduwyr oeddynt yn y wlad. Mewn canlyniad i'r gyfraith hon, cafodd llawer o gynnulleidfaoedd lluosog eu gadael heb weinidogion, a llawer o leoedd eu gorchuddio gan dywyllwch ac anfoesoldeb; ac er fod llawer o'r gweinidogion annghydffurfiol hyn yn foddlon i bregethu am ddim, ni chaniateid iddynt na phregethu na chadw ysgol yn un man.

Fe'n cymhellir i wneyd cydmariaeth yma, rhwng ymddygiad *Cromwel* a'r eiddo *Carl;* neu y Puritaniaid mewn awdurdod a'r Uchel-Eglwyswyr mewn awdurdod.—Pan dan lywodraeth Cromwel y bwrid lluaws allan o'r eglwysi, yn unig ar gyfrif eu hannghymwysder i weini y swydd y cymmerent arnynt eu gweini, gofalid am arlwy iddynt hwy a'u teuluoedd ddefnydd cynnaliaeth rhag angen: ond pan dan lywodraeth Carl II. a'r Uchel-Eglwyswyr, y bwriwyd dwy fil o weinidogion o'r eglwysi, yn unig am eu bod yn gydwybodol o bwysigrwydd eu swydd, a difrifwch eu cyfrifoldeb, cawsant hwy a'u teuluoedd eu gadael i ddyoddef angen a newyn, o ran unrhyw arlwy wladol a wnelid iddynt; ïe, cafodd rhai o honynt eu carcharu am hyd yn nod gynnal addoliad teuluaidd yn nhai rhai o'u cyfeillion a'u noddent yn eu cyfyngder. Diau, "tosturi y drygionus sydd greulawn."

Dywedir fod tua deugain o gynnulleidfaoedd ymneillduol yn Nghymru y pryd hyn—rhai o honynt ar y gyfundrefn Henaduriaethol, a rhai ar yr un Gynnulleidfaol; ac o'r rhai hyn drachefn, yr oedd rhai dros fedydd babanod, ac ereill dros fedydd oedolion crediniol yn unig. Ond y mae yn amlwg fod corph y genedl naill ai yn hollol ddisylw o grefydd, neu ynte yn boddloni eu hunain âg ymlyniad wrth ffurfiau yr eglwys sefydledig, lle nid oedd ond ychydig iawn o fywyd crefyddol yn ffynu, yn enwedig wedi i ddeddf yr Unffurfiad ddyfod i weithrediad. Yr oedd ein cenedl yn suddedig mewn dygn anwybodaeth, a moddion gwybodaeth yn dra diffygiol yn eu plith, er pan ddarfu i'r brenin Carl II. ddystrywio y cynllun addysg a osodasid mewn grym yn Nghymru, gan ddirprwywyr y senedd yn amser Cromwel.* Ond o'r diwedd, cynhyrfwyd ysbryd y Parch. *Gruffudd Jones*, offeiriad duwiol Llanddowror, yn agos i ddechreu y ddeunawfed ganrif, fel yr ymroddes i wneyd ei oreu er gwellhau cyflwr ei gydgenedl yn y peth hwn; ac felly, arferai ddarllen y gwasanaeth yn fisol, ar y dydd Sadwrn o flaen "Sabbath y Cymmun," yn yr amrywiol eglwysi a weinyddid ganddo. Ac wedi darllen yr ail lith, gofynai a oedd neb yn y gynnulleidfa wedi dal sylw ar ryw adnod yn y rhanau a ddarllenasai efe o'r Ysgrythyr; ac wedi i ryw rai enwi rhyw adnod neu adnodau, efe a'u heglurai mewn modd pwyllog a deallus. Yna holai y sawl a fyddai yn dyfod o newydd i'r ordinhad, am waith Ysbryd Duw ar

* Dywaid *Mr. Whitelocke*, yr hwn oedd yn byw yn yr amserau hyny, fod yn y flwyddyn 1653, gant a haner o bregethwyr da yn nhair sir ar ddeg Cymru, y rhan fwyaf o ba rai a bregethent dair neu bedair gwaith yn yr wythnos; bod ysgolfeistr yn mhob tref farchnad, &c."—*Neal's Hist.*, vol. iv., p. 106.

eu heneidiau, am eu gwybodaeth o athrawiaethau yr efengyl, ac am eu bucheddau. Byddai o bymtheg i ddeg ar hugain o'r cyfryw ymgeiswyr yn cael eu holi yn gyhoeddus ganddo ar yr achlysuron hyny, er adeiladaeth neillduol i'r gwrandawyr. Ond yr oedd y rhai oeddynt mewn mwyaf o angen am y cyfryw addysgiaeth—yn enwedig oedolion, y rhai na chawsent nemawr o fanteision dysgeidiaeth yn eu hieuenctyd—yn gwrthod ymostwng i dderbyn ei addysg; am hyny, ei enaid haelfrydig a ddyfeisiodd y ffordd ganlynol i gael gweini addysg i'r tlodion. Efe a gyhoeddodd o'r eglwys, ar y Sabbath, y byddai bara yn cael ei ranu ar y Sadyrnau misol hyn, wedi ei brynu â'r arian a dderbynid ar weinyddiad y cymmun; a phan ddelent i dderbyn y bara, efe a'u gosodai yn rhes, a gofyuai iddynt ychydig gwestiynau hawddaf eu hateb, mewn dull tra serchog a thyner, rhag eu tarfu. Anogai hwynt hefyd i ddysgu adnod neu ddwy o'r Beibl, i'w hadrodd yn gyhoeddus yn yr eglwys, cyn derbyn y bara; a bu hyn yn gymhelliad effeithiol i lawer ddysgu gair yr Arglwydd yn y plwyfau hyny.

Gwedi cael prawf boddlonawl o fuddioldeb y dull hwn o geisio gweini addysg i'w blwyfolion, efe a osododd i fynu *un ysgol* yn gyntaf, i'w chynal â'r arian a dderbynid ar weinyddiad y cymmun; ac yn fuan *ddwy*, &c. Dyma a fu dechreuad yr ysgolion elusenawl Cymreig, y rhai a symudid ar gylch o'r naill ardal i'r llall. Gellid casglu mai perchenog bywioliaeth Llanddowror oedd *Syr John Phillips*, barwniad, o Picton; yr hwn, heb ei gymhell, a ddetholodd Gruffudd Jones i'r ficeriaeth ar gyfrif ei ddysg a'i dduwioldeb yn unig; ac wedi hyny, priododd Mr. Jones â chwaer i Syr John—yr hyn a all fod yn un rheswm paham na lwyddodd ei elynion i'w fwrw allan o'r eglwys, nac i'w rwystro yn y gwaith da.

Efe a arferai fyned yn achlysurol i wasanaethu eglwys Llanllwch, yn agos i dref Caerfyrddin, lle y'i gwrandewid gan foneddiges ieuanc, o'r enw *Miss Bridget Vaughan*, o'r Derllys; yr hon wedi hyny a briodwyd âg *Arthur Bevan*, yswain, o Lacharn. Agorwyd calon y foneddiges hon, dan weinidogaeth effro Mr. Jones, i ddal ar air yr Arglwydd; a'r canlyniad fu, iddi gyssegru ei hun a'i meddiannau at wasanaeth y Gwaredwr; a thrwy ei haelioni Cristionogol, bu o'r cynnorthwy mwyaf i Mr. Jones yn nghynnaliad yr ysgolion elusenawl. Ac ar ol ei farwolaeth, hi a'u cynnaliodd ar ei thraul ei hunan bron yn hollol; fel y mae yr ysgolion hyny hyd heddyw yn cael eu galw "Ysgolion Madam Bevan."

Un arall a ddychwelwyd trwy offerynoliaeth gweinidogaeth y Parchedig Gruffudd Jones, oedd yr enwog DANIEL ROWLANDS, yr hwn wedi hyny a fu yn brif offeryn dygiad yn mlaen y Diwygiad Methodistaidd yn y dywysogaeth.

Ganwyd *Daniel Rowlands* mewn lle a elwir Pant y beudy, yn y flwyddyn 1712—sef, pan oedd Mr. Gruffudd Jones tua deng mlwydd ar hugain oed. Offeiriad oedd ei dad, o'r un enw ag yntau; ac yn berchenog, medd rhai, ar fywiolaethau y ddau blwyf lle y gweinidogaethai—sef, Llancwnlle a Llangeitho; ac yn ol dim a wyddom ni, yr oedd ei dad mor ddyeithr i wir dduwioldeb a'r cyffredin o offeiriaid yr eglwys sefydledig yn Nghymru y dyddiau hyny. Ac y mae yn amlwg i'w fab Daniel gael ei ddwyn i fynu i'r weinidogaeth, heb fod ganddo ar y pryd olygiadau cywir ar bwysfawredd y swydd; o'r hyn yr oedd ei ymarweddiad cyn ei dröedigaeth yn brawf digonol.

Y man y derbyniodd ei ddysgeidiaeth oedd athrofa Henffordd, lle yr amlygai y fath gynneddfau bywiog a dysglaer, ac y cynnyddai mor gyflym mewn dysgeidiaeth, fel y cyfrifid ef yn addas o ran gwybodaeth i dderbyn urddau, pan yn ddeunaw mlwydd oed; a dywedir ei fod wedi cael ei ordeinio yn llawer ieuengach nag yr urddir neb yn bresenol—sef,

pan oedd tuag ugain mlwydd oed, yn ol tystiolaeth ei fab *Nathanael*. Y mae y *Parch. John Owen*, o Thrussington—yn ei Gofiant rhagorol o Mr. Rowlands—yn dweyd fel y canlyn am ei ymarweddiad ar ol dechreu ar ei weinidogaeth—"Yr hyn a draddodir yn ei gymmydogaeth am Rowlands yn ei ieuenctyd, yw ei fod yn llawn o fywiogrwydd cynhenid, ac yn gyfarwydd yn mhob rhyw gampau a chwareuon ofer yr oes. Yr oedd yn dra heinif a gwisgi, o faintioli cyffredin, yn gadarn o wneuthuriad, ac yn rhagori yn mron ar bawb mewn pob math o chwareuon a arferid yn y dyddiau hyny. Yr arfer y pryd hyny oedd myned ar y Sul i'r eglwys, neu i'r Llan yn y bore, a threulio y rhan arall o'r dydd mewn ofer gampau, maswedd, diota, a meddwi. Yr oedd yn gyffredin yn mhob plwyf ryw fan neu le neillduol i ymgynnull ynddo; ac yno, yn mhlith oferwyr, y byddai Rowlands yn flaenaf a mwyaf bywiog ac egnïol o honynt, wedi bod yn yr eglwys yn darllen, yn gweddio, ac yn pregethu yn y boreu! Meddwdod yn ddiau oedd yn canlyn; ac er na chlywais erioed ei fod yn hynod am hyny, ond ei fod yn euog o'r arfer ddrwg hon ar brydiau."*

Cafodd *Daniel Rowlands* a *Howel Harris*—dau brif offerynau y diwygiad Methodistaidd Cymreig—eu deffroi i ystyriaeth o'u cyflwr drwg tua'r un pryd; a dechreuasant bregethu yr efengyl gyda difrifwch tua'r un amser—sef, oddeutu y flwyddyn 1738; ond yn hollol annibynol ar eu gilydd, ac anhysbys o'u gilydd. Am Howel Harris, dywedir ei fod wedi bwriadu myned yn offeiriad, ac aeth i Rydychain gyda y dyben hyny; ond blinodd yn fuan ar annhrefn ac anfoesoldeb y lle hwnw, a dychwelodd at ei gyfeillion yn Nghymru. Pan oedd yn un ar hugain oed, aeth i'r sacrament; ac ar adroddiad y geiriau hyny, "Eu coffa sydd drwm genym," &c., cafodd ei daro yn ei gydwybod â'r ystyriaeth nad oedd efe yn wir deimladwy fod pechod "yn annhraeth i'w oddef," ac ofnodd ei fod yn myned at fwrdd yr Arglwydd â chelwydd yn ei enau. Efallai fod hyn wedi cymmeryd lle ychydig cyn dychweliad Rowlands.

Dan y teimladau argyhoeddedig hyn, dechreuodd Harris fyned i gynghori pechaduriaid o dŷ i dŷ yn ei gymmydogaeth, neu ei blwyf genedigol, i ddechreu; a'r plwyfydd cylchynol yn raddol. Yna efe a gyfododd ysgol ddyddiol yn Nhrefeca i ddechreu, yr hon a symudwyd ganddo drachefn i eglwys y plwyf; a deuai llawer o'r bobl ieuainc ato, er mwyn cael ychydig addysg yn mhethau Duw. Byddai hefyd yn myned atynt i'r cyfarfodydd oedd ganddynt i ddysgu canu salmau, er mwyn cael cyfleusdra i'w rhybuddio yn nghylch eu cyflwr tragywyddol; a thrwy y moddion yma cafodd llawer eu hargyhoeddi. Ac er cyfarfod âg angenion y rhai hyn, dechreuodd Mr. Harris osod i fynu gymdeithasau neillduol, yr hyn a fu yn ddechreuad cymdeithasau neillduol y Trefnyddion Calfinaidd Cymreig.†

Am argyhoeddiad *Daniel Rowlands*, mynegir fel y canlyn:—"Yn ol yr hyn a draddodwyd i mi gan hen bobl yn y gymmydogaeth, ugain mlynedd yn ol, ac ychwaneg—a chan rai a fwynhasent ei weinidogaeth dros ddeng mlynedd ar hugain cyn ei farw—darfu i'w dröedigaeth gymmeryd lle yn y modd canlynol. Arferai y Parch. Gruffudd Jones, sylfaenydd yr ysgolion rhad cylchynol, ddyfod i bregethu mewn amryw eglwysi drwy y wlad. Daethai ar droion i Landdewi-brefi, yr hon sydd o bedair i bum' milldir o Langeitho; a chan fod ei bregethu yn dra deffrous, nerthol, ac efengylaidd, aethai llaweroedd i'w wrando. Ar un tro, cynhyrfwyd Rowlands mewn rhyw fodd neu gilydd i fyned i'w glywed. Yr oedd y pryd hyn o

* Cofiant y Parch. D. Rowlands, gan y Parch. J. Owen, t.d. 8, 9.
† Hanes Crefydd yn Nghymru, t.d. 626. Drych yr Amseroedd, t.d. 59.

olwg ucheldrem falchïaidd iawn, ac yn ymddangos yn llawn coegni ac ysgafnder. Gan mor luosog y gwrandawyr, nid oedd le iddynt i eistedd; ac yn eu mysg, gyferbyn a'r pregethwr, y safai Rowlands, yn eglur chwyddedig gan falchder, ac yn llawn o hunan; a dirmyg a gwatwar megys yn eistedd ar ei wyneb. Mor falch a choegaidd a dirmygus oedd ei olwg, fel y tynodd sylw neillduol Mr. Jones tra yr ydoedd yn pregethu; ac yn gymmaint felly, fel y darfu iddo dori allan mewn gweddi ddifrifol a thoddedig, dros y dyn ieuanc balchaidd oedd ger ei fron; gan erfyn ar Dduw yn benodol ei wneuthur yn offeryn cymhwys a defnyddiol er troi llawer o dywyllwch i oleuni. Dywedir i'r weddi hon effeithio yn fawr arno. Ei ymddangosiad wrth ddychwelyd adref oedd yn wahanol iawn i'r hyn ag ydoedd o'r blaen. Yr oedd yr olwg goegaidd a'r ofer siarad wedi ymadael, a'r gwyneb tua'r ddaear, a'r pen yn ostyngedig; ac amlwg oedd fod y meddwl yn dwys fyfyrio.*

Wedi i'w feddwl gael ei ddifrifoli fel hyn, cymmerodd cyfnewidiad mawr le yn ei bregethau; ond er fod difrifwch mawr yn ei bregethau, a'i fod yn feddiannol ar alluoedd meddwl tra bywiog, nid oedd eto yn meddu golygiadau hollol gywir am wirioneddau yr efengyl; ond yr oedd rhyw gymmaint o ddeddfolrwydd yn ei olygiadau, annghydunol â gwir ansawdd yr efengyl. Ond yr Ysbryd Glan, yr hwn a ddechreuasai waith da ynddo, a'i dygodd yn fuan i feddu goleuni dysgleiriach ar wirioneddau yr efengyl, ac a'i tywysodd wrth y gwirionedd hwnw hyd angeu; ac efallai fod ei gyfeillach â rhai o hen ymneillduwyr duwiol Llwyn y pïod wedi bod o beth cynnorthwy iddo. Y misoedd cyntaf wedi deffroi ei feddwl at ei gyflwr ei hun, yr oedd ei bregethau yn ofnadwy, ac o'r braidd yn annyoddefol i'r gwrandawyr. Darluniai fanylrwydd ac ysbrydolrwydd annewidiol deddf Duw, trueni anaele dynolryw fel troseddwyr o honi, a'r arswydolrwydd anamgyffredadwy oedd yn ei bygythion, gyda nerth ac egni anarferol. Yr oedd ef ei hunan yn gwersyllu ar y pryd dan odreu Sinai, a'i ysbryd yn llawn braw yn yr olwg ar ei gyflwr; a chan wybod ofn yr Arglwydd, rhybuddiai ei gymmydogion gyda'r difrifwch a'r dwysder mwyaf o'r perygl yr oeddynt ynddo, oddiwrth ddigofaint yr Hollalluog; er hyny dywedir nad oedd dim crasder na sarugrwydd yn ei lais, ond yn hytrach y tynerwch mwyaf toddedig; llefarai fel un wedi ei orlenwi â chydymdeimlad, a than yr argyhoeddiad dyfnaf o'i annheilyngdod ei hun. Dylynid y pregethu dyeithrol yma âg effeithiau rhyfedd yn fuan; canys er mor frawychus oedd y genadwri, ymgynnullai miloedd dros y mynyddau anial i Langeitho, i wrandaw arni; a'r fath arswyd a'u meddiannai, fel y syrthient i lawr yn aml megys meirwon. Dyhidlai dagrau dros ruddiau cannoedd ar unwaith; clywid y gruddfanau dwysaf yn esgyn o fynwesau lluaws o'i wrandawyr, fel pe buasent yn sefyll ar ddibyn anobaith; a'r rhai mwyaf cyndyn, masweddgar, ac annuwiol, a wylent yn aml dan yr argyhoeddiadau dyfnaf. Mae rhai yn dweyd iddo barhau i bregethu yn y dull taranllyd yma dros oddeutu pedair neu bum' mlynedd wedi ei argyhoeddiad ei hunan, dan y Parch. Gruffudd Jones; ac y mae hyny yn cyduno â'r hyn a ddywed ei gydlafurwr *Williams*, yn y farwnad annghydmarol a gyfansoddodd efe iddo:—

"'Nol pregethu'r ddeddf dymhestlog
*Rai blynyddau yn y bla'n*,
A rhoi llawer yn friwedig,
'Nawr cyfnewid wnaeth ei gân."

* Hanes bywyd D. Rowlands, t.d. 10, 11.

Mae yn debyg iddo ddechreu myned i ardaloedd a gwledydd oddiallan i'w blwyfydd ei hunan i bregethu, yn lled fuan ar ol ei dröedigaeth; er na phregethai y pryd hyny namyn yn yr eglwysi a'r capelydd eglwysig: canys fel hyn y dywaid Williams—

"Pump o siroedd penaf Cymru
Glywodd y taranau mawr," &c.

Wrth yr hyn y gallem feddwl ei fod wedi ymweled â rhyw ranau o bump o siroedd Cymru, cyn "cyfnewid ei gân;" hyny yw, cyn i'w ysbryd ef ei hunan gael profi y llawenydd sydd gan gredu, nes ei droi fel gweinidog yn "fab diddanwch," yn hytrach na "mab y daran."

Yr amgylchiad a arweiniodd Rowlands i bregethu allan o'i gymmydogaeth ei hun gyntaf, oedd yr un canlynol:—Yr oedd gwraig yn Ystrad Ffin, yn sir Gaerfyrddin, a chanddi chwaer yn byw yn nghymmydogaeth Llangeitho, i ymweled â'r hon y deuai ar brydiau; ac ar rai o'r achlysuron hyny, clywodd Rowlands yn pregethu, a chafodd y fath flas ar ei weinidogaeth, fel y deuai yno yn ddyfal bob Sabbath, er mwyn ei glywed—er fod iddi dros ugain milldir o ffordd fynyddig a blin. Wedi parhau yn cyrchu yno felly am oddeutu haner blwyddyn, teimlai awydd cryf i gymhell "*Offeiriad crac*" Llangeitho, fel y'i gelwid, i ddyfod i Ystrad Ffin i bregethu, fel y gallai ei chymmydogion glywed yr un gwirioneddau ag y profasai ei henaid ei hun y fath rym trwyddynt; felly hi a aeth ato, ar ol y gwasanaeth un Sabbath, gan ddywedyd, "Os gwir, Syr, yr ydych yn ei ddywedyd wrthym, y mae llawer yn fy nghymmydogaeth i mewn cyflwr peryglus iawn, yn myned yn gyflym i'r trueni tragywyddol. Er mwyn eneidiau gwerthfawr, deuwch trosodd i bregethu iddynt." Y cyfarchiad yma a barodd iddo synu; ond efe a'i hatebodd yn ddibetrus, "Deuaf, os cewch genad offeiriad y plwyf." Wedi cael y fath addewid werthfawr, hi a aeth adref yn llawen, a gofynodd genad offeiriad y plwyf, yr hyn a gafodd yn rhwydd; a'r canlyniad fu i Rowlands fyned yno, a phregethu dan y fath arddelwad dwyfol grymus, fel y dywedir i ddeg ar hugain gael eu hargyhoeddi drwy y bregeth hono.

Bychan y meddyliodd Rowlands, na'r wraig grybwylledig ychwaith, fod y tro hwn yn cynnwys pregethu teithiol Cymru yn yr eginyn; ac yr arweinid ef—trwy ei waith yn myned allan o'i blwyf i bregethu, ar gais gwraig ddysyml o Ystrad Ffin—i fyned allan o ffiniau eglwys Loegr. Mor ddystadl yw y moddion a ddefnyddia yr Arglwydd i gynnyrchu ysgogiadau mawrion! fel y byddai godidowgrwydd y gallu o hono ef, ac nid o ddynion.

Ond er fod llwyddiant rhyfeddol yn dilyn pregethau y dyn rhyfedd hwn, wedi ei ddeffroi ei hunan gan Ysbryd Duw, a bod lluoedd mawrion yn cyrchu i'w wrandaw, hyd oni orlenwid eglwys fach Llangeitho, nid oedd ei weinidogaeth finiog yn boddhau pawb o'i blwyfolion; ac amryw o'i hen gymdeithion blaenorol mewn oferedd a galedwyd, fel na ddeuent i'w wrandaw o gwbl; ond ymneillduent i ben rhai o'r bryniau oddiar Langeitho, i ymddifyru ar y Sabbathau yn eu chwareuyddiaethau annuwiol; a chyrchai lluoedd o ieuenctyd ysgeifn ac anystyriol yr ardaloedd cylchynol yno atynt, i gyfranogi yn eu difyrwch. Gofidiai hyn ysbryd tyner y diwygiwr ieuanc yn fawr; ac wedi methu atal yr ymgynnulliad llygredig hwn trwy unrhyw foddion arall, efe a benderfynodd fyned atynt, ac ymosod arnynt ar eu tomen eu hun; ac yno yr aeth, wedi ymwroli yn enw ei Dduw—a bu ei weinidogaeth mor rymus ac effeithiol ar y gynnulleidfa fel na fu yno un ymgynnulliad llygredig mwyach. Felly, yn y tro hwn,

efe a gafodd brawf o foddlonrwydd Duw ar ei waith yn pregethu yr efengyl yn yr awyr agored, ac mewn llanerch annghyssegredig; yr hyn, mae yn wir, oedd yn groes i drefniadau y sefydliad eglwysig hwnw y perthynai efe iddo—ond yr ydoedd yn foddhaol gan ei Dduw, ac yn dda i'w gyd-ddynion.

Yr oedd gweinidogaeth *Howel Harris* ar y dechreu yn gyffelyb i'r eiddo Rowlands—yn hynod o daranllyd, a chyfaddasrwydd neillduol ynddi i ddeffroi gwlad o'i thysgadrwydd. Nid oedd Harris yn ystyried ei hunan yn bregethwr, ac ni chymmerai yr un testyn; ond llefarai yr hyn a roddid iddo ar y pryd—gan rybuddio ei gymmydogion i ffoi rhag y llid a fydd, a Duw yn dwyn tystiolaeth i air ei ras.

Dyma y darluniad a ddyry bardd Pant y celyn o ansawdd ein gwlad ar ei gyfodiad, ac o natur ei genadwri yntau, a'i heffeithiau:—

"Pan 'roedd Cymru gynt yn gorwedd
Mewn rhyw dywell farwol hun,
Heb na phresbyter na 'ffeiriad,
Nac un esgob ar ddihun;
Yn y cyfnos tywyll pygddu
Fe ddaeth dyn fel mewn twymn ias,
Yn llawn gwreichion goleu tanllyd,
O Drefeca fach i ma's.

Yn y daran 'roedd e'n aros,
Yn y cwmwl 'roedd ei le;
(Ysbryd briw, drylliedig, gwresog,
Sy'n cael *cwnsel* brenin ne';)
Ac yn saethu oddiyno allan
Fellt ofnadwy iawn eu rhyw,
At y dorf aneirif dywell,
Yn eu pechod oedd yn byw.

Gwerin fawr o blant pleserau,
Y pryd hwnw, gafodd flas
Ag nad â tra fyddo anadl
O'u hysbrydoedd ddim i ma's.
'Roedd ei eiriau dwys, sylweddol,
Heb eu *studio* 'mlaenllaw'r un,
Wedi eu *ffitio* gan yr Ysbryd
I gyflyrau pob rhyw ddyn."

Efe a fu yn foddion fel hyn i gynnyrchu deffroad yn meddyliau lluaws mawr o ddynion, a diwygiad amlwg yn eu moesau, mewn amryw ranau o siroedd Brycheiniog a Maesyfed; a'r penswyddogion yn bygwth ei gosbi, a'r offeiriaid yn pregethu i'w erbyn—gan ei nodi allan fel gau brophwyd a thwyllwr, a'r werin yn barod i'w niweidio ar yr amnaid lleiaf. "Eto," medd efe, "yn wyneb yr holl wrthwynebiadau hyn, yr oeddwn yn cael fy nghario yn orfoleddus uwchlaw y cwbl, fel ar adenydd eryr." Hyd yn hyn, nid yw yn ymddangos ei fod ef yn gwybod am neb o gyffelyb feddwl iddo ei hunan, fel diwygiwr, yn Nghymru na Lloegr; ond tua diwedd y flwyddyn 1737, efe a glywodd gan gyfaill a ddaethai o Lundain, am ŵr eglwysig ieuanc o'r enw *Mr. Whitfield*, yr hwn a arferai bregethu bedair gwaith yn y dydd, a bod rhyw effeithiau anarferol yn canlyn ei weinidogaeth; ac er ei lawenydd, yn nechreu y flwyddyn ganlynol, efe a dderbyniai lythyr oddiwrtho, yn ei anog i fyned yn mlaen yn galonog yn ei waith. Fe ddichon mai tua'r un amser y clywodd efe am Rowlands, yn Llangeitho, yn tori allan gyda'r un gwaith ag yntau.

Yn foreu ar dymhor llafur Harris, cafodd *William Williams*, o Bant y celyn, ei argyhoeddi wrth ei wrando yn traddodi ei genadwri bwysig yn mynwent Talgarth, ar ol y gwasanaeth yn y llan, at yr hyn y cyfeiriai mor doddedig yn ei farwnad:—

"Dyma'r bore, fyth mi gofiaf,
Clywais inau lais y nef:
Daliwyd fi gan wŷs oddiuchod,
Gan ei swn dychrynllyd ef:
Ac er crwydro'r dyrys anial,
Ol a gwrthol di leshad,
Tra fo anadl yn fy ffroenau
Mi a'i galwaf ef yn dad.

Dyna'r fan, tr'wyf byw mi gofiaf,
Gwelais i di gynta' erioed—
O flaen porth yr eglwys eang,
Heb un twmpath dan dy droed;
Mewn rhyw ysbryd dwys sylweddol,
Fel yn ngolwg dydd a ddaw,
Yn cynghori dy blwyfolion,
A dweyd bod y farn gerllaw."

Yr oedd Williams ar y pryd hyn wedi bod dan addysg un o weinidogion yr ymneilldüwyr, o'r enw Mr. Price, o Faes yr onnen, yr hwn oedd yn cadw athrofa enwog yn y Gelli, a'i fwriad oedd myned yn feddyg; ond effaith dwys gweinidogaeth Harris ar ei feddwl a barodd iddo ymgyssegru i'r weinidogaeth; ac yn y flwyddyn 1740, efe a gymmerth urdd diacon yn yr eglwys sefydledig, a gwasanaethodd ynddi dros oddeutu tair blynedd—a hyny, medd yr hanes, gydag ond ychydig lwyddiant, i bobl dywyll ac anfoesol iawn. Er hyny, fe debygid ei fod yn annyoddefol gan lawer, canys fe achwynwyd arno yn llys yr esgob, a gosodwyd yn ei erbyn, medd efe, bedwar ar bymtheg o bechodau—megys, peidio rhoddi arwydd y groes wrth fedyddio; peidio darllen rhyw ranau o'r gwasanaeth; myned allan i'r prif-ffyrdd a'r caeau i bregethu, &c. Y canlyniad fu iddo ymadael âg eglwys Loegr, *ac efe oedd yr offeiriad cyntaf a droes allan o'r eglwys, yn mysg tadau Methodistiaeth yn Nghymru.* Gwedi hyn y daeth efe i gydnabyddiaeth â Daniel Rowlands, yr hwn a fyddai yn dyfod weithiau i bregethu yn nghapel eglwysig Ystrad Ffin, yr hwn oedd o fewn y plwyf yr oedd Williams yn byw ynddo; ac fel hyn y ffurfiwyd cyfeillgarwch rhyngddynt a barhaodd hyd angeu. Efallai mai at hyn y cyfeiriai yn y llinellau canlynol:—

"Daeth y swn dros fryniau Dewi,
Megys fflam yn llosgi llin,
Nes dadseinio creigydd Tywi,
*A hen gapel Ystrad Ffin.*"

Yn fuan iawn, ymunwyd â'r gwŷr uchod gan y Parchedigion *Hywel Dafis*, *Peter Williams*, ac amryw ereill, y rhai a fuant yn offerynau tra gwasanaethgar yn nwylaw pen yr eglwys, i ddwyn y diwygiad yn mlaen; tra y gwasanaethid hyny yn benaf gan Harris, Rowlands, a Dafis, trwy eu doniau fel pregethwyr digyffelyb, gwasanaethid yr unrhyw ysgogiad yn dra grymus ac effeithiol trwy emynau ac ysgrifeniadau ereill y Parchedig William Williams, a thrwy sylwadau melusion ac adeiladol y Parchedig Peter Williams ar y Beibl, a'i Fynegair Ysgrythyrol. Cyfodwyd hefyd amryw gynghorwyr, y rhai oeddynt yn ddynion o sefyllfa barchus yn y

byd, ac amryw o honynt wedi eu donio â thalentau naturiol uwchlaw y cyffredin o'u cymmydogion; ac wedi gweled gogoniant Crist eu hunain, hwy a gyssegrasant eu meddiannau, eu hamser, a'u talentau, i geisio dangos ei ogoniant i'w cydgenedl—megys, yr hybarch *Ddafydd Morus*, a lluaws ereill, y rhai y bu eu llafur mor gymmeradwy a bendithiol a neb o'r offeiriaid.

Dros y blyneddau cyntaf, arferai Harris, Rowlands, a'r ddau Williams, a'u cydlafurwyr, deithio trwy siroedd Cymru, gan bregethu mewn tai annedd, mewn ysguboriau, yn yr awyr agored, neu unrhyw le y caffent gyfleustra i gynghori pechaduriaid; canys nid oedd capelau wedi eu hadeiladu, ac nid yw yn debyg eu bod yn meddwl cynnyg ar y fath beth; ac nid oedd gynnulleidfaoedd rheolaidd wedi eu ffurfio, nac un amcan gan y diwygwyr hyn i ffurfio cyfundeb rheolaidd o ymneillduwyr oddiwrth yr eglwys sefydledig. Yr oedd holl ragfarn eu dygiad i fynu yn peri eu bod yn teimlo parch i'r eglwys sefydledig; eu hawydd, eu dymuniad, a'u gobaith, oedd gweled diwygiad yn cymmeryd lle yn yr eglwys, ac nid ffurfio corph o ddiwygwyr oddiallan iddi. Nid oeddynt yn deall egwyddorion Ymneillduaeth, nac yn gofalu am chwilio iddynt; dysgwylient weled lluaws offeiriaid y dywysogaeth yn cael tywalltiad o'r un ysbryd ag a fwynhasent hwy eu hunain, fel y buasent yn ymroddi bob un i lafurio yn onest yn eu plwyfydd eu hunain, ac yn barod i gyfnewid eglwysi â'u gilydd ar achlysuron, mewn brawdgarwch; ac yna buasai y cynghorwyr yn eithaf boddlon i roddi i fynu eu llafur teithiol, gan lafurio yn unig i gynnorthwyo offeiriaid eu plwyfydd cartrefol, mewn rhyw lwybr rheolaidd, yr hyn ni fuasai yn gofyn am gymmaint o hunanymwadiad ar eu rhan; ac felly, er fod tua saith ugain o gymdeithasau neillduol wedi eu crynhoi ganddynt, a thua deugain o bregethwyr neu gynghorwyr wedi eu chwanegu atynt mewn ysbaid deng mlynedd—sef, erbyn y flwyddyn 1746—nid oedd ganddynt eto yr un addoldy wedi ei gyfodi at wasanaeth y cyfundeb. Ac er iddynt o'r diwedd gyfodi lluaws o addoldai dros holl wyneb y dywysogaeth, yr oeddynt mor bell o fwriadu ymneillduo oddiwrth yr eglwys sefydledig, fel y parhasant i ryw lynu wrthi hi dros ddeg neu bymtheng mlynedd a thriugain—gan gymmeryd eu plant i'w bedyddio gan ei gweinidogion, yn hytrach na chan weinidogion unrhyw enwad ymneillduol; ac os byddai ambell offeiriad lled ddiargyhoedd mewn plwyf, er na byddai ryw arwyddion amlwg o grefyddolder arno, ni phetrusent gyrchu yn finteioedd i gyfranogi o swper yr Arglwydd o ddwylaw y cyfryw un. Mewn gair, cyndyn wrthwynebiad yr offeiriaid penaf, a mawrion y wlad yn gyffredinol, i ddwyn crefydd efengylaidd i lanau plwyfol y dywysogaeth, a yrodd ein tadau i gyfodi capelau, lle y gallent gyfarfod i ddarllen yr Ysgrythyrau, ac i wrandaw ar ryw rai y cyffyrddasai Duw â'u calonau, yn traethu cenadwri dros Dduw. A pharhad yr esgobion, a'r noddwyr eglwysig, i benodi i'r bywioliaethau eglwysig ddynion na feddent y cymhwysderau lleiaf i fod yn bregethwyr efengyl Crist, ag oeddynt yn hollol ddiofal hyd yn nod am rith sancteiddrwydd yn eu buchedd—a'u gorfododd o'r diwedd, yn mhen pymtheng mlynedd a thriugain wedi dechreuad Methodistiaeth, i neillduo brodyr o'u plith eu hunain i weinyddu yr ordinhadau yn eu cynnulleidfaoedd, ac felly ymffurfio am y waith gyntaf fel cyfundeb crefyddol ymneillduedig oddiwrth yr eglwys sefydledig—yr un modd yn hollol ag y gorfu i'r Puritaniaid ymneillduo yn amser *Elisabeth.*

Fy marn benderfynol i ydyw—oddiar y teimlad a welais fy hunan yn mysg Methodistiaid yr oes ddiweddaf—pe buasai yr esgobion a'r noddwyr eglwysig yn Nghymru, haner can' mlynedd yn ol, yn ymroddi yn gydwybodol i lenwi yr holl fywioliaethau eglwysig, â dynion tebyg i fod yn

"weinidogion cymhwys y Testament Newydd," y buasai holl addoldai y Methodistiaid wedi eu troi yn ysgoldai dyddiol, neu yn gapelau cynnorthwyol i'r eglwys sefydledig; canys nid wyf yn meddwl bod un o gant o Fethodistiaid Cymru, ddechreu y ganrif bresenol, wedi rhoddi nemawr ystyriaeth i egwyddorion trefn eglwysig, fel y'u dysgir yn y Testament Newydd. Ond erbyn heddyw y mae yn dra gwahanol; canys y mae y parch traddodiadol hwnw oedd yn mynwesau yr hen Fethodistiaid at yr eglwys sefydledig wedi ei golli gan eu plant, y rhai ydynt wedi darllen, a meddwl, a ffurfio barn iddynt eu hunain am egwyddorion sefydliadau eglwysig, ac y maent yn ffieiddio undeb yr eglwys a'r wladwriaeth fel undeb anachaidd, niweidiol i wlad ac eglwys, a hollol anysgrythyrol; ac efallai iddynt gael eu harwain i hyn yn benaf oll drwy waith yr offeiriaid yn gwneyd y fath goegfost o'u "holyniaeth apostolaidd," tra yr oedd gweithredoedd y rhan fwyaf o honynt yn gyfryw na buasai yr un o'r apostolion, oddieithr "yr Iscariot," yn barod i'w haddef fel nodau eu holynwyr. Ac erbyn heddyw, yr ydwyf yn meddwl, pe cynnygiai yr esgobion urddau a bywioliaethau eglwysig i holl weinidogion y Trefnyddion Calfinaidd, a'u bod hwythau mor ddiegwyddor a derbyn y cyfryw gynnygiad, na chludent gyda hwy *un o gant* o'n baelodau presenol i fynwes "yr hen fam," gan ein bod yn gydwybodol yn barnu y drefn eglwysig henaduriaethol yn fwy ysgrythyrol, a'r egwyddor wirfoddol yn fwy cyfiawn a chymhwys i ddwyn achos crefydd yn mlaen dan oruchwyliaeth y Testament Newydd.

Ni chwanegaf: ond cyfeirir y sawl a fyno ymgydnabod yn fanylach â hanes *Daniel Rowlands*, a'r diwygiad Methodistaidd, at y llyfr tra dyddorol a gyhoeddir gan Mr. Hughes, o Liverpool—sef, METHODISTIAETH CYMRU.

# DARLITH XII.

## CHARLES Y BALA, A'I AMSERAU.

AM y diweddar Barchedig Thomas Charles, o'r Bala, gellir dywedyd ei fod yn un o "rai rhagorol y ddaear"—yn ŵr y cafodd nid yn unig *Cymru* elw o'i fagu, ond y *byd* elw o'i fod ynddo. Daeth i'r byd yn greadur llygredig fel ereill, ond yn lled fuan efe a gafodd drugaredd—dygwyd ef i'w adnabod ei hun, a thruenusrwydd ei gyflwr, ac i adnabod yr unig ffordd a drefnodd Duw i'w wellhau; ac yn nhrueni a drygedd ei gyflwr ei hunan, gwelodd drueni a drygedd cyflwr y byd—tosturiodd wrtho, a'i dosturi a'i cariodd i ymdrechu hyd ei allu, ac uwchlaw ei allu, er ei wellhau; a gellir dweyd am dano yn ddibetrus, iddo adael y byd yn well nag y'i cafodd, ac iddo wneyd mwy tuag at y gwellhad hwnw nac odid un dyn arall ar wyneb y ddaear yn y tymhor hwnw. Anfynych y cynnyrcha gwlad neu genedl, ddynion a ddelweddant gymmeriad moesol cenedl; rhyw ambell un mewn oes a fydd yn rhagori cymmaint ar ei gydoesolion mewn llafur a llwyddiant, fel ag y gellid gyda phriodoldeb gymhwyso ei enw i

ddynodi cyfnod arbenig yn hanes y genedl.—Yr oedd Mr. Charles yn un o'r cyfryw; a diau na chyfeiliornwn wrth ddywedyd, ddarfod i'w lafur adael mwy o ddylanwad ar genedl y Cymry, er ffurfio eu nodwedd presenol, nag a adawodd yr eiddo neb arall, yn ystod y triugain mlynedd diweddaf. Gan hyny, tybygaf nad amhriodol ydyw i mi gyssylltu ei enw ef âg adroddiad o hanes, neu adolygiad ar nodwedd cenedl y Cymry, yn yr yspaid crybwylledig.

Yr oedd yr adeg a'r lle y'i dygwyd i fynu, cyfeillion ac amgylchiadau ei ieuenctyd, oll yn cyd-dueddu i'w nodi ef allan, a'i gyfaddasu i lenwi cylch mawr o ddylanwad a defnyddioldeb yn mysg ei gydgenedl. Efe a anwyd yn y flwyddyn 1755, tra yr oedd yr hen ddiwygwyr Methodistaidd eto yn fyw; a'r tân sanctaidd a enynasid yn Nhalgarth a Llangeitho, ac a daenasid dros wyneb y dywysogaeth, heb ddechreu oeri. Ganwyd a magwyd ef hefyd yn agos i gryd y diwygiad hwnw—sef, cymmydogaeth Llanddowror, lle y buasai yr hybarch Gruffudd Jones, tad y diwygiad, yn llafurio flyneddoedd lawer. Cafodd ei addysg foreuaf, debygid, yn un o'r ysgolion cyntaf a sefydlasid ganddo; a derbyniodd ei argraffiadau crefyddol cyntaf trwy gyfeillachu â rhai o hen ddysgyblion y gweinidog effro hwnw. Anfonwyd ef i'r ysgol i Landdowror pan ydoedd o ddeg i ddeuddeng mlwydd oed, lle y bu am o dair i bedair blynedd; ac yn fuan ar ol ei fynediad yno y dechreuodd deimlo pryder gyntaf yn achos ei gyflwr ysbrydol; eto, nid oedd yr argyhoeddiadau ar ei feddwl ond ysgeifn ac arwynebol iawn dros oddeutu blwyddyn, na'i syniadau am yr hyn a gyfansoddai grefydd ond tywyll a chymmysglyd. Ond tra yr oedd eto yn y cyflwr yma, ac yn fachgen yn ysgol Llanddowror, efe a arweiniwyd yn rhagluniaethol i adnabyddiaeth o hen Gristion duwiol a deallus, o'r enw Rhys Huw, un o hen ddysgyblion Gruffudd Jones. Y gŵr hwn, wrth ei weled yn fachgen hywaith, ac o deimladau crefyddol, a'i dysgodd ef yn fanylach yn ffyrdd Duw; ac unwaith neu ddwy bob wythnos, gallesid gweled y bachgenyn penfelyn yn hwylio ei gamrau tua bwthyn yr hen Rys Huw, lle yr oedd ei enaid yn cael ymgeledd ac adeiladaeth ysbrydol gan yr henafgwr penllwyd profedig; a mynych y cawn ni grybwyllion parchus a serchog gan Mr. Charles, yn ei ddyddlyfr, yn mhen blyneddoedd, am addysgiadau gwerthfawr Rhys Huw, yr hwn a gyfrifai ei dad ysbrydol. Dyma ffaith dra addysgiadol i ieuenctyd barchu hen bobl dduwiol, ac i ymwasgu i'w mynwesau; ac anogaethol iawn hefyd i hen bobl grefyddol i fod yn dirion wrth y cyfryw ieuenctyd, ac yn dringar o honynt. Addefa Mr. Charles fod ei grefydd y pryd hyn yn gynnwysedig gan mwyaf o ddymuniadau cryfion am ryw beth nad oedd eto wedi cyrhaedd ato, gydag ymroad i ddefnyddio pob moddion at ei gael. Gwnaeth broffes gyhoeddus o grefydd; aeth yn mlaen yn wylaidd i gyfranogi o swper yr Arglwydd; ac ymdrechodd i ddwyn crefydd i deulu ei dad, yn yr hyn y dywaid fod ganddo sail i obeithio na bu ei ymgais gwan yn aneffeithiol.

Pan ydoedd tua phedair mlwydd ar ddeg oed, danfonwyd ef i'r athrofa yn Nghaerfyrddin, yr hon oedd y pryd hyny dan olygiaeth y Parchedig Mr. Jenkins; ac yn fuan wedi ei ddyfodiad i'r dref hono, ymunodd â'r gymdeithas eglwysig berthynol i'r Trefnyddion Calfinaidd, ac yno cyfarfu âg amryw bobl gwir dduwiol—ymddiddanion y rhai a fuant yn dra bendithiol i'w enaid; ond oddiwrth ormod cyfeillgarwch gyda phroffeswyr diofal, uchelfrydig, a llonwych, bu mewn perygl o gael niwaid mawr, hyd oni agorodd yr Arglwydd ei lygad i weled ei berygl, ac felly ei achub o'u maglau.

Pan oedd tua deunaw mlwydd oed, efe a gafodd y fraint fawr o glywed

y Parch. Daniel Rowlands, yr hwn a bregethai yn y Capel Newydd, yn sir Benfro. Ei destyn y pryd hwn oedd Heb. iv. 15, "Canys nid oes i ni archoffeiriad heb fedru cyd-ddyoddef gyda'n gwendid ni; ond wedi ei demtio yn mhob peth yr un ffunud a ninau, eto heb bechod." Fe dybygid fod llewyrch grymus anarferol wedi tywynu i'w feddwl trwy y bregeth hono, fel y byddai ar yr 20ed o Ionawr, blwyddwyl yr oedfa grybwylledig, yn ei nodi yn ei ddyddlyfr, tra y parhaodd i ysgrifenu ynddo, fel diwrnod ar ba un y cawsai ddatguddiad hynod o ras a thrugaredd Duw i'w enaid. Am dano cawn y sylw canlynol unwaith yn ei ddyddlyfr:—"Diwrnod oedd hwn yn haeddu coffadwriaeth tra y byddwyf byw! O'r diwrnod dedwydd hwnw yr ydwyf wedi byw megys mewn nefoedd newydd a daear newydd. Ni byddai y cyfnewidiad a brofai dyn dall, wrth gael ei olwg, yn fwy hynod na'r cyfnewidiad a brofais i y pryd hwnw ar fy meddwl. Y pryd hwnw yr argyhoeddwyd fi gyntaf o'r pechod o annghrediniaeth, ac o gynnwys meddyliau culion a chaledion am yr Hollalluog. Cefais y fath olwg ar Grist fel ein harchoffeiriad, ar ei gariad, ei dosturi, ei allu, a'i holl-ddigonolrwydd, ag a lanwodd fy enaid â syndod, a llawenydd annhraethadwy a gogoneddus. Gorchfygwyd fy meddwl â syndod. Yr oedd y gwirioneddau a ddygwyd i'm golwg yn ymddangos bron yn rhy rasol i'w credu. Nis medrwn braidd gredu gan wir lawenydd. Bydd i'r golygiadau gogoneddus a gefais y pryd hyny, ddiwallu fy enaid, trwy fyfyrio arnynt, filiynau o flyneddoedd i ddyfod. Yr oedd genyf o'r blaen ryw ddarluniad o wirioneddau yr efengyl, ond ni threiddiasant yn rymus i'm calon hyd y tro hwn. Parhaodd effaith y bregeth hon arnaf am fwy na haner blwyddyn, ac yr oeddwn yn gyffredin mewn hwyl gysurus. Yn fynych wrth rodio yn y meusydd, edrychwn i fynu tua'r nef, a galwn ef yn gartref i mi, dan hiraethu am ymddangosiad fy Iachawdwr gogoneddus, i'm cymmeryd dros byth ato ei hun."—Efe a gafodd fyned ato, ond nid y pryd hyny, fel ag y dymunai; ac yn wir, braidd na ddywedem fod gormod o hunangais yn ei ddymuniad—y milwr ieuanc yn dymuno cael ei drosglwyddo i fröydd y lawryf, cyn dechreu ymladd un frwydr! y llafurwr yn dyheu am noswyl i swpera, gan y blas a gawsai ar y boreubryd, cyn dechreu ei ddiwrnod gwaith! Na, na, yr oedd yn mwriad ei Dduw doeth i Siarl weithio ei ddiwrnod yn ddifefl cyn noswylio, a gwneyd llawer ymosodiad llwyddiannus ar amddiffynfeydd y gelyn cyn diosg ei arfau! Ond yr ydym yn maddeu iddo, ac yn cydymdeimlo o'r galon â'i ddymuniadau hyn, gan mai gorferw cariad at Dduw yn Nghrist a barai i'w enaid frefu fel hyn am gael myned ato, i'w fwynhau mewn perffeithrwydd.

Yn y flwyddyn 1775—sef pan oedd efe yn ugain mlwydd oed—agorwyd ffordd iddo yn nhrefn Rhagluniaeth, mewn modd annysgwyladwy, i fyned i'r brif athrofa yn Rhydychain. Pa fodd y bu hyn, ni hysbysir i ni yn yr un o'i gofiannau a welais i; fel hyn yn unig y crybwyllai efe ei hunan am y tro, yn ei ddyddlyfr:—"Yn y flwyddyn 1775 y darfu i ragluniaeth, yn dra annysgwyladwy a rhyfeddol, agoryd fy ffordd i fyned i Rydychain; yr hyn nid oedd fy rhieni na minau, na neb o fy mherthynasau, wedi cynnwys mo'r meddylion lleiaf am dano hyd y pryd hwn. Ond yn awr, yr oedd y rhwystrau oll wedi eu symud, a phenderfynwyd ar i mi fyned yno. I minau yr oedd yn foddlonrwydd mawr edrych ar y moddion trwy ba rai yr agorasai yr Arglwydd fy ffordd i fyned; ac yr oedd yr un ystyriaeth yn magu ynof hyder cryf y byddai i mi gael fy nghadw trwy ras Duw rhag cael fy llosgi yn y ffwrn danllyd hono."

Y mae yn ymddangos ei fod yn teimlo cryn bryder yn wyneb yr amgylchiad yma; wrth ystyried gwendid ei ras, a grym ei lygredd, ac yn enwedig cryfder yr awelon a ymosodent arno yn y brif athrofa, arswydai

rhag y gwnelai longddrylliad ar y ffydd cyn dyfod oddiyno; ond pan y pwyllai i ystyried mai llaw rhagluniaeth ddwyfol yn unig ac yn amlwg a'i harweiniasai i fyned yno, efe a dueddid i hyderu na adawai yr Arglwydd ef i ymddyrysu yn yr anialwch wedi ei dywys yno; a thrwy olygiadau cysurol a gwerthfawr a gafodd efe yn y cyfwng yma, ar agosrwydd ac anwyldeb perthynas Duw â'i bobl yn Nghrist, yn wyneb y geiriau hyny, "Yr wyf fi yn dyrchafu at fy Nhad i, a'ch Tad chwithau; at fy Nuw i, a'ch Duw chwithau," efe a nerthwyd i fyned rhagddo yn hyderus, gan orchymyn ei hunan i gadwraeth ei Dad nefol, ac ymroddi yn siriol ac ymostyngol i arweiniad ei Ysbryd a'i ragluniaeth ef.

Derbyniwyd ef yn aelod o'r brif athrofa yn mis Mai 1775; ac yn fuan efe a gafodd gydnabyddiaeth âg amryw wŷr ieuainc crefyddol, yr hyn a fu o gysur a budd mawr iddo. Y mae gras yn debyg i'r tynfaen, yn sicr o dynu ei gyffelyb ato o bob man. Dyma fel y cawn ni frenin duwiol yn dweyd, "*Deuwch, chwi y rhai oll a ofnwch yr Arglwydd, a mynegaf yr hyn a wnaeth efe i'm henaid;*" yr un ffunud y cawn ni yr efrydydd Cymreig gostyngedig a duwiolfrydig, yn fuan wedi ei ddyfodiad i'r brif athrofa—fel y tynfaen yn tynu y nodwyddau dur ato ei hun o'r twr lludw—yn cael hyd i'r difrifol a'r duwiol yn fuan o ganol y cannoedd ieuenctyd annuwiol a llygredig a'i cylchynai; a diau fod ei gymdeithas â hwy yn anwyl ac adeiladol iawn. Ond cyfnewidiol yw hinsawdd ein byd ni; felly, yn mhen y ddwy flynedd, goddiweddid Mr. Charles â phrofedigaeth lem iawn; canys ar unwaith, yn ddisymwth, ataliwyd ei gynnorthwyon o Gymru, trwy yr hyn y'i cynnelid yn Rhydychain, ac yntau ar y pryd tuag ugain punt yn nyled yr athrofa, ac heb un man ganddo mewn golwg lle y gallai wynebu am gynnorthwy yn ei gyfyngder, gyda'r hyder lleiaf am lwyddiant. Bu yn gyfyng iawn arno y pryd hwn, fel y bu am oddeutu pymthengnos yn methu gwybod pa beth i'w wneyd; ond o'r diwedd, penderfynai hysbysu awdurdodau yr athrofa o'i sefyllfa, a dychwelyd i Gymru i geisio enill ei fara mewn rhyw ffordd a agorai o'i flaen. Teimlai ei feddwl y pryd hwn yn gwbl ddarostyngol i ewyllys Duw, ac yn foddlawn iddo ef drefnu ei holl faterion yn ei ddoethineb a'i ddaioni ei hunan; er ei fod yn methu yn lân a deall dyben y rhagluniaethau cydweithiol hyny a agorasent ei ffordd i'r brif athrofa, os ydoedd yn cau arno yn awr. Efe a dreiglodd ei ffordd ar yr Arglwydd, a'i feddyliau a safasant; ïe, er tywylled ydoedd, galluogid ef i ryw ddysgwyl yn ddirgelaidd y byddai i'r Arglwydd wneuthur diangfa iddo o'r brofedigaeth hon, yn ei adeg a'i ffordd ddewisol ei hun. Yn y cyfamser, fel yr oedd efe un bore yn ysgrifenu at ei bobl yn Nghymru, i'w hysbysu o'i gyfyngder, a'i benderfyniad yn y canlyniad, daeth un o'i gyfeillion mynwesol i fewn, i'r hwn yr hysbysodd efe y cyfan yn y fan, a'i benderfyniad i adael y brif athrofa; yntau a'i hatebai, nad oedd efe yn amheu na byddai gael ei gynnorthwyo drwy ryw foddion neu gilydd, a dymunai arno roddi ei feddwl mewn esmwythdra llawn yn yr achos. Yn mhen ychydig ddyddiau ar ol hyny, anfonai gŵr boneddig am Mr. Charles i giniawa gydag ef; a chyn ei fyned o'i dŷ, er ei fawr syndod, estynai iddo yr *ugain punt* yr oedd yn fyr o honynt, a dywedai wrtho na chai diffyg fod arno tra fyddai yn Rhydychain. Hyn a barai i'w enaid ymlenwi o lawenydd a diolchgarwch yn ddiau, a gwelai bellach ei ffordd yn oleu hyd derfyn ei dymhor athrofaol; canys fe fu y gŵr boneddig cystal a'i air iddo. Bu y tro hwn yn foddion i'w ddwyn i gyssylltiad newydd, ac i eangu cylch ei gydnabyddiaeth yn ddirfawr; yn mysg ereill, fe debygid iddo drwy yr amgylchiad yma yn rhywfodd gael ei ddwyn i gydnabyddiaeth â'r hen *Newton* o Olney, *Romaine*, ac ereill o'r offeiriaid mwyaf efengylaidd oeddynt y pryd hyny yn Lloegr; canys nyni a gan-

fyddwn ei fod wedi bod yn treulio gwyl-ddyddiau yr haf y flwyddyn hon, sef 1777, gyda Mr. Newton, yn Olney, lle y cafodd lawer o bleser ac adeiladaeth ysbrydol, a'i ddwyn i adnabyddiaeth helaethach â rhai o rai rhagorol y ddaear.

Mehefin 14eg, 1778, cafodd ei urddo yn ddiacon yn Rhydychain, ar alwad i fod yn gurad i'r Parch. Mr. Newman, periglor Queen Camel, yn Ngwlad yr Haf, yr hon alwad a gafodd efe, debygid, trwy gyfryngaeth ei gyfaill—y Parch Mr. Griffin, o Ipswich. Ond gan nad oedd ar ei beriglor angen am ei wasanaeth hyd y gwyl Mihangel canlynol, trwy wahoddiad ei gyfaill, y Parch. S. Lloyd, daeth i'r Bala, a threuliodd gydag ef oddeutu pum' wythnos, yn yr hwn yspaid y darfu i'r ddau offeiriad ieuanc gymmeryd taith yn nghyd drwy ran fawr o Ogledd Cymru—nid i bregethu, mae yn debyg, y tro yma—ond er ymgydnabod â'r wlad, a gweled pa beth bynag ydoedd deilwng o'u sylw. Yna aeth Lloyd gydag yntau i'r Deheudir, ac aethant trwy Langeitho, lle yr arosasant dros dri neu bedwar diwrnod, yn yr hwn yspaid y clywsant ddwy bregeth gan Mr. Rowlands, er eu llawenydd mawr. Ar y 13eg o Awst, cyrhaeddasant dŷ ei dad, ac y mae yr adroddiad o'i brofiad ar yr achlysur yma yn deilwng o'i goffhau. "Edrychwn ar y conglau bychain hyny o'r tŷ, a'r gwrychoedd neillduedig yn y meusydd, gyda hyfrydwch anhawdd i'w adrodd; lleoedd y buasai fy enaid gynt mewn ymdrech â Duw ynddynt, ac mewn gweddi yn caffael y fendith. Nis gallwn lai nag edrych ar y conglau a'r manau hyny y buaswn ynddynt yn mwynhau cymdeithas adfywiol â Duw, fel lleoedd cysegredig; ymddangosai tyddyn fy nhad mewn gwedd baradwysaidd; a'r cof am yr amryw fendithion a fwynhaswn yno ar wahanol amserau, a drylenwai fy nghalon â llawenydd a mawl."

Y Sabbath canlynol, Awst 10eg, efe a bregethodd yn Llanfihangel, ei blwyf genedigaethol; a dywedai iddo gael y fraint o fod yn y gwaith hwnw gyda difrifwch a chysur neillduol. Mae yn ddiau bod yno lawer o'r hen gymmydogion yn gwrando gyda sirioldeb mawr ar y gweinidog ieuanc a fagesid yn eu plith; a'r hwn, trwy ei weddeidd-dra a'i hynawsedd, a enillasai eu serch pan nad oedd onid plentyn yn eu mysg. Ond yr oedd yno *un* a deimlai ddyddordeb arbenig yn y gweinidog ieuanc, ac i'r hwn yr oedd ei ddifrifwch a'i hwylusdod yn dechreu ar ei waith sanctaidd yn peri y llawenydd puraf—sef ei hen gyfaill a'i gynghorwr duwiol, RHYS HUW. Ac o bawb ydoedd yno, y bore hwnw, a dynai sylw ac a lonai galon y gweinidog ieuanc, yr hen dad crybwylledig oedd hwnw: fel hyn y crybwylla y tro yn ei ddyddlyfr:—"Bu yn llawenydd mawr i'm calon gael gweled, unwaith yn ychwaneg, fy hen gyfaill tra anwyl a Christionogaidd, Rhys Huw. Medraswn agos wylo o lawenydd. Y cyfarfod olaf ydoedd a gawsom yn y byd hwn; yn mhen mis ar ol hyny, efe a ddiangodd i'r nef."

Tua gwyl Mihangel, neu ganol mis Medi, 1778, yr aeth efe i'w guradiaeth, lle y bu yn llafurio am oddeutu pum' mlynedd; a blyneddoedd o ddysgyblaeth ryfedd i'w gorph a'i feddwl oedd y rhai hyn, er ei barotoi a'i gyfaddasu i'r gwaith mawr oedd o'i flaen gan Dduw yn Nghymru. Pum' punt a deugain yn y flwyddyn oedd ei gyflog yn y lle yma ar y cyntaf, yr hyn a ostyngwyd i ddeugain, ac o hyny drachefn i ddeg ar hugain, yn y flwyddyn. Nid rhyfedd gan hyny ei fod yn dweyd fel y canlyn yn ei ddyddlyfr:—"Ar amserau yr wyf yn profi rhyw beth o'r ysbryd tuchanllyd oedd yn nod gwrthun ar yr Israeliaid gynt, ar eu taith trwy yr anialwch. Yn lle bod yn ddiolchgar am y trugareddau aml, ac aml iawn, yr wyf yn eu mwynhau heb eu haeddu, byddaf yn dychymygu deng mil o angenion; ac yn llygadu ar ryw fendithion nad ydynt yn bre-

senol yn fy meddiant; a phe byddent, mae yn llwyr debygol yr effeithient er niwed i gorph ac enaid. Pe byddai fy angenion yn rhai gwirioneddol, nis gallai dim er hyny ond balchder ac annghrediniaeth fy nghymmell i duchan; o herwydd addewid Duw ydyw 'Gofynwch, a chwi a gewch.' Pe buasai i'r Israeliaid ofyn yn barchus gan Dduw am y bendithion oedd yn niffyg arnynt, diamen y buasent yn cael eu caniatau, a'u gwneyd yn wir gysuron iddynt. Ond pan y tuchanasant, rhoddodd Duw eu deisyfiad iddynt, mae yn wir; eto 'yn ei ddig,' a'i farn oedd yn dilyn. O Arglwydd, gwna fi yn fwy gostyngedig a diolchgar!"

Mae yn debyg ei fod ef, ar adeg ei ymweliad â Mr. Simon Lloyd, o'r Bala, wedi dyfod i gydnabyddiaeth â merch ieuanc o'r enw Miss Jones, yr hon mewn amser a briododd efe. Merch oedd hon, dybygwyf, i wraig gyntaf yr hybarchus Mr. Foulkes, wedi hyny o Fachynllaeth, o ŵr blaenorol a fuasai iddi.

Gan fod Miss Jones yn anfoddlawn i symud yn mhell oddiwrth ei thenlu, a hwythau yn anfoddlawn i'w gollwng, teimlai Mr. Charles awydd cryf iawn am gael eglwys i'w gwasanaethu yn Ngogledd Cymru, yn enwedig yn rhywle heb fod yn mhell o'r Bala; a diamen y buasai wedi llwyddo fwy nag unwaith yn ei geisiadau, oni buasai ei dduwioldeb a'i efengyleiddrwydd. Yn y cyfamser, efe a wrthodai gynnygion o amryfal leoedd yn Lloegr; ac yn mysg ereill, wahoddiad taer oddiwrth yr Arglwyddes Huntington, yr hon a'i cymhellai i ddyfod i Gaerbaddon, i ymsefydlu megys gweinidog ei chapel hi yn y ddinas hono. O'r diwedd, efe a ymadawodd o Loegr, ac a ddaeth i'r Bala, lle yr aeth efe i'r stad briodasol, ar yr 20fed o Awst, 1783; ac oddeutu y pryd hyny, efe a aeth i gymdeithasfa Llangeitho, am yr hon y dywaid fel y canlyn, mewn llythyr at gyfaill:—"Yr oedd yn y gymdeithasfa tuag ugain o offeiriaid, heblaw rhwng triugain a phedwar ugain o bregethwyr lleyg, er nad y cyfan sydd yn y cyfundeb. Gellwch ddychymygu mor lawen oeddwn o gael clywed yr hen Elias benllwyd unwaith eto yn cyhoeddi dyfnion bethau Duw, â'r eglurder, y dwysder, a'r bywiogrwydd perthynol iddo ei hunan mor neillduol. Clywais ef ddwywaith, a thri o offeiriaid ereill, heblaw amryw bregethwyr lleyg tra doniol. Dechreuai y pregethu ddydd Sadwrn, a pharhai hyd ddeg o'r gloch bore ddydd Mercher."

Y dyfyniad canlynol eto o'r un llythyr a arddengys i ni ansawdd crefydd yn yr eglwys sefydledig, yn nghymmydogaeth y Bala, y pryd hyny; ac y mae yn arlun rhy gywir o'r hyn ydoedd y pryd hyny, a'r hyn ydyw eto, i raddau gormodol, trwy Wynedd:—

"Yr wyf yn meddwl fy mod wedi eich hysbysu ddarfod i mi gytuno i weini eglwys yn y wlad hon; ond wedi mi ei gweini dros ddau Sabbath, anfonid llythyr maith, yn fy hysbysu yn dirion y gellid gwneyd heb fy ngwasanaeth rhagllaw. Er y pryd hyny, buais yn cynnorthwyo Mr. Lloyd, yr hwn nid yw ond llesg ei iechyd. Ond y Sabbath diweddaf, deuai yr holl blwyf agos, yn cael eu harwain gan ddau neu dri o'r gwŷr mwyaf, i ymddiddan â mi, yr hyn a wnaethant mewn modd gerwinach na dim a arferaswn i ei glywed o'r blaen—gan ddywedyd, nad oedd wiw i mi bregethu yn eu llan hwy mwyach; a chwanegu, 'Yr ydych chwi wedi melldithio digon arnom ni eisoes.'"

Felly y bu raid iddo ymadael oddiyno; a thros yspaid o amser bu heb le yn y byd i weinidogaethu ynddo, yr hyn oedd ofidus yn ddiau i ŵr o'i ysbryd ef. Yn mhen ychydig, efe a gafodd le dros amser yn Shawbury, yn swydd yr Amwythig, dan ei hen gyfaill Mr. Mayor. Yr oedd y lle yma o ddeugain i haner can' milldir o'r Bala, lle y cartrefai efe, ond y byddai yn aros ambell i wythnos gyda'r periglor, Mr. Mayor; eto,

gwell oedd ganddo weini eglwys mor bell ac annghyfleus a hyny, na byw yn segur.

Yn agos i ddechreu y flwyddyn 1784, efe a gafodd guradaeth Llan y Mawddwy, lle o fewn tua phedair milldir ar ddeg o'r Bala; ac efe a deithiodd yno drwy bob math o dywydd, weithiau ar farch ac weithiau ar draed, i gyflawni ei weinidogaeth, dros yn agos i flwyddyn. Yr oedd y ffordd yn ddrwg iawn y pryd hyny, a llwybr serth Bwlch y groes yn rhan o honi; ond nid oedd meithder nac anhawsder y daith—wyth milldir ar hugain rhwng myned a dychwelyd—bychander y cyflog, na'r gwg a'r dirmyg oedd gan rai am ei fod mor ffyddlawn, nac un atalfa arall, yn effeithio arno i beri iddo roddi y lle i fynu. Yn y lle hwn efe a ddechreu-odd adgyfodi yr hen arferiad lesol o holi plant bob Sabbath, ar ol y gosper, a bu hyn yn dramgwydd i rai; ac er na adawodd yr Arglwydd mo'i was i lafurio yn ofer yno—ond y dyg dystiolaeth i air ei ras, yn nhroedigaeth rasol ambell un o'i wrandawyr—ereill o'r plwyfolion, wedi ymgynhyrfu mewn gelyniaeth yn ei erbyn, a anfonasant achwyniad at y periglor, gan ei hysbysu fod gormod o sawyr Methodistaidd ar ei gurad i'w ffroenau Phariseaidd hwy allu ei oddef; am hyny, efe a gafodd rybudd gan hwnw yn ddioed i ymadael â'i wasanaeth. Felly, Ionawr 1af, 1785,* efe a orfu ymadael o Lan y Mawddwy. Ar yr achlysur gofidus yma, efe a ysgrifenai at ei hen gyfaill parchus, John Newton, i adrodd ei helynt, a deisyf ei weddiau drosto, a'i gynghorion iddo. Yn yr ateb a roddodd Mr. Newton iddo, y mae yn ymddangos yn lled gryf yn y dyb, mai dyledswydd Mr. Charles a fyddai gadael y Bala, Gwynedd, a Chymru oll, yn hytrach na rhoddi i fynu y meddwl am weinidogaethu o fewn cylch neu furiau yr eglwys sefydledig. Ond bu Newton fyw wedi hyny i weled fod bwriadau Duw am Charles, a'i wasanaeth i Gymru, yn uwch na'r eiddo ef, o gym-maint ag y mae y nefoedd yn uwch na'r ddaear.

Yn y cyfwng yma, pan oedd efe yn methu cael un lle i weinidogaethu yn yr eglwys, a'i enaid yn llawn o awydd am weithio, ac yn cael ei aredig gan arswyd, rhag ei gyfrif yn was drwg a diog—cyffrowyd ei dosturi yn neillduol wrth sylwi ar yr anwybodaeth a ffynai yn mysg ieuenctyd y Bala; ac efe a wahoddai ryw rai o honynt i'w dŷ, i dderbyn addysg gref-yddol, a chael eu hegwyddori ganddo—yr hyn a wnelai yn gyffredin ar brydnawniau Sabbath; a'i ddull serchog a dengar ef o drin plant ac ieu-enctyd, a'u sugnai i'w hoffi yn fawr; a'i gyfarchiadau syml a dwysion a'u toddai i wylo y dagrau yn aml; fel yr aeth cryn son am dano ef a'i gyfar-fod plant yn fuan trwy holl dref y Bala, a buan yr aeth ei dŷ yn rhy gyfyng i gynnwys y lluaws a ymgynnullent yn nghyd. Ar hyny y Trefnyddion Calfinaidd, â'r rhai yr oedd efe yn dra chyfeillgar o'i ieuenctyd, fel y gellir casglu oddiwrth grybwylliadau blaenorol, a gynnygiasant fenthyg eu capel iddo i gynnal ei gyfarfodydd gyda'r plant a'r ieuenctyd, yr hyn a gymmer-adwyodd efe yn llawen; ac yno yr addysgai ac yr holwyddorai efe y lluaws plant a ddelent yn nghyd. Dyma oedd dechreuad yr Ysgolion Sabbothol yn Nghymru, yr hyn a gymmerth le ryw bryd tua chanol neu o hyny i ddiwedd y flwyddyn 1784. Gadewch i ni sefyll munyd uwch ben y ffaith yma—triugain a chwe' mlynedd yn ol, dacw Mr. Charles yn claddu mesen yr Ysgol Sabbothol yn y ddaear, yn y Bala; ac erbyn heddyw y mae wedi myned yn wigfa dewfrig dros yr holl wlad. Y pryd hyny yr oedd yr holl sefydliad hwn yn gynnwysedig o *un* athraw, *un* dosbarth, mewn *un* ystafell fach o dŷ anedd, yn nhreflan ddystadl y Bala; ond erbyn hyn, y mae o fewn Cymru yn unig—o ysgolion, tua 2,670! o athrawon, tua 36,150! ac

* Yn ol Mr. Morgan, Ebrill 24ain, 1784.

ysgoleigion, tua 255,230! O'r Arglwydd y daeth hyn, a rhyfedd yw yn ein golwg ni.

Dyma un o'r pethau a roddes y rhagoriaeth penaf ar ein cenedl ni yn yr oes ddiweddaf; canys tra nad oes o drigolion Lloegr oddiar un o bob naw yn myned i'r ysgolion, neu dan unrhyw addysg, ddyddiol a Sabbothawl—y mae mwy nag un o bob pedwar o drigolion Cymru yn myned i'r Ysgolion Sabbothol yn unig, lle y cyfrenir yr addysg oreu, mewn egwyddorion crefydd a moesoldeb! Ac er y dichon bod Raikes o Gaerloyw wedi dechreu efallai rai misoedd yn gynt na Charles, nyni a allwn brofi fod y meddwl mor wreiddiol i Charles ag iddo yntau, gan na chyhoeddasid yr adroddiad am ysgolion Raikes yn y newyddiaduron, hyd wedi i Charles ddechreu ar y cyfarfodydd hyn yn y Bala.

Yn fuan ar ol hyn—sef tua dechreu y flwyddyn 1785—penderfynodd fwrw ei goelbren i fysg y Trefnyddion Calfinaidd, y rhai, o herwydd eu cydnabyddiaeth blaenorol âg ef, a'u hadnabyddiaeth o'i sel a'i symledd fel Cristion, a'i ddoniau buddiol fel pregethwr, a'i derbyniasant yn llawen; ac nid hir y bu yn llafurio yn eu mysg heb i'r rhan fwyaf o honynt weled i fesur y rhagoriaeth mawr oedd ynddo. Tuag Awst, y flwyddyn hon, y mae yn debyg yr aeth efe eilwaith i gymdeithasfa Llangeitho, ac efe a benodwyd yn un i bregethu yno; a'r hybarch Ddaniel Rowlands, yr hwn oedd ŵr o graffder mawr, a ddywedai yn ei ddull byreiriog ei hun, "Rhodd yr Arglwydd i'r Gogledd yw Charles."—Pe buasai yn broffwyd, ni allasai ragfynegi yn fwy cywir am dano; canys efe a drodd allan yn rhodd o'r fath werthfawrocaf i Wynedd, ac i fesur mawr i'r Deheubarth hefyd. Nid oedd un offeiriad y pryd hyn yn perthyn i'r Trefnyddion trwy Wynedd, er fod amryw bregethwyr lleyg, a rhai o honynt o ddoniau tra phoblogaidd, eto nid oedd y cynnulleidfaoedd ond bychain a thylodion; fel y gwyddai Mr. Charles yn dda, pan gefnai ar yr Eglwys, i ymuno â'r bobl isel a dirmygedig hyn, ei fod yn cefnu ar lwybr elw a dyrchafiad bydol; ond gwelai trwy hyny gyfleusdra i roddi ei holl alluoedd ar waith yn ngwasanaeth ei Arglwydd; a bellach, Gwynedd oedd ei blwyf—ac er fod yr olwg arno yn anial, diffrwyth, a didriniaeth, efe a ymgyssegrodd i'w lafurio yn enw yr Arglwydd.

Yr oedd anwybodaeth, anystyriaeth, a llawer math o halogedigaeth, wedi ymdaenu gyda grym mawr trwy y rhan yma o'r dywysogaeth; yr eglwyswyr yn dra dirywiedig o ran egwyddorion ac arferion; y boneddigion yn ddiymdrech yn mhlaid crefydd a moesau da, ac yn rhoddi yr esiamplau gwaethaf i'w hisraddolion; y werin yn suddedig mewn tywyllwch a choelgrefydd, ac yn dra anwaraidd yn eu harferion; a'r ychydig ymneillduwyr oeddynt yn y wlad, wedi ymollwng i gysgadrwydd a ffurfioldeb; a llawer o honynt yn gyfeiliornus eu hegwyddorion, a phenrydd eu bucheddau. Mewn gair, yr oedd cyflwr ac agwedd ein gwlad yn dra gresynus o ran y diffyg o wybodaeth a naws grefyddol; ac er ymdrechiadau canmoladwy y Gymdeithas er taenu gwybodaeth grefyddol, nid oedd y Beibl i'w gael ond mewn ychydig iawn o deuluoedd; ac mewn llawer o blwyfydd, yr oedd yn rhy anhawdd cael *deg* o bobl a fedrent ei ddarllen mewn unrhyw iaith.* Mae yn wir fod yr ysgolion cylchynol a gyfodasid trwy ymdrechiadau y Parch. G. Jones, a chynnorthwyon haelionus Mrs. Bevan, wedi rhoddi yr aradr i fewn yn yr anialwch moesol, a llafur y diwygwyr Methodistaidd wedi symbylu amryw i ymdrechu dysgu darllen gair Duw—eto, y gwirionedd yw, nad oedd y cynnydd mewn gwybodaeth grefyddol ond bychan iawn mewn cydmariaeth, hyd oni chyfod-

* Gwel Cofiant y Parch. T. Charles, t.d. 162, 163.

odd Duw Mr. Charles, gan fendithio ei ymdrechiadau ffyddlawn i gyfodi syched cyffredinol trwy y dalaeth, am adnabyddiaeth o feddwl Duw yn ei air.

Efe a ymroddodd i deithio cryn lawer fel pregethwr trwy Gymru, yn enwedig Gogledd Cymru, yn lled fuan ar ol iddo ymuno â'r Trefnyddion Calfinaidd; a'i ledneisrwydd Cristionogol, ei ysbryd deffrous, a'i ddoniau rhagorol fel pregethwr, yn nghyda'r arddelwad dwyfol anarferol a'i dilynai ar rai achlysuron, a'i nodasant allan yn fuan fel un cymhwys i flaenori yn mysg ei frodyr, yn enwedig yn mhob gorchwylion cymmanfaol; ac efe a fu y prif offeryn i ddwyn y cyfundeb i'w ffurf bresenol, fel y gwel y sawl a ddarllenont ei hanes yn fanol.

Wrth deithio y wlad, efe a ddaeth i feddu amgyffred cywirach nag odid neb arall ar y gaddug ddudew o anwybodaeth oedd yn toi ei gydwladwyr, a gwasgodd hyny ar ei feddwl yn fawr, fel y mae yn amlwg oddiwrth lawer o'i lythyrau, y rhai a ysgrifenai tua'r adeg dan sylw, at amryw o'i gyfeillion; ac er nad oedd ei sefyllfa ef ei hunan ond lled isel yn y byd, ac er nad oedd y cyffredin o'r bobl yr ymunasai â hwynt ond tlodion—fel nad oedd pob moddion a defnyddiau o fewn ei gyrhaedd ef ond bychain iawn i feddwl cynnyg trwyddynt i ledaenu gwybodaeth a dysgeidiaeth yn mysg ei gydgenedl—nid ymollyngodd; ond efe a erfyniodd gynnorthwy amryw o fonedd elusengar Lloegr, a bu yn llwyddiannus i gael hyny, yn rhoddion neu yn gynnorthwyon blyneddol; cafodd at hyny beth cymhorth gan rai yn Nghymru; ac y mae yn amlwg ei fod yn gyfranwr haelionus ei hunan, yn ol ei allu, trwy fendith yr Arglwydd yn benaf ar ddiwydrwydd ei wraig. Efe a chwiliodd, ac a gafodd ddynion syml, awyddus i'r gwaith da, ac o ddoniau cymmedrol i ddysgu ereill—o leiaf, i ddarllen gair Duw yn yr iaith Gymraeg; a'r cyfryw hefyd a ymfoddlonent ar gyflogau bychain, yn ol bychander y moddion oedd ganddo at gynnal y gwaith. Yr oedd yr ysgolion hyn yn cael eu symud o le i le bob chwe' mis, naw mis, neu ychydig mwy, fel y gwelid yr achos yn galw yn y gwahanol ardaloedd; ac yn y cyffredin, byddai nifer go fawr o blant ac oedolion yn dysgu darllen yn hyny o amser.

Nis gallwn ddarlunio yr ysgogiad pwysig hwn o'i eiddo yn well nag yn ei eiriau ef ei hunan. Mewn llythyr a ysgrifenai at gyfaill yn Llundain, mor ddiweddar a'r flwyddyn 1808, efe a ddywaid fel y canlyn:—

"Yn fy nheithiau trwy amryw ranau o Ogledd Cymru, oddeutu tair blynedd ar hugain yn ol, mi a welais fod cyflwr tlodion y wlad yn gyffredin mor isel, o ran gwybodaeth grefyddol, nad oedd ond prin un o bob ugain, mewn amryw fanau, yn medru darllen yr ysgrythyrau; ac mewn ambell barth, yn ol ymofyniad penodol, anhawdd oedd cael cymmaint ag un wedi ei ddysgu i ddarllen. Cefais y pryd hyny, ac yr wyf eto yn cael, profion beunyddiol o anwybodaeth y trueiniaid sydd heb fedru darllen, ac heb erioed gael eu haddysgu yn egwyddorol; ïe, er nad oes yn y lleoedd ddiffyg pregethu yn barhaol. Gweled hyn a'm gwnaeth yn fwy poenus nag y gallaf adrodd, ac a barodd i mi chwilio mewn dwys fyfyr am ryw feddyginiaeth ebrwydd ac effeithiol at symud yr aflwydd hwn. Yn ganlynol, rhoddais y cynnyg o flaen ychydig gyfeillion am ddechreu ar gydgynnorthwyad, at dalu cyflog i ysgolfeistr, a hwnw i gael ei symud o le i le, ar gylch, i ddysgu y tlodion i ddarllen, a'u hyfforddi yn mhrif egwyddorion Cristionogaeth, trwy eu *cateceisio*. Yn y flwyddyn 1785 y dechreuodd y gwaith hwn. Ar y cyntaf ni roddwyd ond un ysgolfeistr ar waith; ond fel y cynnyddodd y cynnorthwyon, yr oedd amlhad ar yr ysgolion, hyd onid oeddynt yn *ugain* o nifer. Rhai o'r ysgolfeistriaid cyntaf, bu raid i mi fy hun eu dysgu; hwythau wedi hyny a fuant ddysg-

awdwyr i ereill a anfonais atynt i ddysgu bod yn ysgolfeistriaid. Ffrwyth o'r ysgolion cylchynol hyn yw ein hysgolion Sabbothol sydd yn lluosawg ar led y wlad; o herwydd heb y rhai cyntaf, rhy anhawdd fuasai cael dysgawdwyr i ddwyn y lleill yn mlaen.

Yn bresenol, er nad yw yr ysgolion cylchynol ddim mor llwyr reidiol ag oeddynt gynt (gan amlder cyffredinol yr ysgolion Sabbothol sydd yn cael eu cynnal gan addysgwyr heb ddim cyflog,) eto, er hyn, yr wyf yn cael prawf na allwn mo'r myned yn mlaen heb rai o honynt. Y mae hyd heddyw lawer o leoedd tywyll mewn amryw ranau o'r wlad, yn mha rai nid oes dynion addas, ac ewyllysgar hefyd, i osod ysgolion Sabbothawl ar droed. Ac am hyny, fy unig feddyginiaeth ydyw anfon ysgolion cylchynol i'r cyfryw leoedd, gyda golygiad yn raddol i godi ysgolion Sabbothol i gymmeryd eu lle, a dal yn mlaen a chynnyddu moddion addysg, ar ol iddynt gael eu symud. Heblaw hyn, yr wyf yn cael fod ysgolion cylchynol yn llwyr reidiol, i roddi adymweliad i'r lleoedd y mae ysgolien Sabbothawl ynddynt, er eu hadfywio, ac adfywiogi y dysgawdwyr a'r bobl i'w cynnal yn mlaen. Heb hyn, y maent mewn amser yn gwanhau yn raddol mewn parthau gwledig, lle y mae y plant ar wasgar, ac yn mhell oddiwrth eu gilydd. Yn ganlynol, yr wyf hyd yn hyn yn cadw o chwech hyd ddeg o ysgolfeistriaid; ac y mae yn ddiau ddiffyg am nifer yn ychwaneg, pe byddai cynnorthwyon a atebent i roi i ni fodd i gyflogi ereill at y gwaith.

Er pan wnaed y casgliadau helaeth yn Nghymru i'r Bibl Gymdeithas Frutanaidd a Thramor, y mae y cynnorthwyon blyneddol a'r rhoddion oll o Loegr wedi pallu i ni (oddieithr yn unig ddau guni o gynnorthwy blyneddol gan y Gwir Anrhydeddus Arglwydd Barham,) trwy fod ein cymmwynaswyr tirion wedi barnu, mae yn debygol, nad oedd dim angen am gynnorthwy mewn gwlad lle y casglwyd cymmaint o arian, yn rhwydd, at ryw ddyben penodol. Ond fe ddichon fod yn rheidiol sylwi, mai achos tra gwahanol yw hwn; ac fod meddyliau y cyffredin mewn mawr syndod wrth newyddrwydd y gwaith ardderchog, yn gystal a than effeithiad ei bwysigrwydd. Yn bresenol y mae ystôr yr ysgolion yn isel iawn, yn llai na digon at *haner* y draul yr wyf tani y flwyddyn hon. Ar y cyntaf, yr oeddwn yn cyflogi meistriaid am *wyth punt* yn y flwyddyn—yn awr yr wyf yn talu *pymtheg;* felly yr oeddwn yn gallu cadw *ugain* y pryd hyny yn agos ar yr un gost a *deg* yn bresenol; ac y mae yn ofid arnaf am nad yw yn fy ngallu i osod mwy o ddysgawdwyr ar waith, gan fod eu heisiau yn dra amlwg mewn amryw ranau o'r wlad." *

Diau fod yr ysgolion rhad cylchynol yna wedi bod o ddirfawr les i'r Cymry; a thrwy eu hofferynoliaeth yn neillduol y cymhwyswyd rhai i fod yn athrawon yn yr ysgolion Sabbothawl, y rhai y bu Mr. Charles yn brif offeryn i'w cyfodi a'u trefnu yn lled aml a chyffredinol trwy y dywysogaeth; a thrwy ei ddyfal barhad a'i daerni gwresog yn nghyfarfodydd misol a chwarterol y Trefnyddion Calfinaidd, llwyddodd i gael ugeiniau, cannoedd, a miloedd, o gynnorthwywyr ewyllysgar, yn ol eu hamrywiol ddoniau, i ddwyn y gwaith mawr yma yn mlaen.

Yn gysylltiedig â chyfodiad ysgolion Sabbothawl, i ddysgu pob graddau i ddarllen y Beibl, efe a ymroddai i ddysgu egwyddorion mawrion Cristionogaeth i'w gydgenedl, trwy eu holwyddori; ac i'r perwyl yma, cynnaliai gyfarfodydd mawrion, y rhai a alwai yn gymmanfaoedd yr ysgolion Sabbothawl; i'r rhai hyn ymgynnullai deuddeg neu bymtheg o ysgolion Sabbothawl, y rhai a fyddent wedi bod yn chwilio yr ysgrythyrau, ar ryw

* Cofiant, t.d. 168.

destynau rhoddedig, drwy ystod y deufis neu dri blaenorawl, a threulid y diwrnod i'w holi yn gyhoeddus ar y pynciau hyn, gan Mr. Charles a'i gynnorthwywyr. Dyma ei ddarluniad ef ei hun o'r cyfarfodydd dyddorawl hyn:—

"Y mae testyn yn cael ei roddi i bob ysgol, ar yr hwn y mae iddynt gael eu holi; a'r hwn y mae iddynt ei eglurhau, trwy adrodd profion addas o'r ysgrythyrau. Ar yr amser penodedig—dydd Sabboth yn gyffredin—mae plant yr amrywiol ysgolion yn ymgynnull, a'u meistriaid yn eu canlyn; ac y mae llawer o honynt wedi cerdded deng milldir erbyn wyth o'r gloch y bore. Wrth gychwyn, y maent yn cyfarfod eu gilydd mewn lle penodol, ac ar yr awr osodedig; hwy a weddïant, ac a ganant benill o hymn efo'u gilydd; ac yna teithiant yn mlaen yn siriol, ac mewn trefn, i'r lle cyfarfod.

Gan nad oes un lle addoliad yn ddigon helaeth i gynnwys y dyrfa fawr iawn o bobl a fydd yn ymgynnull ar yr achosion hyn, bu gorfod arnom gyfodi esgynloriau oddiallan i'r tai, neu yn y meusydd—un yn dra helaeth, i'r plant sefyll arni, dwy neu dair ysgol ar unwaith; a'r llall, i'r catecciswyr, gyferbyn a hi, bymtheg neu ddeunaw llath oddiwrthi; a'r cyfwng rhyngddynt sydd i'r gynnulleidfa a safant i wrando. Yr ydym yn dechreu ar y gorchwyl yn foreu; ac y mae y dydd oll yn cael ei dreulio ar yr holiadau hyn. Y mae pob oedfa yn parhau am dair neu bedair awr; ac yn gyffredin, hi a ddiweddir â chynghor i'r plant ac i'r gynnulleidfa. Yn yr yspaid byr rhwng yr odfaon cyhoeddus, y mae plant pob ysgol yn cael eu harwain gan eu meistriaid i ystafell ddarparedig at yr achos, i gael rhyw faint o luniaeth; ac ar yr amser apwyntiedig, hwy a arweinir yn ol i'r lle cyfarfod. Bu genym, ar yr achlysuron hyn, o bymtheg i ugain o ysgolion yn cydymgynnull.

Hyd yn hyn y mae y cymmanfaoedd wedi bod yn dra buddiol. Mae y rhagbarotoad yn rhoi gwaith am ddau fis i'r bechgyn a'r genethod, mewn ardaloedd helaeth a phoblog; ac y maent yn ymroddgar iddo gydag awydd a hyfrydwch mawr. Y mae yr holiadau cyhoedd hefyd (fel y gallwn yn rhesymol farnu oddiwrth eu dyfalwch a'u teimladau bywiog wrth glywed atebion y plant,) yn fuddiol iawn i'r gwrandawyr cynnulledig. Mi a welais doddiadau a dagrau dwysion yn eu plith. Pan fyddo gwaith y diwrnod drosodd, arweinir y plant gan eu meistriaid, neu ynte dan ofal eu rhieni, i'w cartrefleoedd."*

Llafur Mr. Charles i ledaenu moddion addysg yn mysg y Cymry a gyfodai eu syched yn fwyfwy am feddu gair Duw; ac at bwy y troent yn naturiol am fodd i dori eu syched, onid at yr hwn a godasai y syched arnynt; felly, fel yr oedd yr ysgolion cylchynol a Sabbothol yn lluosogi, a rhai galluog i ddarllen yn amlhau, yr oedd y gri am Feiblau yn myned yn uwch ac yn gryfach, ac wedi disgyn yn Gymraeg ar fynwes Charles yn y Bala, fe'i hadseinid yn Saesneg trwy gyfrwng ei ohebiaeth eang â rhai o oreugwyr Lloegr yn y dyddiau hyny; ac o'r diwedd, llwyddwyd i gael argraffiad o ddeng mil o Feiblau Cymreig tua'r flwyddyn 1799, trwy offerynoliaeth y Gymdeithas er lledaeniad Gwybodaeth Gristionogol; ond ychydig iawn oedd hyn at gyflenwi yr angen oedd yma am air y bywyd, ac nis gwnelai namyn codi y syched yn fwy. Ond er i Mr. Charles anfon llawer o lythyrau at gyfeillion o offeiriaid duwiol yn Lloegr, y rhai a wnelent eu goreu i eiriol gyda'u hesgobion, a boneddigion dylanwadol ereill, am gynnorthwy pellach gan yr hen gymdeithas enwog a chyfoethog uchod; ond efallai fod cyfarwyddwyr y gymdeithas yn dechreu ofni mai gwrtaith

* Cofiant, t.d. 174.

i gynnydd ymneillduaeth yn Nghymru a fyddai y fath helaethrwydd o Feiblau ag a geisiai Mr. Charles; ac felly, diwedd ei holl lafur ef a'i gyfeillion yn y blyneddoedd hyny ydoedd pall a nacad hollol.

Dan yr amgylchiadau hyn, "fel yr oedd efe yn ymorol âg ewyllyswyr da i grefydd a duwioldeb, pa fodd y gellid cael argraffiad helaeth o'r Beibl am bris gweddol yn yr iaith Gymraeg—ac os byddai bosibl i drefnu cyllidfa barhaus o honynt, fel na byddai, un amser mwy, brinder o Feiblau i'r Cymry tlodion—rhoddodd yr Arglwydd y meddwl caruaidd ardderchog yn nghalonau rhai o'r gwŷr duwiol yr oedd yn ymddiddan â hwynt, o ffurfio cymdeithas i ddosbarthu Beiblau, nid yn unig yn ein gwlad ein hunain, ond hefyd yn y gwledydd pellenig tramor, pa un bynag ai Cristionogol, Mahometanaidd, neu Baganaidd; fel na byddai un genedl dan y nefoedd, nac un person neillduol yn y byd, heb y trysor gwerthfawr hwn, a ewyllysiai ei feddiannu."* Ac ar y 7fed o Fawrth, 1804, ffurfiwyd y cyfryw gymdeithas, i daenu gair Duw, heb na sylwad na chwanegiad ato, ar led y byd; ac mewn haner can' mlynedd, y mae y gymdeithas hono wedi bod yn offeryn anrhydeddus i gyhoeddi a lledaenu *pum' milfil ar hugain, pedwar cant a dwy fil, tri chant a naw*, o eiliadon o air Duw; a chynnorthwyo cymdeithasau ereill i ledaenu tua *deunaw milfil* yn ychwaneg. Taenodd yn yr Iwerddon, er y flwyddyn 1806, *ddwy filfil, a saith gan' mil*, o Feiblau a Thestamentau; yn Ffrainc, er y flwyddyn 1818, taenodd *dair milfil;* ac yn y flwyddyn 1849, lledaenwyd *saith mil ar hugain* yn yr Eidal, ffrwyth y rhai eisoes ydynt filoedd o ymofynwyr am ffordd y bywyd, ac nid ychydig o ferthyron dros y gwirionedd fel y mae yn yr Iesu. Ac yn yr unrhyw dymhor—sef yr haner canrif cyntaf o'i sefydliad—lledaenodd yn mysg ein cenedl, ac yn ein hiaith ni, tuag *wyth gan' mil* o eiliadon o'r ysgrythyrau sanctaidd! "O'r Arglwydd y daeth hyn, a hyn sydd ryfedd yn ein golwg ni."

Yn ei flyneddoedd olaf efe a gyfansoddodd y *Geiriadur Ysgrythyrol*—llyfr a fu o gymhorth dirfawr i filoedd o'r Cymry, yn eu llafur am ddeall yr ysgrythyrau; a diau y bydd y gwaith hwn mewn bri yn mysg y genedl, ac yn anrhydedd i goffadwriaeth ei awdwr, dros oesau lawer eto. Gwaith mawr arall y bu yn ddyfal iawn wrtho, yn mlyneddoedd olaf ei fywyd, oedd parotoi eiliad diwygiedig o'r ysgrythyrau yn Gymraeg i'r wasg, at wasanaeth y gymdeithas uchod.

Oddiwrth y sylwadau blaenorol, gwelir fod Charles yn ddyn i'w *genedl*, yn hytrach nag i'r blaid grefyddol y perthynai iddi yn fwyaf neillduol, a bu ei lafur yn fendithiol i adfywio crefydd i fesur mawr yn mysg pob enwad crefyddol trwy y dywysogaeth; ac ar yr un pryd, gellir dywedyd fod ei ddylanwad wedi bod yn fwy effeithiol na'r eiddo un dyn arall, er cadarnhau a threfnu y cyfundeb y perthynai iddo. Efe, yn benaf, a dynodd allan y Rheolau Dysgybliaethol, a'r Drefn Eglwysig, sydd eto mewn grym yn y cyfundeb; ac wedi dwys ystyriaeth, cytunodd â chais amryw frodyr, i barotoi y rheolau a gymmeradwywyd gan y gymmanfa, i ordeinio brodyr dewisedig, i weinyddu yr ordinhadau o fedydd a swper yr arglwydd yn nghynnulleidfaoedd y cyfundeb—yn ol y rhai yr ydys eto yn parhau i weithredu.

Wedi gwasanaethu ei genhedlaeth ei hun gyda ffyddlondeb ac effeithiolrwydd digyffelyb o'r bron, efe a gafodd fynediad helaeth i mewn i lawenydd ei Arglwydd, ar y pummed dydd o fis Hydref, yn y flwyddyn 1814, pan o fewn chwe' diwrnod i fod yn bedair blwydd ar bymtheg a deugain oed.

* Cofiant, t.d. 193.

# DARLITH XIII.

## ANSAWDD BRESENOL CREFYDD, MOESAU, AC ADDYSG, YN MYSG Y CYMRY.

---

Y MAE testyn y Ddarlith hon yn un tra dyddorawl i bob Cymro a ddylanwadir gan egwyddorion gwladgarwch a Christionogaeth; ac y mae yr haeriadau haerllug a wnaed yn ddiweddar, ac a wneir yn barhaus, gan ryw ddosbarth o ddynion, mewn cyfarfodydd cyhoeddus, a thrwy yr argraffwasg, mewn perthynas i ansawdd moesau, crefydd, ac addysg, yn mysg ein cenedl, yn galw am i ni wneyd ymchwiliad manwl a diduedd i'r testyn.

Gyda golwg ar *grefydd*, yr wyf yn meddwl nad yw yn ormod i mi ddywedyd, y cynnelir moddion crefyddol yn mysg y Cymry—mewn cymhariaeth i faintiolaeth y dywysogaeth, a nifer y trigolion—i raddau helaethach nag yn mysg unrhyw genedl arall o dan lywodraeth Prydain Fawr; a bod mwy o nifer o'r boblogaeth yn gwneyd defnydd rheolaidd o'r cyfryw foddion, nag a ganfyddir, mewn cymhariaeth, yn un ran arall o'r Deyrnas Gyfunol.

Darperir y cyfryw foddion crefyddol i'r Cymry trwy offerynoliaeth yr Eglwys Sefydledig, yr Annibynwyr, y Bedyddwyr, y Trefnyddion Calfinaidd a Wesleyaidd, yn nghydag ychydig fân enwadau ereill.

Wrth edrych i adroddiad y dirprwywyr a benodwyd gan ei fawrhydi Gwilym IV., i ymchwilio i ansawdd y cyllidau eglwysig yn Lloegr a Chymru—yr hwn adroddiad a gyhoeddwyd trwy orchymyn y senedd, yn y flwyddyn 1835—gwelwn fod mewn cyssylltiad â'r Eglwys Sefydledig, yn y flwyddyn hono, y nifer canlynol o fywioliaethau eglwysig, yn y pedair esgobaeth Gymreig:—

| | *Bywiolaethau.* | *Cyllid.* |
|---|---|---|
| Bangor | 195 | £35,064 |
| Llanelwy | 133 | 42,592 |
| Llandaf | 240 | 36,347 |
| Ty Ddewi | 484 | 60,653 |
| Yn y cyfan | 1052 | £174,656 |

Cyllidau y pedwar esgob a gyfrifir yno fel y canlyn:—

| | |
|---|---|
| Bangor | £4464 |
| Llanelwy | 6301 |
| Llandaf | 924 |
| Ty Ddewi | 1897 |
| Y cyfan | £13,586 |

Ond mewn adroddiad diweddarach, gwelais gyllid blyneddol pedwar esgob Cymru yn cael ei gyfrif yn £16,900; ac yr ydwyf yn meddwl, pan gymmerir i ystyriaeth yr eglwysi newyddion a adeiladwyd ac a waddol-

wyd yn ystod y deunaw mlynedd diweddaf, a chynnydd gwerth cyllidau eglwysig yn gyffredinol, o fewn yr un yspaid o amser, yn nghyda'r anrywiol offrymau a thaliadau ereill a dderbynir gan yr offeiriaid trwy Gymru, na chyfeiliornwn pe y cyfrifwn gyllid blynyddol yr Eglwys Sefydledig, yn nhywysogaeth Cymru, uwchlaw DAU CAN' MIL O BUNNAU! Swm digonol i gynnal tua *dwy fil* o weinidogion perthynol i'r Eglwys Sefydledig, ar gyllid o gan' punt yn y flwyddyn, bob un—neu tuag un gweinidog am bob pum' cant o'r trigolion, yn wŷr, gwragedd, a phlant! Beth pe y buasai y cyllid mawr uchod yn cael ei ddefnyddio yn briodol i gynnal llafurwyr, ac nid segurwyr, yn ngwinllan Crist—gwir olynwyr apostolion Crist, mewn athrawiaeth, ymarweddiad, a sel! diau y buasai y dywysogaeth erbyn heddyw fel gardd yr Arglwydd.

Y ffaith nesaf a grybwyllaf er egluro ansawdd crefydd yn Nghymru, a fydd o adroddiad Syr Beniamin Hall, barwniad. Mae ystadegau yr adroddiad hwnw yn gorchuddio 417 o blwyfi; ac ynddo dangosir pa sawl moddion crefyddol a gynnelid yn wythnosol gan yr Eglwys Sefydledig, a chan yr Ymneillduwyr, yn yr amryfal blwyfydd hyny. Erbyn crynhoi yr ystadegau hyny, gwelwn fod yn y 417 plwyfau a nodir ynddynt, 624 o eglwysi, yn mha rai y cynnelid 348 gwasanaeth Cymreig, 335 gwasanaeth Seisnig, ac 51 gwasanaeth mewn rhan yn Gymreig, ac mewn rhan yn Seisnig; yn gwneyd yn y cyfan, 734 gwasanaeth crefyddol yn y nifer dywededig o blwyfi, bob wythnos. Yn yr unrhyw blwyfi, y mae 1191 o addoldai ymneillduol, y rhai a gyfodwyd yn ystod y deugain mlynedd diweddaf, ar yr egwyddor wirfoddol, a hyny drwy gyfraniadau y bobl gyffredin, y rhai ydynt yn gorfod ymddibynu am eu cynnaliaeth ar eu llafur personol eu hunain; ac yn yr addolfeydd hyny, cynnelir 2037 gwasanaeth crefyddol Cymreig ar y Sabbothau, a 473 gwasanaeth crefyddol Seisnig; ac yn yr wythnos, 1635 gwasanaeth crefyddol Cymreig, a 285 gwasanaeth crefyddol Seisnig; yn gwneyd yn y cyfan, 4430 gwasanaeth crefyddol bob wythnos. Neu mewn geiriau ereill, y mae yr egwyddor wirfoddol yn darpar i genedl y Cymry, gymmaint *chwe' gwaith* o foddion crefyddol—heb osod treth ormesol ar undyn, ond trwy gyfraniadau ewyllysgar gwerin y dywysogaeth—ag a ddarperir ar draul y dau can' mil o bunnau o waddolaeth a berthyn i'r Eglwys Sefydledig! Oddiwrth y cyfrifon blaenorol, gallwn gasglu bod tua *deuddeng mil* o gyfarfodydd crefyddol yn cael eu cynnal yn y dywysogaeth, bob wythnos, er nad yw y boblogaeth nemawr dros *filiwn* o eneidiau; ac y mae yn dra amheus genyf a ellir canfod un genedl arall ar wyneb y ddaear yn mwynhau y fath helaethrwydd o foddion crefyddol, mewn cyfartaledd i'w phoblogaeth.

Ffaith arall a grybwyllaf, er egluro ansawdd bresenol crefydd yn y tir, a fydd yr ystadegau a ddangosant pa fodd y gwerthfawrogir y moddion hyn gan y genedl yn gyffredinol.—Ar Sabboth yn nechreu y flwyddyn 1847, gwnaed cyfrifiad manol o'r nifer oeddynt bresenol, ar oriau gwasanaeth dwyfol, yn eglwysi a chapeli 392 o blwyfi yn Ngogledd a Deheubarth Cymru, gan ddynion cyfrifol, da eu cymmeriad yn mysg eu cydnabod, y rhai a chwanegent bob un yr ardystiad canlynol, yn nghyda'u henwau personol, ac enwau eu trigleoedd, wrtho:—"Yr ydym ni, y rhai a gasglasom y cyfrifon uchod, yn tystio fod y cyfryw gyfrifon yn gywir, hyd eithaf ein gwybodaeth."

Gwelwn fod y 392 plwyfydd, yn y rhai y gwnaed y cyfrifiad crybwylledig, yn cynnwys poblogaeth o 431,002; tra yr oedd holl boblogaeth y deuddeg sir o ba rai y cymmerid y nifer dywededig o blwyfi, yn 911,603; ac felly yr oedd poblogaeth y 392 plwyfydd y gwnaed y cyfrifiad ynddynt yn lled agos i haner poblogaeth yr holl wlad; gan hyny, y mae y cyfrifiad

a wnaed yn safon ddigonol i wneyd allan oddiarno gasgliad lled fanol am y cyfartaledd o'r genedl ydynt yn arfer mynychu cyfarfodydd crefyddol ac ysgolion Sabbothawl yr Eglwys Sefydledig, a'r addoldai ymneillduol. Dosberthid y nifer uchod o blwyfi fel y canlyn:—Mon, 30; Arfon, 59; Dinbach, 53; Fflint, 17; Meirion, 23; Trefaldwyn, 28; Brecheiniog, 27; Aberteifi, 54; Caerfyrddin, 40; Morganwg, 18; Penfro, 43; a Maesyfed, 10 —yn y cyfan 392 o blwyfi.

*Y nifer oeddynt bresenol yn yr Eglwysi a'r Capeli, mewn 392 o blwyfi, yn Ngogledd a Deheubarth Cymru, ar Sabboth yn nechreu y flwyddyn* 1847.

| Enwadau. | Nifer presenol mewn Gwasanaeth Crefyddol ar Sabboth. | | | Canolrif yn yr addoliad. | Niferpresenol yn yr ysgolion sabothol. | | Canolrif yn yr ysgolion |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| | Boreu. | Nawn. | Nos. | | Boreu. | Nawn. | |
| Bedyddwyr | 11807 | 6937 | 14579 | 11108 | 4725 | 6399 | 5562 |
| Annibynwyr | 26434 | 16282 | 33737 | 25484 | 11721 | 15252 | 13487 |
| Trefnyddion Calfinaidd | 33470 | 31562 | 62425 | 42486 | 19860 | 29685 | 24772 |
| ,, Wesleyaidd | 6173 | 7875 | 17001 | 10350 | 4172 | 5764 | 4968 |
| Ereill | 1765 | 723 | 474 | 987 | 163 | 143 | 153 |
| Cyfanrif | 79649 | 63379 | 128216 | 90415 | 40641 | 57243 | 48942 |
| Yr Eglwys Sefydledig | 18128 | 9710 | 5889 | 11242 | 3396 | 6002 | 4699 |
| Cyfanrif mewn Eglwysi a Chapelau | 97777 | 73089 | 134105 | 101657 | 44037 | 63245 | 33641 |
| Eto, ar yr holl boblogaeth | 206806 | 154589 | 283643 | 215013 | 93143 | 133768 | 113455 |
| Cyfartaledd yn addoldai yr Ymneillduwyr | 81½ o'r cant | 87 o'r cant | 96 o'r cant | 89 o'r cant | 92½ o'r cant | 90½ o'r cant | 91 o'r cant |
| Eto, yn yr Eglwysi | 18½ o'r cant | 13 o'r cant | 4 o'r cant | 11 o'r cant | 7½ o'r cant | 9½ o'r cant | 9 o'r cant |

Mae y nifer presenol yn yr Eglwysi yn cynnwys plant yr Ysgolion Gwladwriaethol, llawer o ba rai ydynt blant Ymneillduwyr.

Oddiwrth y cyfrifon blaenorol, gwelwn fod tuag *un ran o dair* o boblogaeth Cymru yn bresenol mewn rhyw le addoliad, ar y Sabboth dywededig, er ei fod yn Sabboth dryghinawg, yn nyfnder gauaf, pan oedd y ffyrdd yn ddyfnion, ac felly yn anhawdd i'r hen bobl fethiannus, yr afiachus, a'r llesg, fyned i'r addoldai; ac ar adeg pan oedd yr anifeiliaid i fewn, yr hyn, mewn gwlad amaethyddol, a'i gwna yn rhy anfanteisiol i lawer o weinidogion fod yn bresenol: dyma brawf anwadadwy, dybygaf, fod y Cymry yn gwerthfawrogi moddion crefyddol yn helaethach nag un genedl arall yn y deyrnas gyfunol!

Yr ail ran o destyn y Ddarlith hon yw *ansawdd moesau* yn mysg cenedl y Cymry. Sonir am ein cenedl, mewn rhyw gylchoedd, fel pe na byddent namyn haner anwariaid—heb fod yn eu haneddau, eu hymborth a'u dillad, eu harferion cymdeithasol, a'u dull o drin y ddaear, nemawr os dim uwchlaw y Gwyddelod; ac mewn newyddiaduron Cymreig a Seisnig a gyhoeddir yn y dywysogaeth, darlunir y grefydd a ffyna benaf yn Nghymru—sef, ymneillduaeth—yn waeth na Phabyddiaeth; a chyfresir hi â meddwdod, godineb, a delw-addoliaeth; awgrymir ei bod wedi gwneyd mwy o ddrwg i Gymru, yn nghorph y can' mlynedd diweddaf, na'r arferiad niweidiol o

gydorwedd; a bod yr arfer garwriaethol yn hanedig o'r un grefyddol; ac mai plentyn ymneillduaeth Cymru ydyw bastarddiaeth ein gwlad, &c. Darluniant Gymru fel y wlad sydd yn bregethwr-farchogedig—y wlad a ddyfethir, ïe, a ddemnir gan hudolwyr pleidiau *anwarantedig;* a'r gweinidogion mwyaf llafurus, doniol, a defnyddiol yn y wlad, os heb urddau esgobawl, a ddarlunir yn yr unrhyw gyhoeddiadau fel traws-ymwthwyr anawdurdodedig, hereticiaid a sismaticiaid pechadurus. Heb ymdroi i olrhain geudeb yr ymhoniad a wneir gan rai o eglwyswyr Cymru o'u holyniaeth apostolaidd, yn y Ddarlith hon, âf rhagof i ymofyn pa beth ydyw ansawdd moesau gwlad sydd fel hyn wedi ei melldigo mor ofnadwy gan ymneillduaeth. Os ydyw yr haeriadau crybwylledig uchod yn wir, rhaid fod trigolion y gwledydd lle y ffyna ymneillduaeth fwyaf ynddynt, *lawer yn îs ar raddeg moesoldeb* na thrigolion y gwledydd lle nad oes nemawr o ddylanwad gan ymneillduaeth, ond lle y mae gweinidogion yr Eglwys Sefydledig yn cael eu ffordd eu hunain yn fwyaf diatalfa, i gario yn mlaen addysg crefyddol a moesol y bobl; ac os gellir profi hyny, bydd yn un o'r dadleuon cryfaf er darbwyllo ein cenedl i ymwrthod âg ymneillduaeth, ac ymryddhau am byth â'r draul afreidiol—ïe, a niweidiol, yn ol yr haeriadau blaenorol—o gynnal ymneillduaeth, i'r hyn nis cymhellir hwy gan lywodraeth na chyfraith wladol, ac nis gorfodir hwy gan unrhyw rwymau, ond a roddant arnynt eu hunain yn wirfoddol.

Wrth edrych i'r ddeiliadeb (*census*) a gymmerwyd yn y flwyddyn 1851, gwelaf mai holl nifer trigolion Gogledd Cymru ydoedd 404,160; a holl nifer troseddwyr y gyfraith wladol, yn chwe' sir Gwynedd, am yr un flwyddyn, oedd 225—neu *un* o bob 1796. Yr un pryd, yr oedd nifer trigolion swydd Gaerlleon—gwlad sydd yn ymylu ar Wynedd, ac o ran ei hansawdd yn gyffelyb iddi, sef mewn rhan yn weithfaol ac mewn rhan yn amaethyddol—yn 423,438; a'r troseddwyr ynddi yn 816, neu *un* o bob 518. Felly, y mae trigolion Gwynedd, er mor anffodus ydynt yn eu crefydd, yn sefyll yn uwch *dair gwaith* ar raddeg moesoldeb, yn llyfrau llywodraeth Prydain Fawr, na thrigolion swydd Gaerlleon, y rhai ydynt yn rhydd mewn cymhariaeth oddiwrth ddylanwad ymneillduaeth.

Trachefn, y mae Deheubarth Cymru, yn ol y ddeiliadeb ddiweddaf, yn cynnwys 607,496 o drigolion; a nifer y troseddwyr o honynt, yn yr un flwyddyn, oedd 445—o ba rai yr oedd 287 o sir Forganwg yn unig, lle y mae cynnifer o wehilion holl wledydd Prydain a'r Iwerddon, yn cyrchu i'r gweithfeydd haiarn ac efydd; ond er y cam yma, nifer y drwgweithredwyr yn Neheubarth Cymru, am y flwyddyn grybwylledig, oedd *un* o bob 1365 o'r trigolion. Y mae dwy sir yn ymylu ar y Deheubarth, sef Henffordd a Chaerloyw, a'u poblogaeth yn nghyd a wna 518,587; a'u troseddwyr 912—neu *un* o bob 568 o'r trigolion: felly, y mae y Deheuwyr eto, er aflendid y Merthyr, a phobl gymmysg y gweithfeydd haiarn, yn sefyll yn uwch *ddwywaith* ar raddeg moesoldeb, na thrigolion y ddwy sir gerllaw iddynt, y rhai mewn cymhariaeth ydynt yn rhydd oddiwrth ddylanwad ymneillduaeth. Ni alltudiwyd cymmaint ag *un* o ddeuddeg sir Cymru yn y flwyddyn uchod; ond o'r tair sir Seisnig a nodwyd uchod, alltudiwyd *chwech* dros eu hoes.

Wrth gyferbynu Cymru oll gyda Lloegr oll, y mae graddau cymhariaethol y troseddwyr a'r boblogaeth yn sefyll fel y canlyn:—Cymru, *un* troseddwr allan o bob 1519 o'r trigolion; a Lloegr, *un* allan o bob 813. Felly, nyni a ganfyddwn fod Cymru oll yn sefyll tua *dwy waith* yn uwch na Lloegr oll, ar raddeg moesoldeb. Nifer y troseddwyr a gafwyd yn euog, yn ngwahanol siroedd Cymru, yn ystod y flwyddyn 1851, oedd fel y canlyn:—

| *Siroedd.* | *Troseddwyr.* | *Trigolion.* | *Cyfartaledd.* |
|---|---|---|---|
| Mon | 43 | 137,916 | Un allan o bob 1393. |
| Arfon | 56 | | |
| Meirion | 25 | 51,242 | Un allan o bob 2049. |
| Dinbach | 77 | 96,820 | Un allan o bob 1257. |
| Fflint | 63 | 41,053 | Un allan o bob 652. |
| Trefaldwyn | 73 | 77,129 | Un allen o bob 1056. |
| Ceredigion | 45 | 94,643 | Un allan o bob 2170. |
| Penfro | 88 | 84,456 | Un allan o bob 960. |
| Caerfyrddin | 75 | 97,687 | Un allan o bob 1302. |
| Brycheiniog | 66 | 59,162 | Un allan o bob 895. |
| Morganwg | 378 | 240,132 | Un allan o bob 635. |
| Maesyfed | 20 | 31,416 | Un allan o bob 1570. |

Ond y peth a roddir fwyaf yn erbyn y Cymry ydyw *anniweirdeb*, yr hyn a brofir trwy luosogrwydd y genedigaethau annghyfreithlawn yn y dywysogaeth. Mae yn wir fod hyn yn frycheuyn y dymunai pob Cristion effro yn y wlad ei weled yn cael ei ddileu ar frys oddiar nodweddiad ei genedl; ac megys y gwnaed ymdrechion canmoladwy i ddarostwng meddwdod y genedl—yr hyn hefyd a fu yn llwyddiannus i fesur mawr—dylid gwneyd ymdrechiadau arbenig yn erbyn y pechod hwn hefyd, a pharhau ynddynt, hyd oni wneler yr arferiad sydd yn achlysur penaf o hono—sef cydorwedd—yn ffiaidd yn nghyfrif yr oes sydd yn codi. Y mae yr arfer atgas hon yn hen iawn yn mysg ein cenedl, fel y gellid profi o gyfansoddiadau ein beirdd, o Dafydd ab Gwilym hyd Lewelyn Ddu o Fon; ac y mae yr hyn sydd wedi hir wreiddio fel arfer genedlaethol, yn beth nas gellir ei ddifodi heb ymdrechion egniol, unol, a pharhaus, ar ran y doeth, y da, a'r dylanwadol, tuag at hyny. Dylai rhieni, yn nghydag athrawon ac athrawesau yr ysgolion Sabbothawl, ymddiddan yn ddifrifol gyda'r ieuenctyd, am y mawr bwys o'u mynediad yn anrhydeddus i'r cyflwr priodasol; a dangos iddynt, gyda phob addfwynder a difrifwch, anweddeidd-dra a pherygl yr arfer a ffyna yn rhag-gyfeillach ieuenctyd, mewn rhai cyrau o'r wlad yn bresenol. Dylai penau teuluoedd ofalu am roddi cyfleustra priodol, o ran amser a lle, i'r ieuenctyd a fyddont dan eu gofal—pa un bynag ai eu plant ai eu gwasanaethyddion—i gyfeillachu â'u gilydd; ac ymddwyn atynt yn y fath fodd ag i enill eu hymddiried, fel y gwnelo yr ieuenctyd gynghorwyr o honynt, yn lle cuchiaw arnynt mewn nwydau drwg, fel pe byddai yn bechod iddynt feddwl am fod byth yn amgen na myneich a lleianod—gan gofio fod yr unrhyw dueddiadau naturiol yn eu plant ag oedd ynddynt hwythau pan yn eu hoed. Ar yr un pryd, dylid eu dysgu i ochel myned i'r ystad briodasol yn annarbodus; ond o'r pryd y dechreuont enill rhyw faint, eu harfer i ddefnyddio arian gyda chynnildeb, gan droi rhyw swm o'r neilldu yn barhaus, gyda'r bwriad o osod iddynt eu hunain sail ddedwyddwch yn y cyflwr priodasol; ac y mae yn sicr genyf, fel y delont i grynhoi ychydig o ffrwyth eu llafur a'u cynnilwch eu hunain, y deuant i roddi mwy o fri ar gadw iddynt eu hunain gymmeriad dihalog; ac felly, gwaredid ein gwlad rhag llawer o'i drygau.

Ond y mae cyfiawnder â'm cenedl yn fy rhwymo i ddywedyd fy mod, wedi llawer o ymchwiliad, yn gorfod barnu nad yw Cymru mor ddwfn yn y pechod o anniweirdeb ag yw Lloegr yn gyffredinol; ac na buasai gymmaint o sylw ar anniweirdeb Cymru, oni buasai ragoriaeth Cymru mewn moesau cyffredinol. Tra y mae puteindai cyhoeddus yn gyffredin yn Lloegr, ac yn ffynu fwyaf efallai lle y mae bastarddiaeth leiaf o'r bron, y maent o drugaredd yn dra anaml yn y dywysogaeth; a buan y byddo y wlad wedi ei glanhau yn llwyr oddiwrthynt. Y cyfrifon canlynol hefyd—

y rhai a gymmerwyd o adroddiad y Cofrestrydd Cyffredinol, am 1848—a ddangosant yn gywir sefyllfa bastarddiaeth yn Ngogledd a Deheubarth Cymru, mewn cymhariaeth i ranau eang o Loegr. Holl nifer y genedigaethau yn Ngogledd Cymru, am y flwyddyn uchod, oedd 11,067; ac o honynt yr oedd 832 yn fastarddiaid—neu *un* o bob 13¼. Am y Deheudir, yr holl enedigaethau cofrestredig yn yr un flwyddyn oedd 18,463, ac o honynt 1300 yn fastarddiaid—neu *un* o bob 14¼—nifer ag y dylid gwneyd pob ymdrech i'w leihau ar frys. Ond fel nas gellir priodoli hyn mwyach i ymneillduaeth Cymru, dodwn ddarluniad cymhariaethol o ranau ereill y deyrnas, lle nad yw ymneillduaeth mor ffyniannus.—Swydd Gaerlleon, yr hon a gynnwys fwy o boblogaeth na chwe' sir Gwynedd—genedigaethau, 12635, o'r rhai yr oedd yn fastarddiaid 1072—neu *un* o bob 11½. *Lancashire*, poblogaeth yr hon nid oedd nemawr yn fyr o fod yn *ddau* cymmaint a holl Gymru—genedigaethau, 71,893, o ba rai yr oedd 5384 yn fastarddiaid—neu *un* o bob 13½. Y *North Midland counties*—sef, *Leicester*, *Rutland*, *Lincoln*, *Nottingham*, a *Derbyshire*, poblogaeth y rhai yn nghyd ydynt ddeuddeg can' mil—genedigaethau, 37,384; bastarddiaid, 2768—neu *un* o bob 13¼. *West Midland*, gyda phoblogaeth o 2,132,853—yn cynnwys siroedd Caerloyw, Henffordd, Amwythig, *Stafford*, *Worcester*, a *Warwick*—genedigaethau, 68,074; bastarddiaid, 4527—neu *un* o bob 14¼. *Eastern Division*—yn cynnwys swyddi *Essex*, *Suffolk*, a *Norfolk*—poblogaeth, 1,113,710; genedigaethau, 34,517; bastarddiaid, 2502—neu *un* o bob 12. *Cumberland*—poblogaeth, 194,803; genedigaethau, 6005; bastarddiaid, 638—neu *un* o bob 9⅓! Neu pe y cymmerem yr holl randir ogleddol, gan gynnwys swyddi *Durham*, *Northumberland*, *Cumberland*, a *Westmoreland*—poblogaeth yr hon randir sydd 963,277; genedigaethau, 32,276; bastarddiaid, 2325—neu *un* o bob 13¾. Swydd *Nottingham*—poblogaeth, 400,266; genedigaethau, 8457; bastarddiaid, 736—neu *un* o bob 11½! Oddiwrth yr ystadegau uchod, ac ychwaneg a allesid ei roddi, gwelwn fod angen mawr am ddiwygiad yn y peth hwn yn mysg ein brodyr y Saeson, cystal ag yn ein mysg ninau ein hunain.

Dywedwyd lawer gwaith yn ddiweddar fod Mon, lle mae Methodistiaeth yn grefaf, yn ffieiddiaf yn y drwg hwn; nis gwn pa sail sydd i'r cyfryw achwyniad, oddieithr ei fod wedi ei achosi trwy fod Methodistiaid Mon wedi bod yn fwy egniol na'r cyffredin o'u cymmydogion, yn ceisio tynu i lawr yr hyn a elwir "arfer y wlad." Os felly, y mae y cyfryw ymddygiad tuag atynt yn dra annghyfiawn: dyma fel y mae yr ystadegau yn yr adroddiad a ddarllenwyd yn dangos Mon:—Nifer y genedigaethau, 1578; o ba rai yr oedd yn fastarddiaid, 85—neu *un* o bob 18. Swydd *Gaerynarfon*—nifer y genedigaethau, 2519; o ba rai yr oedd yn fastarddiaid, 165—neu *un* o bob 15¼. *Meirionydd*—nifer y genedigaethau, 1358; bastarddiaid, 101—neu *un* o bob 13½. *Dinbach*—nifer y genedigaethau, 2577; bastarddiaid, 193—neu *un* o bob 13¼. *Fflint*—nifer y genedigaethau, 1099; bastarddiaid, 57—neu *un* o bob 19. Ac yn swydd *Drefaldwyn*—lle y mae dylanwad Methodistiaeth *leiaf* o un o siroedd Gwynedd,* ac yr ydwyf yn meddwl na chyfeiliornaf wrth ddywedyd mai dyma y sir lle y mae dylanwad ymneillduaeth leiaf o lawer hefyd—nifer y genedigaethau am y flwyddyn grybwylledig ydoedd 1936; a nifer y bastarddiaid o honynt oedd 231—neu *un* o bob 8¼! Gan hyny, yn ol yr ystadegau sydd o'n blaen, mae yn amlwg y buasai Gogledd Cymru yn alluog i ddyrchafu ei phen yn lled uchel yn y pwnc hwn, oni buasai gyssylltiad swydd Drefaldwyn â hi.

* Gwel Ystadegau y Dyddiadur Methodistaidd.

Y peth olaf sydd yn galw am ein sylw yn nhestyn y Ddarlith hon ydyw ansawdd bresenol *addysg* yn mysg ein cenedl.

Tra yr addefwn yn rhwydd fod tir lawer i'w feddiannu eto yn hyn, yn mysg ein cenedl, yr ydym ar yr un pryd yn hyderus y gallwn ddywedyd, fod cymmaint o gynnydd ar ddysgeidiaeth wedi bod yn Nghymru, mewn cyfartaledd i'r boblogaeth, o fewn yr haner canrif ddiweddaf, ag un ran o'r deyrnas gyfunol. Pan y dechreuodd y diweddar Barch. T. Charles o'r Bala, lafurio yn mysg ein cenedl, nid oedd prin un o ddeg o'r Cymry yn alluog i ddarllen mewn unrhyw iaith; ond erbyn heddyw, yr ydwyf yn meddwl nad gormod i mi ddywedyd, nad oes un o gant o'n cenedl, o ddeng mlwydd oed ac uchod, heb fod yn alluog i ddarllen eu hiaith eu hunain o leiaf. Y pryd hyny, yr oedd gweled *llafurwr* yn meddu Beibl, ac yn gallu ei ddarllen, yn beth hynod; ond erbyn hyn, y mae gweled llafurwr o Gymro *heb* feddu Beibl, a gallu ei ddarllen, yn llawn mor hynod; ac o'r ychydig ydynt yn y dygn anwybodaeth yma, yn nghanol cyflawnder o fanteision i gyrhaedd gwybodaeth—y rhai, trwy feddwdod ac annghrefyddoldeb eu rhieni, a fagwyd i fynu yn llwyr esgeulus o'r ysgolion Sabbothol, a phob moddion crefyddol—y mae prif ddrwgweithredwyr ein gwlad yn tori allan, fel y gellir gweled trwy adroddiadau ein carcharau.

Mae y diweddar Evan Jones o Dredegar *(Ieuan Gwynedd)*—yr hwn yr oedd ei lafur er gwasanaethu y Cymry yn ddihafal—yn ei lythyr at Wm. Williams, Ysw., A.S., ar gyflwr addysgawl a moesol y genedl, yn dywedyd fel hyn:—

"Y mae awyddfryd y bobl am addysg yn gwneyd eich cynllun yn afreidiol. Mae y Cymry yn benderfynol i'w haddysgu eu hunain; ac y mae hyd yn nod symledd y tai yn y rhai y cedwir yr ysgolion yn profi hyn—yr ymdrech egniol a wneir i gynnal athraw da yn mhob lle—a'r nifer tra mawr o ysgolion annghyhoedd (681,) yr hyn sydd ddieilfydd efallai yn hanes poblogaeth o weithwyr—ydynt gadarnhad digonol o wirionedd fy haeriad. Darfu i'r Eglwys, trwy gymhorth y bendefigaeth, gwaddoliadau, a dyroddion oddiwrth bwyllgor y Cynghor, ddarpar 581 o ysgolion; *tra y mae ymdrechiadau y werin, heb nemawr o gefnogaeth, wedi sefydlu dim llai na 949!* Fe ddichon fod ansawdd yr addysg yn isel yn amryw o'r sefydliadau hyn; ond fe'n hysbysir yn adroddiadau y dirprwywyr, fod yr ysgolion israddawl yn cael eu gadael can gynted ag y sefydlir ysgol amgenach, megys ysgol Frutanaidd, mewn ardal. Mae y Cymry, er eu tlodi, yn abl i ddarbod addysg iddynt eu hunain. Lle y byddo rhieni yn ystyriol o'u dyledswydd, fe ddiflana anhawsderau yn fuan. Pan fyddys wedi darpar ar gyfer y swm, yna troir y sylw yn ddioed at yr ansawdd. Dylech gofio bod y Cymry, yn ystod y saith mlynedd a deugain diweddaf, wedi cyfodi, neu ailadeiladu, o leiaf *ddwy fil* o gapelau; ac ar gyfrif tra chymmedrol, rhaid eu bod wedi talu ar hyn, o leiaf *wyth gan' mil o bunnau!* Nis gall fod traul 2500 o gapelau a gorsafau, gan gynnwys casgliadau at sefydliadau cartrefol a thramor, er lledaeniad yr efengyl, yn llai na *chant a deuddeg ar hugain o filoedd o bunnau* yn flyneddawl. Mae athrofeydd wedi eu sefydlu, gweinidogion yn cael eu cynnal yn well, fel y mae beichiau dyled yr addoldai yn lleihau, a'r teimlad o blaid addysg yn enill tir yn raddol, ond yn gysson; ac wedi gwneyd hyn oll, pa beth na all y Cymry ei wneyd?

Mae cynnydd addysg yn profi eich cynllun yn afreidiol. Gadewch i ni ystyried cynnydd addysg ddyddiol yn gyntaf. Ar y pen yma, ein hawdurdodau ydynt bwyllgor arglwydd Brougham, ac adroddiad pwyllgor iarll Kerry. Er iseled y bri a ddyry Mr. Symons ar yr adroddiadau hyn,

y mae yn amlwg eu bod yn profi cynnydd tra mawr ar ysgolion ac ysgolorion, o'r flwyddyn 1803 hyd 1834. A chan nad yw cyfrifon y dirprwywyr presenol, efallai, yn cynnwys un ysgol lle y mae y tal uwchlaw chwe' cheiniog yr wythnos, y mae yn ofynol i ni wneyd rhyw amcan-gyfrif o'r nifer a berthynant i ysgolion uwch. Gan fod y werin Gymreig mor awyddus am addysg, y mae yn gweddu i ni gasglu nad yw y canolradd a'r uwchradd yn ol yn hyny. Y mae Mr. Symons o'r farn, nad annheg a fyddai cyfrif un o bob chwech fel rhai na fyddent yn debyg o ymofyn addysg mewn ysgolion cyffredin. Er fod y cyfrif yna yn dra isel, eto rhag peri achos dadl, nyni a'i cymmerwn. Os caniateir 6½ y cant am gynnydd blyneddawl y boblogaeth, o'r flwyddyn 1841 hyd y blyneddoedd 1846-7, y nifer ar yr adeg olaf a fyddai 970,857. Canfu y dirprwywyr fod 72,194 o ysgolorion dyddiol mewn ysgolion i'r dospeirth llafurus; at y rhai hyn, ychwaneger y nifer crybwylledig ar gyfer y dospeirth uchelradd a chanolradd, yr hyn a wna 37,849, ac wedi eu chwanegu at 72,194, sef yr hyn a gafwyd yn yr ysgolion cyffredin, dangosir fod yn Nghymru 110,034 yn derbyn addysg ddyddiol. Gan hyny, ymddengys fod cynnydd addysg, yn y pum' mlynedd a deugain ddiweddaf, fel y canlyn:—

NIFER O YSGOLORION DYDDIOL, A'U CYFARTALEDD I'R BOBLOGAETH.

| Blwyddyn. | Ysgolorion dyddiol. | Cyfartaledd i'r Boblogaeth. |
|---|---|---|
| 1803 | 21,369 | Un i 26 |
| 1818 | 30,601 | Un i 22 |
| 1833 | 54,810 | Un i 15 |
| 1846-7 | 110,034 | Un i 9 |

A ydyw y cynnydd rhyfeddol yma yn dangos fod cynllun arall yn angenrheidiol? Nac ydyw, mewn un modd. * * * *

Atolygaf am eich sylw eto at gynnydd addysg trwy yr ysgolion Sabbothawl.—Yn y flwyddyn 1803, yr oedd 250 o ysgolion Sabbothawl yn Nghymru; ond fe'm harweinir i gredu y byddai cyfrif deugain o ysgolorion am bob ysgol yn 1803 yn rhy uchel; ond cyfrifer eu bod yn ddeugain.

NIFER O YSGOLORION SABBOTHAWL, A'U CYFARTALEDD I'R BOBLOGAETH.

| Blwyddyn. | Ysgolorion Sabbothawl. | Cyfartaledd i'r Boblogaeth. |
|---|---|---|
| 1803 | 10,000 | Un i 55½ |
| 1818 | 21,369 | Un i 28 |
| 1833 | 173,171 | Un i $4\frac{4}{5}$ |
| 1846-7 | 238,740 | Un i 4 |

Yn awr, pe y caniataem nad oedd cyfrifon 1803, ac adroddiadau 1818 ac 1833, ddim yn berffaith gywir, eto nis gallant fod mor annghywir fel na ddangosant gynnydd ar foddion addysg, digyffelyb yn nghofion cenedloedd!"

Nifer yr athrawon a'r athrawesau yn ysgolion Sabbothawl Cymru, pan y gwnaed y cyfrifiad blaenorol, oedd fel y canlyn:—Athrawon, 24,406; athrawesau, 9093; heb nodi eu rhyw, 163; yn y cyfan, 33,662. Llawer mwy yn gweinyddu addysg radlawn i'r genedl, yn yr ysgolion Sabbothawl yn unig, nag ydoedd yn derbyn addysg o unrhyw fath, mewn ysgolion dyddiol a Sabbothawl, ddeugain mlynedd yn ol! Onid ydyw hyn yn gynnydd o'r fath oreu ar ansawdd addysg yn mysg ein cenedl?

A ganlyn sydd grynodeb darluniadol o ysgolion dyddiol Cymru, wedi ei dynu o adroddiadau y dirprwywyr:—

| Ysgolion. | | Ysgolorion. |
|---|---|---|
| Yr Eglwys | 581 | 35,600 |
| Prydeinig | 64 | 7,654 |
| Annghyhoedd | 681 | 18,177 |
| Enwadol, &c. | 204 | 10,771 |
| Y cyfan | 1530 | 72,202 |

Ac fe ddywaid y dirprwywyr, fod agos yr holl ysgolion—cyhoedd ac annghyhoedd—nas nodir fel ysgolion yr Eglwys, yn cael eu cynnal gan ymneillduwyr, ac yn cynnwys plant ymneillduwyr. Felly, fe ymddengys fod aelodau yr Eglwys yn cynnal 581 o ysgolion, yn y rhai y cynnwysir 35,600 o ysgolorion; tra y mae yr holl ysgolion ereill—949 o nifer—yn cynnwys 36,602. Felly, yr oedd agos i *haner* yr ysgolorion dyddiol yn cael eu haddysg gan yr Eglwys. Ond y mae yn dra gwahanol gyda'r ysgolion Sabbothawl, fel y gwelir oddiwrth y daflen ganlynol, a dynwyd allan o adroddiadau y dirprwywyr, gan Edward Baines, Ysw., o Leeds:—

YSGOLION SABBOTHAWL YN NGHYMRU.

| Enwadau. | Ysgolion. | Ysgolorion. | Athr. | Ysgolorion yn darllen y Beibl. | Eto, yn perthyn i ysgolion dyddiol. |
|---|---|---|---|---|---|
| Yr Eglwys | 437 | 32668 | 3097 | 17308 | 16730 |
| Trefnydd. Calfinaidd | 881 | 101203 | 15357 | 67544 | 15337 |
| Annibynwyr | 601 | 55768 | 8094 | 33877 | 10196 |
| Bedyddwyr | 301 | 24338 | 3733 | 13574 | 5279 |
| Trefnydd. Wesleyaidd | 266 | 21959 | 3089 | 12661 | 4985 |
| Enwadau ereill | 28 | 2804 | 292 | 1244 | 995 |
| Cyfanrif | 2514 | 238740 | 33662 | 146208 | 53522 |

Oddiwrth y daflen ragflaenol, ymddengys nad oedd ond 437 o ysgolion Sabbothawl, yn cynnwys 32,668 o ysgolorion, yn cael eu cynnal gan yr eglwys sefydledig; tra yr oedd 2077 o ysgolion, yn cynnwys 206,672 o ysgolorion, yn cael eu cynnal gan ymneillduwyr. *Un o saith* o'r ysgolorion ydynt yn mynychu ysgolion Sabbothawl Eglwys Loegr, a *chwech o saith* a fynychant ysgolion Sabbothawl yr ymneillduwyr. Ac y mae yn deilwng o sylw, bod llawer o blant ymneillduwyr—y rhai a berthynant i ysgolion dyddiol yr Eglwys—yn gorfod myned i ysgolion Sabbothawl yr Eglwys hefyd; ac y mae yr ystyriaeth yma yn cyfiawnhau y casgliad fod yr ymneillduwyr yn gor-rifo yr eglwyswyr yn Nghymru mewn cyfartaledd fwy nag a ymddengys oddiwrth y daflen flaenorol. Y mae yn hyfryd canfod fod cynnifer a 146,208 o'r ysgolorion Sabbothawl yn darllen yr Ysgrythyrau sanctaidd, a 53,522 o honynt yn perthyn i ysgolion dyddiol.

Er pan fu y dirprwywyr trwy Gymru, y mae ymdrechiadau egniol wedi eu gwneuthur er ychwanegu moddion addysg yn mysg ein cenedl, a phe gwnelid adroddiad cyffelyb yn bresenol, y mae yn ddiau y canfyddid bod llawer o filoedd yn ychwaneg o dan addysg yn awr, nag ydoedd y pryd hyny—a bod yr addysg a gyfrenir yn yr ysgolion yn gyffredinol yn llawer uwch a gwerthfawrocach. A thra y gallwn ddywedyd yn ddibetrus, fod llawer mwy o'r Cymry yn bresenol yn alluog i ddarllen yn eu hiaith eu hunain, nag sydd o'r Saeson yn alluog i ddarllen yn eu hiaith eu hunain—mewn cyfartaledd i boblogaeth y ddwy genedl—yr ydym yn hyderus hefyd, y bydd yr oes sydd yn codi yn y dywysogaeth, yn gyfarwydd ar y ddwy iaith; canys y mae yn ddigon amlwg, tra y mae y Gymraeg yn cael ei choledd âg eiddigedd cenedlaethol canmoladwy, bod awydd cynnyddol yn cael ei amlygu drwy y wlad, am ymgydnabod â'r iaith Saesonaeg, er mwyn cyrhaedd y manteision a fwynheir trwy gyfrwng yr iaith hono.

Y mae y Wasg yn dwyn cyssylltiad pur bwysig âg ansawdd addysg yn mysg cenedl; ac am y wasg Gymreig, y mae yn hynod o gynnyrchiol, ac ystyried cyfynged y cylch yn yr hwn y gellir lledaenu ei chynnyrchion.* Bum yn synu llawer, wrth ddarllen y cyfnodolion Cymreig, at y chwaeth goethedig, a'r amcan i wneyd daioni, a ymddengys yn eu herthyglau cyffredinol, yn enwedig pan yn cofio eu bod agos oll wedi eu cyfansoddi gan ddynion o'r dosbarth gweithiol. Yn wir, ychydig ydyw y cyhoeddiadau Cymreig sydd yn amddifaid o hyn; a'r ychydig hyny ydynt rai y dysgwyliasid pethau amgenach oddiwrthynt, wrth ystyried manteision rhagorach y dosbarth a'u cefnogant yn benaf.

* Dymunem gyfeirio sylw y darllenydd at gyfres o erthyglau tra dyddorawl ar "Lyfryddiaeth y Cymry," yn y TRAETHODYDD, 1852-3.

# DARLITH XIV.

## YR EGLWYS SEFYDLEDIG AC ANNGHYDFFURFIAETH YN NGHYMRU.

---

MAE llawer o sylwadau wedi eu gwneuthur yn y Darlithiau blaenorol ar destyn y Ddarlith hon, fel y buais dros gryn yspaid o amser yn petruso pa un a wnawn ai cyfansoddi darlith ar y testyn hwn, yn ol fy addewid ar ddechreuad y gyfres, ai ynte ymesgusodi am beidio, o herwydd y ffaith a grybwyllwyd uchod: ond gan fod pawb o'm cyfeillion, i'r rhai yr amlygaswn y petrusder uchod, yn fy anog i wneyd yn ol yr hysbysiad dechreuawl, yr ydwyf yn ufuddhau iddynt—gan benderfynu bod mor ochelgar ag y gallaf rhag ail adrodd ffeithiau a grybwyllwyd yn barod yn y Darlithiau blaenorawl; er y bydd raid i mi yn ddiau gyffwrdd âg amryw o honynt, wrth fyned yn mlaen.

Y mae amryw o awduron eglwysig wedi ysgrifenu a chyhoeddi traithodau yn ddiweddar, er profi fod Eglwys Loegr yn anymddibynawl ar Eglwys Rhufain, trwy yr holl oesoedd. Y maent yn ceisio gwneuthur hyny, trwy ddadleu fod Cristionogaeth wedi ei throsglwyddo i Frydain cyn i Babyddiaeth gael ei sefydlu yn Rhufain; a bod yr Eglwys Brydeinig (neu Gymreig yn hytrach)—â'r hon yr oedd yr Eglwys Wyddelig yn un, fel y dywedir—wedi cadw ei hanymddibyniaeth ar Rufain, hyd amser y Diwygiad; ac yn adeg yr ymrafael a gymmerodd le rhwng y brenin Harri VIII. a'r Pab—y Saeson, y rhai oeddent wedi blino weithian yn dwyn iau drom y Pab, a gawsant "gyfleusdra addas i ymuno â'r Cymry dewr i ymwrthod yn llwyr â Phabyddiaeth."* A thrachefn, dywedir, "Nid ymneillduo oddiwrth Eglwys Rhufain, a sefydlu eglwys newydd, a wnaeth y diwygwyr, eithr yn unig glanhau a phuro hen eglwys gyfreithlawn y deyrnas, oddiwrth lygredd a chyfeiliornadau Pabyddiaeth, a'i hadferu i'w phurdeb a'i pherffeithrwydd cyntefig, heb gyfnewid dim ar ei hansawdd fel eglwys." Ychydig yn mhellach yn mlaen yn yr un traithawd, dywedir fel hyn:—"Eglwys Loegr ydyw unig eglwys awdurdodedig Prydain; hi yn unig yma a fedr olrhain ei hesgobion i fynu drwy hen seintiau yr ynys, at yr apostolion, ac at ein Harglwydd Iesu Grist, fel ei sylfaenydd. Ië, nid oes nag esgob, offeiriad, na diacon, yn ein plith, na fedr (os myn) darddu ei ddisgyniad ysbrydol oddiwrth Sant Pedr neu Sant Paul. Er fod Eglwys Rhufain yn apostolaidd o ran llin ac ach ei gweinidogion, eto, nid oes iddi hawl yn Ynys Prydain, oblegyd ni fedr olrhain ei hesgobion at yr un o'r hen esgobion Prydeinig a gynnrychiolent yr apostolion yn y deyrnas hon; ac heblaw hyny, y mae wedi gwyro oddiwrth y ffydd, ac yn ganlynol wedi dyfod yn hollol annghymmwys i gynnrychioli Cristionogrwydd.

Nid oes i ymneillduwyr ychwaith hawl yma; oblegyd er bod rhai o honynt hwy yn meddu ar burdeb athrawiaeth, eto, nid yw eu hachos o sefydliad apostolaidd; y maent wedi tori eu hunain oddiwrth gymmundeb yr eglwys a sefydlwyd gan yr apostolion, a thrwy hyny gyflawni y pechod o sism," &c.

Y mae genyf gryn lawer o barch i awdwr y traithawd y gwnaethpwyd y dyfyniadau uchod o honaw, fel offeiriad dysgedig, a hynafiaethydd galluog ac ymchwilgar; ond os ydyw ei resymeg yn y traithawd dan sylw, yn enghraifft deg o'r cymhwysder angenrheidiol i deilyngu y graddiad o Athraw yn y Celfyddydau yn y brifysgol, diau nad yw yn anrhydedd i'w chwennychu yn fawr; canys anfynych y gwelais, hyd yn nod yn y cyhoeddiadau cyfnodawl Cymreig—i'r rhai y mae llafurwyr unieithog Cymru yn ohebwyr—gynnyg mwy annghelfydd at ymresymu. Mae yn lled amlwg mai amcan yr awdwr hwn, fel llawer ereill o awdwyr eglwysig a ysgrifenant yn y dyddiau hyn, ydyw profi mai yr Eglwys Esgobyddawl—yr hon a elwir Eglwys Loegr—ydyw yr unig wir eglwys Gristionogawl yn y deyrnas hon; ac nad oes gymhwysder gweinidogaethol yn perthyn i neb ond y rhai a dderbyniasant urddau ynddi, am nad oes neb arall yn meddu yr "olyniaeth apostolaidd," na hawl i'w drosglwyddo i ereill.

Dadleua yr awdwyr hyn, mai *esgobion* ydoedd y tri wŷr hyny—Ilid, Cyndaf, ac Arwystli Hen—y rhai a anfonwyd gan yr apostol Paul, gyda Bran Fendigaid, ar ei ddychweliad adref o Rufain, i lafurio fel cenadon Cristionogawl yn mysg ein henafiaid. Yr ydym yn ddigon boddlawn i'w galw yn *esgobion;* a barnwn hefyd, bod llawer mwy o briodoldeb galw pob gweinidog Cristionogawl yn *esgob*, na galw yr un o honynt yn *offeiriad*. Ond carem wybod a oedd rhywbeth ynddynt yn cyfateb i'r rhai a elwir yn *esgobion* yn yr Eglwys Sefydledig yn y dyddiau hyn? Neu yn hytrach, a oes rhywbeth yn y swyddi esgobawl ac archesgobawl a ffynant yn yr Eglwys Sefydledig yn awr, yn cyfateb i arwedd yr eglwys Gristionogawl yn Ynys Prydain, cyn ei llygru gan Babyddiaeth? A oedd yr enw *esgob*, yr hwn a roddid ar weinidog Cristionogawl yn eglwys foreuol Prydain, cyn cael o honi ei llygru trwy ymgyfathrach â Rhufain, yn arwyddo fod iddo ryw awdurdod fawr ar lawer o weinidogion Cristionogawl ereill, neu arglwyddiaeth ar holl eglwysi talaith neu wlad—ai ynte, a elwid gweinidog eglwys neillduol yn *esgob* yma, megys y'i gelwid yn *henuriad* mewn manau ereill?

Y mae yr hanesydd *Nennius*, wrth draethu am lwyddiant a llafur Padrig yn yr Iwerddon, yn dywedyd—ei fod wedi seilio 365 o eglwysi, ac ordeinio 365 o esgobion, heblaw tair mil o henuriaid; sef, gweinidog am bob eglwys, a thuag wyth o swyddogion cynnorthwyol i bob un. Ac efe a ychwanega hefyd, bod nifer yr esgobion wedi lluosogi yn ddirfawr yn fuan, fel yr oedd nid yn unig bob eglwys yn meddu esgob, ond bod mwy nag un yn cael ei ordeinio mewn rhai trefydd neu ddinasoedd; ïe, a bod esgobion yn cael eu hordeinio yn aml heb fod unrhyw le neillduol wedi ei benodi iddynt.*

Pa un ai eglwysi ymneillduedig gwaradwyddedig Cymru, ynte yr Eglwys Sefydledig rwysgfawr, sydd yn meddu y cyfansoddiad tebycaf i'r cyn-eglwysi uchod? Ac onid llawer mwy priodol a fyddai dywedyd am y Puritaniaid—y rhai, yn amser y frenines Elisabeth, ni allent gydymffurfio â'r Eglwys Sefydledig, o herwydd ei llygredigaethau—mai

* Nennius's History of the Brions, sect. 54. Usher's Ancient Irish and British Church.

"Nid ymneillduo oddiwrth eglwys *Crist*, a sefydlu eglwys newydd, a wnaeth y (gwir) ddiwygwyr hyn, eithr yn unig glanhau a phuro hen eglwys gyfreithlawn y deyrnas oddiwrth lygredd a chyfeiliornadau Pabyddiaeth, a'i hadferu i'w phurdeb a'i pherffeithrwydd cyntefig, heb gyfnewid dim ar ei hansawdd fel eglwys?"

Ni chawn un gair o son am esgobion taleithiol, ac archesgobion, yn yr Eglwys Brydeinig, hyd yr adroddiad am Lleufer Mawr; yr hwn adroddiad a ffurfiwyd gan ei awdwyr, "yn eu sel bleidiol dros uchafiaeth y Pab, oreu a allent at eu perwyl hyny." Ac fel hyn, y mae genym seiliau cedyrn i gredu fod yr Eglwys Sefydledig, yn y deyrnas hon, yn ddyledus am ei threfn eglwysig bresenol, ei rhwysgfawredd, a'i haml raddau swyddogawl, i Eglwys Rhufain, ac i hono yn ei chyflwr dirywiedig.

Y mae yr awdwr y dyfynais ranau eisoes o'i draithawd, yn gwneyd defnydd mawr iawn, yn ei ddadl, o lafur a llwyddiant yr amrywiol genhadon Gwyddelig, er troedigaeth cenedl y Saeson i ffydd Iesu Grist, gan ddywedyd:—"Trowyd y rhan fwyaf o lawer o Saeson trwy weinidogaeth cenhadon ac esgobion o'r Iwerddon. Teyrnas Mercia—yn cynnwys swyddi Caerlleon, Nottingham, Derby, Caer Drew *(Stafford,)* yr Amwythig, Northampton, Caer Llŷr *(Leicester,)* Caer Lwyt Coed *(Lincoln,)* Huntingdon, Rutland, Warwick, Caerwrangon, Rhydychen, Caerloyw, Buckingham, Bedford, Henffordd, a rhan o Hertford—a drowyd i'r ffydd Gristionogawl gan Ffinan, Diuma, Ceollach, a Trumhere, y rhai oeddynt oll yn esgobion Gwyddelig. Teyrnas Northumberland—yn cynnwys swyddi Caerefrog a Lancaster, a rhanau gogleddol Lloegr, ac yn cyrhaedd gryn ffordd i Scotland—a drowyd yn benaf gan Aidan, esgob Gwyddelig arall." * * * "Trowyd Essex, Middlesex, a Hertford, gan Cedd, esgob Gwyddelig arall. Pictiaid, a Gwyddelod Scotland hefyd, a drowyd gan Columba, yr hwn oedd Wyddel, ac abad cyntaf Iona." * * * "Y Gwyddelod, y rhai oeddynt hollol anymddibynol ar Eglwys Rhufain, ac yn preswylio gogledd Prydain, a urddasant Aidan, Ffinan, a Cholman, yn esgobion olynol ar deyrnas Northumberland; Cedd (brawd Ceadda, esgob Caerefrog,) yn esgob ar y Saeson dwyreiniol; a Diuma—ac ar ei ol ef, Ceollach a Trumhere—yn esgobion ar y Saeson oeddynt yn cyfaneddu yn swydd Caer Llŷr, a'r Merciaid." * * *

"Ystyriai y Pabyddion urddiad yr esgobion hyn yn annghyfreithlawn, o herwydd nad oeddynt yn cydymffurfio âg Eglwys Rhufain. Felly, pan benodwyd Wilffrid i fod yn esgob yn lle Colman, ni fynai ei urddo gan y Gwyddelod na'r Cymry; eithr myned dros y môr a wnaeth i dderbyn urddiad Pabaidd."

Ac mewn nodyn, yn agos i ddiwedd ei lyfr, y mae yr awdwr hwn yn dywedyd—"Yr oedd holl ddefodau yr Eglwys Wyddelig yr un fath a rhai Eglwys Prydain."

Yn awr, y mae yn ymddangos, trwy gyd-dystiolaethau lluaws mawr o'r hanesyddion mwyaf credadwy, mai Eglwys Henaduriaethol oedd hono o'r dechreuad; ac mai y Pab Celestine ydoedd y cyntaf a geisiodd draws-wthio esgob arnynt. Fel y canlyn y dywaid "John o Fordun," yr hwn oedd hanesydd cyfrifol:—"Cyn dyfodiad Palladius, ni feddai yr Ysgotiaid, yn athrawon eu ffydd, a gweinyddwyr y sacramentau, namyn *Henaduriaid a myneich, gan ddilyn arferiad yr eglwys gyntefig.*" †

† Scotichronicon, lib. iii., c. 8.

Mae y cyffelyb adroddiad hefyd i'w weled yn Llyfr Aberdeen, lle y dywedir mai "Henaduriaid a myneich oeddynt athrawon ffydd, a gweinyddwyr sacramentau yr Ysgotiaid, *y rhai a ddylynent ddefod ac arfer yr eglwys gyntefig yn unig.*" *

John Mair, neu Major, hanesydd arall, tra enwog am ei gywiredd, a ddywaid—"Yn mlwyddyn ein Harglwydd 429, y darfu i'r Pab Celestinus gyssegru Sant Palladius yn esgob, a'i anfon i'r Alban; canys yr Albaniaid o'r blaen a hyfforddid yn y ffydd gan offeiriaid a myneich, *heb esgobion.*" †

Dyma eglwys wedi bod dros ddau can' mlynedd yn cael ei dysgu a'i llywodraethu gan henaduriaid, heb esobion taleithiol; ac y mae yr holl hen haneswyr a grybwyllant y ffaith, yn cydunaw i dystiolaethu bod hyny yn unol â defod ac arfer y gyn-eglwys.

Nid ydyw yn ymddangos bod rhyw lwyddiant aunghyffredinol wedi bod ar ymdrechiadau Palladius, yn yr Iwerddon na'r Alban; ac os llwyddodd efe i sefydlu esgobyddiaeth mewn rhyw ranau o'r Alban, y mae yn ymddangos i'r genhadaeth Wyddelig, yr hon a ddaeth drosodd o dan lywyddiaeth Columba, yr hon a ymsefydlodd yn Iona—fod yn hynod o lwyddiannus i adferu Cristionogaeth, yn ei symlrwydd cyntefig, trwy yr holl wlad.

O berthynas i sefydliad y genhadaeth hon yn Iona, dywaid awdwr y "Scotichronicon" fel hyn, o dan y flwyddyn 560:—"Columba, henuriad, a ddaeth at y Brithwyr, ac a'u dychwelodd i ffydd Crist—sef, y rhai hyny oeddynt yn cyfaneddu yn agos i'r morfeydd gogleddol; a'u brenin a roddes iddynt yr ynys hono, a elwir yn gyffredin Ii.— Ar yr ynys hon, adeiladai Columba fynachlog, ac efe ei hun a drigodd yno fel abad, dros ddeuddeng mlynedd ar hugain; lle hefyd y bu efe farw, yn ddeng mlwydd a thriugain oed. Y mae y lle hwn yn cael ei gadw eto gan ei olynwyr. Gan hyny, fe ddylai fod abad yn Ii yn wastadawl, *ac nid esgob;* ac iddo ef y dylai yr holl egobion Albanaidd fod yn ddarostyngedig—am mai abad ydoedd Columba, ac nad oedd efe yn esgob."

Y mae yn ymddangos mai math o athrofa genhadol oedd y sefydliad yma yn Ynys Ii, neu Iona, lle yr ymsefydlai Columba, a deuddeg o'i gyd-henuriaid; ac ar gyfrif ei ddysgeidiaeth, ei ddoethineb, a'i dduwioldeb nodedig—yn gystal a'i fod o'r gwaed breninawl, ac efallai yn brif ysgogydd y sefydliad cenhadol yma—efe a etholid megys cymmedrolwr neu benaeth y sefydliad; am ba achos y'i gelwid, yn ol dull y Pabyddion, yn *abad*, a'r sefydliad yn *fynachlog*.

Yr henaduriaid hyn, tra y gweinyddent mewn pethau sanctaidd i bobl eu cymmydogaethau, a barhaent yn ddiwyd i addysgu ereill i'w hanfon allan fel cenhadon, yn ol fel y caffent faesydd agored; a'r rhai hyn a gyfodent sefydliadau cyffelyb yn eu rhandiroedd, fel yr oedd ganddynt yn fuan sefydliadau neu orsafoedd cenhadawl cyffelyb yn Abernethy, Lochleven, Dunkeld, St. Andrews, Brechin, Dumblane, Muthil, Mortlach, Monymusk, Dunfermline, Melrose, Govan, Abercorn, Incholm, Tyningham, ac Aberlady.‡ A pha un bynag a wnawn ai ystyried yr egwyddorion crefyddol a ddysgid gan Columba a'i gydlafurwyr, ai eu hawdurdod ar y llenorion Albanaidd o bob gradd, y mae y ffeithiau a adroddir am danynt yn dra dyddorawl. Y mae yn ymddangos fod

* Fol. 24, 25.
† Hist. Maj. Brittaniæ, lib. ii., cap. 2, fol. 23.
‡ Scotichronicon, pp. 105—187.

Columba a'i gydlafurwyr yn rhoddi bri mawr ar yr Ysgrythyrau sanct-aidd; ac fe'n hysbysir gan Bede, yr hanesydd, na dderbynient hwy ddim ond y pethau a ddysgid yn ysgrifeniadau y prophwydi, yr efeng-ylwyr, a'r apostolion.* Ac yn y canlyniad, fe'n hysbysir eu bod wedi ymgadw dros amryw oesoedd heb eu halogi â'r cyfeiliornadau a ffynent y pryd hyny yn Eglwys Rhufain.

Efallai nad oedd yr un eglwys (oddieithr yr eiddo y Waldensiaid,) mor agos i'r eglwys apostolaidd—mewn purdeb athrawiaeth a syml-rwydd trefn—yn y chweched, y seithfed, a'r wythfed ganrif, ag ydoedd eglwys yr Alban a'r Iwerddon; ac os felly, y mae o bwys i ni ddeall pa fath ydoedd cyfansoddiad yr eglwys foreuol hono, a pha mor eang oedd awdurdod y dosbarth uchaf o'i gweinidogion.

Yn awr, nid oes un ffaith berthynol iddi yn fwy penderfynol, na'i bod yn cael ei llywodraethu gan henaduriaid. Mae yn wir y cyfar-fyddwn â'r enw "esgobion" yn cael ei roddi yn achlysurol, gan ein hen haneswyr, ar rai o'i gweinidogion; ond fe ymddengys fod yr enw yn cael ei ddefnyddio yn gyfystyr â "henadur"—yr urddas uchaf o'r swydd esgobawl; fel y mae Jamieson yn sylwi am esgob—yr hwn a gyssegrwyd yn gyntaf gan yr henaduriaeth yn Iona, ac yna a anfonwyd i Loegr; yr hyn sydd yn gynnwysedig yn hyn—ei fod yn bregethwr.† Nid oedd Columba ei hunan ond henadur; ac eto, efe a elwir yn benaeth yr holl esgobion Gwyddelig.‡

"Bod esgob, yn yr Iwerddon," medd Toland, "yn y bummed neu y chweched ganrif (er esiampl,) yn arwyddo urdd gwahaniaethol o ddyn-ion, gan y rhai yn unig y gallasai henaduriaid gael eu hordeinio, a heb yr hwn ordeiniad y buasai eu gweinidogaeth yn annghyfreithlawn—hyn yr ydwyf yn ei wadu yn hollol; megys yr wyf hefyd yn gwadu bod yr esgobion hyny yn esgobion taleithiol, pan nad oes dim yn eglur-ach na bod y rhan fwyaf o honynt heb unrhyw esgobaeth, yn ystyr ddiweddar y gair; heb son am y lluaws esgobion a elent yn fynych o'r Iwerddon, heb alwad, i esgobaethau ar led; a llawer o honynt nas dyrchafwyd i esgobaethau yno byth." §

Fe'n hysbysir gan Bede, fod Oswald, yr hwn oedd dywysog Seisnig, wedi anfon at henaduriaid yr Ysgotiaid—yn mysg y rhai y cawsai efe ei fedyddio—i erfyn arnynt ddanfon esgob iddo, trwy athrawiaeth a gweinidogaeth yr hwn y gallai yr Eingyl, ar y rhai yr oedd efe yn llywodraethu, gael eu hyfforddi yn y ffydd Gristionogawl, a derbyn y sacramentau.‖ Yn y canlyniad, henaduriaid Iona a anfonasant ato Cormac, yr hwn a ordeiniasent hwy i'r swydd hono; ond gan ei fod o foesau rhy dostlym, bu yn aflwyddiannus i enill serchiadau y bobl, a bu raid iddo ddychwelyd yn ei ol yn fuan. Ar ei ddychweliad i'r orsaf genhadol, yr henaduriaid a ymgyfarfuant i dderbyn ei adroddiad; "*ac yn nghymmanfa yr henaduriaid*" efe a adroddodd nas gallasai efe wneuthur lles i'r bobl yr anfonasid ef atynt i'w dysgu, am eu bod yn rhai caled o galon a chreulawn o natur, ac nas gellid eu henill. Yna yr *henaduriaid* a ddechreuasant ymgynghori, pa beth oedd yn oreu i'w wneuthur; a thra yr oeddynt yn ymgynghori, Aidan—yr hwn, debygid, nid oedd namyn efrydydd, heb fod mewn urddau gweinidogaethol—a gyfododd, ac a'u cyfarchodd, a hyny gyda'r fath ddoethineb annys-nysgwyliadwy, fel y penderfynasant ei ordeinio ef, a'i anfon at Oswald,

* Hist. lib. iii., c. 4. † Page 383.
‡ "Omnium Hibernensium Episcoporum Primas."
§ Nazarenus, Lett. 2, p. 37, 38. ‖ Bede's Hist., lib. iii. cap. 3.

yn lle Cormac. "Wedi clywed hyn," medd Bede, "troid wynebau a llygaid pawb oeddynt yn eistedd yno, tuag ato ef; ystyriasant yn ddwys yr hyn a ddywedasai, a phenderfynasant ei fod yn deilwng o'r swydd esgobawl, ac y dylasai gael ei anfon i ddysgu y digred a'r anwybodus, am fod yn amlwg ei fod ef wedi ei ddoniaw mewn modd anarferol â challineb, yr hon yw mam y rhinweddau; *ac felly, gan ei ordeinio, hwy a'i hanfonasant i bregethu.*" *

Felly, y mae yn amlwg mai cymmanfa o henaduriaid, yn cael eu llywyddu gan gymmedrolwr o'u plith eu hunain, a ordeiniasant, ac a anfonasant y cenhadon cyntaf at y Saeson Paganaidd—megys Colman, Cormac, Aidan, Ffinan, Cedd, &c.—y rhai a elwir gan haneswyr yn esgobion cyntaf y Saeson.

Amcan y sylwadau blaenorol ydyw dangos nad oes gan ein brodyr o'r Eglwys Sefydledig, sail mor dda ag y gellid tybied, oddiwrth eu haerllugrwydd, i honni iddynt hwy eu hunain hawl annghyfranogawl i weinyddu mewn pethau cyssegredig, yn y deyrnas hon, ar gyfrif eu hordeiniad i'w swyddau gan esgobion taleithiawl; neu i wadu cyfreithlondeb ordeiniad gweinidogion ymneillduedig, am mai gan weinidogion heb feddu y cyfryw dra-arglwyddiaeth ar eu brodyr yr ordeiniwyd hwythau. Yn wir, yn ol ystyr briodawl y gair, yn nghyda'i ddefnyddiad cyffredinol yn y brif eglwys, y mae gan bob gweinidog—os dewiswyd ef gan eglwys neu gynnulleidfa grefyddawl i fugeilio arni, ac i'w phorthi, a'i haddysgu yn y gair a'r athrawiaeth; ac os y cadarnhawyd y dewisiad hwnw gan ei frodyr yn y weinidogaeth, mewn cymmanfa reolaidd; a thra y cyflawno ei swydd yn deilwng, yn ofn Duw—gystal hawl i'r enw *esgob*, os nad gwell, nag un sydd yn eistedd ar y fainc esgobawl, yn Nhy yr Arglwyddi.

Yn yr amser presenol, ordeinir dyn ieuanc i fod yn weinidog dros Grist, mewn plwyf, yn unig ar gyflwyniad Noddwr—yr hwn, efallai, y bydd ei ddrwg fuchedd yn tystio i gydwybod pawb a'i hadwaenant, nad oes berthynas, ond un arianol, rhyngddo âg eglwys Crist; a'r gynnulleidfa, i'r hon y bydd i weinyddu mewn pethau ysbrydol, efallai heb ei adwaen, llawer llai meddu llais yn ei ddewisiad; ond er hyny, gan ei fod wedi ei ordeiniaw dan y cyfryw amgylchiadau gan Arglwydd Esgob, haerir ei fod wedi dyfod i fewn i'r olyniaeth apostolaidd, a thrwy hyny wedi derbyn awdurdod gyfreithlawn i fod yn weinidog yr efengyl. Ond nis gall ysgolorion ein hysgolion Sabbothawl, wrth ddarllen y Testament Newydd yn ddiduedd, lai na chanfod bod y cyfryw ordeiniad yn afreolaidd; ac nis gall y cyfarwydd mewn hanesyddiaeth eglwysig, lai nag addef fod etholiad cynnulleidfaol i'r swydd yn ofynol, yn yr eglwysi Cristionogol boreuaf, er ordeinio personau yn ddiaconiaid, neu yn henuriaid. Er hyny, os byddaf yn gweled y cyfryw ddyn ieuanc yn ymdrechu yn gywir a chydwybodol i gyflawni ei swydd, yn ofn Duw, fel un sydd raid iddo roddi cyfrif i Dduw dros eneidiau ei blwyfolion—ni fynwn er dim amheu cyfreithlondeb ei weinidogaeth, er afreoleidd-dra ei ordeiniad. Ac ar y llaw arall, pan y gwelaf un a elwir yn offeiriad plwyf, yn ddyn llwyr ddiamgyffred am wirioneddau mawrion yr Ysgrythyrau, ac yn ymollwng i fucheddu yn benrhydd, yn ol helynt y byd hwn, gan ymdroi mewn cyfeddach, meddwdod, ac aflendid, ac arfer llwon a rhegfeydd yn ei ymddiddanion cyffredinawl, o'r hyn y mae gormodedd yn euog, er gwarth i Gristionogaeth ein gwlad—nis gallwn

* Bede's Hist., lib. iii., c. 5.

ystyried y cyfryw yn weinidog i Grist, nac yn meddu y radd leiaf o hawl i weinyddu mewn pethau cyssegredig, pe byddai holl esgobion ac archesgobion Prydain Fawr wedi cymmeryd rhan yn y gorchwyl o'i ordeinio, a phe byddai yn feddiannol ar y teitlau mwyaf urddasawl ac anrhydeddus a ellir eu rhoddi ar ddyn, gan y ddwy brif-ysgol.

Nid ydwyf yn gwneuthur y sylwadau hyn oddiar ysbryd sectaidd, neu deimladau anngharedig tuag at yr Eglwys Sefydledig na'i gweinidogion; ac ni fynwn, ar unrhyw gyfrif, archolli teimladau neb o'i gweinidogion efengylaidd. Ond gallaf ddywedyd yn ddibetrus, mai dymuniad fy nghalon, a'm gweddi ar Dduw dros holl weinidogion yr Eglwys Sefydledig, ydyw—ar iddynt gael eu llenwi gydag ysbryd y weinidogaeth, a chael eu hanrhydeddu â seliau llawer uwch o'u gosodiad dwyfawl yn eu swydd, na dim a ddichon holl urddasolion eu Heglwys ei roddi iddynt.—Miloedd o'u gwrandawyr a fyddo iddynt yn llythyr Crist wedi ei weini ganddynt; ac wedi ei ysgrifenu nid âg ingc, ond âg ysbryd y Duw byw; nid mewn llechau cerig, eithr mewn llechau cnawdol y galon. Dyma ydyw y prawf goreu o fod un yn meddu trwydded gan Dduw i'r weinidogaeth; ond nid ydyw y wag-fost yn nghylch yr "olyniaeth apostolaidd" yn ddim amgen na ffug drwydded a ddyfeisiwyd gan yr Archesgob Laud, o herwydd nas medrai roddi ei gwell.* Ond y mae yn llawer iawn mwy dyogel a pharchus i ddyn gyfaddef ei dylodi yn onest, nac ymdrechu cadw i fynu enw ac ymddangosiad gŵr mawr, a hyny ar draul arian drwg.

Y prif bleidiau annghydffurfiawl yn nhywysogaeth Cymru ydynt bedair—sef, y Bedyddwyr, yr Anymddibynwyr, y Trefnyddion Calfinaidd, a'r Trefnyddion Wesleyaidd. Gwahaniaetha y rhai hyn ychydig oddiwrth eu gilydd, mewn trefniadau eglwysig, ac mewn golygiadau ar rai canghenau o'r athrawiaeth; ond y maent yn cytuno am hanfodolion y grefydd Gristionogol; ac fel y maent yn dyfod i ddeall y gall undeb Cristionogawl fodoli, heb unffurfiaeth eglwysig, y mae rhagfarn sectaraidd yn marweiddio, a haelfrydedd Cristionogawl yn ffynu; ac y mae y naill enwad crefyddawl yn edrych ar y llall, erbyn hyn, fel cynnifer o gatrodau gwahanol o'r un fyddin, ac yn cyfeirio eu golwg at yr un lluman cyffredinol—sef, croes ein Harglwydd Iesu Grist; gan ddeall mai cydymdrechu yn erbyn pechod a llygredigaeth sydd yn gweddu yn oreu iddynt, ac nid ymryson â'u gilydd.

Mynych yr edliwir i ni yr ymneillduwyr, yn nghyhoeddiadau yr Eglwys Sefydledig, fod annghydffurfiaeth yn agor y drws i ymbleidiaeth ac ymrysonau diderfyn. Ond er fod Cristionogion y pedwar enwad a nodwyd uchod, wedi ymffurfiaw yn gynnifer o sectau neu gymdeithasau gwahaniaethol, er mwyn rhyw ychydig gyfleusderau a manteision neillduol—neu o leiaf, fe dybir hyny—ni phetrusaf ddywedyd, fod llawer iawn mwy o undeb barn, teimlad, a gweithrediad, cydrhwng y rhai hyn â'u gilydd, nag sydd rhwng gweinidogion yr Eglwys Sefydledig yn Mrydain Fawr â'u gilydd, er eu bod hwy yn weinidogion yr un sefydliad eglwysig, *ac oll wedi llaw-nodi yr unrhyw erthyglau cred!*

* Payne's Breviate of his Life, p. 2.
Dywedai y frenines Henrietta—yr hon oedd Babyddes broffesedig—am Laud, fod ganddo galon Pabydd da.

Gan fy mod wedi crybwyll amrywiol ffeithiau cyssylltiedig â chychwyniad y tri enwad cyntaf a grybwyllais uchod, yn nghorph y Darlithiau blaenorawl, cyfyngaf fy sylwadau yn bresenol at ddechreuad yr enwad olaf a nodwyd—sef, y Trefnyddion Wesleyaidd—yn benaf.

Y mae yn ymddangos fod y *Parchedig John Wesley* wedi talu ymweliad â rhyw ranau o Ddeheubarth Cymru, yn moreu y diwygiad Methodistaidd—sef, tua Hydref y flwyddyn 1739; ac ar yr achlysur hwnw, efe a dystiai fod trigolion y wlad yn dra dyeithr i'r efengyl; a chwynai yn fawr oblegyd rhagfarn rhyw rai a fuasent yn dewis i'r creaduriaid tylodion hyn gael eu dinystro o eisiau gwybodaeth, yn hytrach na'u hachub hwy trwy gynghorion Howell Harris, neu bregethwr teithiol.

Yn mhen oddeutu deng mlynedd wedi yr adeg a nodir uchod—sef, yn y flwyddyn 1749—yr oedd gan y Wesleyaid ddwy gylchdaith yn y dywysogaeth; sef, cylchdaith swydd Forganwg, a chylchdaith swydd Benfro. Ond y mae yn dra thebygol mai yn y rhanau Seisonig o'r gwledydd hyny yr oedd y brodyr Wesleyaidd yn llafuriaw y pryd hyny; ac yn mhen rhai blyneddoedd drachefn, ychwanegid trydedd gylchdaith ganddynt yn Nghymru, yr hon a gymmerai i fewn ranau o siroedd Brecheiniog, Maesyfed, a Threfaldwyn. Yn y flwyddyn 1771, lluniwyd cylchdaith newydd Caerlleon, yr hon a gymmerai i fewn y rhanau Seisnig o siroedd Dinbach a Fflint—megys Gwrecsam, Mynydd Bwcle, Llaneurgain, Pen yr halawg, ac amrywiol leoedd ereill.

Ond er fod y Trefnyddion Wesleyaidd wedi gwneuthur cynnyg ar y wlad mor foreu a hyn, trwy gyfrwng yr iaith Seisnig, nid ydyw yn ymddangos eu bod wedi ymosod nemawr, os dim, ar genedl y Cymry trwy gyfrwng eu hiaith eu hunain, hyd ddechreuad y ganrif bresenol, er fod ambell i Gymro yma a thraw wedi ymuno â'r cyfundeb, mewn canlyniad i wrandaw ar rai o'r gweinidogion Seisnig yn pregethu; ac yn mysg y rhai hyn yr oedd Mr. Foulkes o'r Bala, Richard Harrison o Laneurgain, Evan Roberts o Ddinbach, Edward Jones o Fathafarn, yn nghyda llawer ereill; y rhai a fuant yn aiddgar ac ymdrechgar i daenu yr egwyddorion a dderbyniasent eu hunain, yn eu cymmydogaethau.

Yn y flwyddyn 1800, y darfu i'r *Dr. Coke*—yr hwn oedd ei hun yn frodor o'r rhan ddeheuol o'r dywysogaeth—ddwyn achos y Gogledd o dan sylw y Gynnadledd Wesleyaidd; ac efe a lwyddodd i gael pennodi dau Gymro, i deithio fel cenhadon drwy y rhan hon o Gymru; a phenderfynwyd cymmeryd tref Rhuthyn—yn nghymmydogaeth yr hon yr ydoedd Bathafarn yn sefyll—yn brif orsaf y gylchdaith newydd.

Y ddau genhadwr a nodwyd oeddynt y Parchedig Owen Davies, a'r Parchedig John Hughes. Y blaenaf o honynt ydoedd ŵr ganedig oddi gerllaw Llanrhaiadr yn Mochnant, yn swydd Ddinbach; yr hwn a dreuliasai y rhan fwyaf o'i ddyddiau boreuol yn mhlith y Saeson; ac yr ydoedd wedi bod yn llafuriaw am ddeng mlynedd ar gylchdeithiau Seisnig, cyn ei bennodi i'r gylchdaith Gymreig. Efe a fu yn llafurio dros un flynedd ar bymtheg fel arolygwr cyffredinawl yr achos Cymreig yn y dywysogaeth; ac yn yr ysbaid hwnw, amlygodd sel, cariad, ffyddlondeb, a doethineb mawr.

Ei gydlafurwr yn nechreuad y gwaith hwn yn Nghymru, ydoedd ŵr ieuanc o ddysgeiddiaeth rhagorach na llawer o'i gyfoedion—sef y

Parchedig John Hughes, awdwr y llyfr a elwir "*Horæ Britannicæ*," 2 gyfrol, 8plyg. Dygasid y gŵr ieuanc yma i fynu yn Aberhonddu; a chan fod ei rieni wedi bwriadu iddo fod yn weinidog perthynol i'r Eglwys Sefydledig, anfonwyd ef i'r coleg a berthynai i'r dref hono, lle y daeth yn fuan yn hyddysg yn yr ieithoedd Groeg a Lladin. Yr oedd yntau hefyd wedi bod yn llafurio, gyda chymmeradwyaeth mawr, yn mhlith y Wesleyaid Seisonig, am bedair blynedd cyn cael ei bennodi i'r gylchdaith Gymreig; ac yr ydoedd ei gymmeriad fel Cristion, yn gystal ag fel gweinidog yr efengyl, yn sefyll yn dra uchel yn nghyfrif ei frodyr, tra fu yn llafuriaw yn y dywysogaeth.

Yn y flwyddyn ganlynawl i hyny, pennodwyd Mr. John Bryan i gydlafurio â'r ddau ŵr enwog uchod. Efallai fod mwy o danbeidrwydd yn ngweinidogaeth y brawd ieuanc hwn na'r ddau ereill, ac o ganlyniad, tynodd gynnulleidfaoedd mawrion ar ei ol yn fuan; a bu ei lafur, dros dymhor maith, o fendith annhraethol i gannoedd o hil Gomer.

Yn y flwyddyn 1802, neillduwyd Mr. Edward Jones, Bathafarn—yr hwn a fuasai y prif offeryn i ddwyn Trefnyddiaeth Wesleyaidd gyntaf i Ruthyn—i ymroddi yn hollawl at waith y weinidogaeth, a gosodwyd ef i lafuriaw yn y gylchdaith Cymreig, mewn undeb â'r brodyr Davies, Hughes, a Bryan; a gŵr arall, o'r enw Maurice, yr hwn a gawsai ei gydneillduo gydag ef. Erbyn hyn, yr oedd pump o bregethwyr teithiol ar y gylchdaith, heblaw pregethwyr cynnorthwyol; a hwy a estynent gylch maes eu llafur yn barhaus, nes cynnwys holl siroedd Gwynedd. Yr oedd llafur y gwŷr da hyn gydag achos yr efengyl yn fawr iawn, a'u llwyddiant yn gyfatebol, trwy fendith y Goruchaf.

Yr oedd y dull o erlid gyda cherig, ffyn, a thom—o'r hwn y cyfranogasai y Trefnyddion Calfinaidd yn dra helaeth yn mlyneddoedd cyntaf eu llafur—wedi darfod i raddau mawr erbyn i'r Trefnyddion Wesleyaidd ddechreu llafuriaw yn mysg ein cenedl ni; ond cawsant hwythau hefyd eu cyfran o erledigaeth—mewn geiriau bustlaidd, a chamddarluniadau, o areithfaoedd a thrwy y wasg; a hyny yn benaf gan rai o olygiadau uchel-galfinaidd, am y rhai y gellir dywedyd, "Ni wyddent o ba ysbryd yr oeddynt."

Y mae ansawdd flodeuog y Trefnyddion Wesleyaidd yn awr trwy Gymru—nifer eu haddoldai—amledd eu pregethwyr teithiol a chynnorthwyol—lluosogrwydd eu cynnulleidfaoedd—ac yn enwedig nifer fawr yr aelodau eglwysig ydynt mewn undeb â hwy—a'u ffyddlondeb nodedig gydag achos y Gwaredwr—yn galw yn dra uchel am y gydnabyddiaeth wresocaf o ddaioni yr Arglwydd, o'r hwn y daeth hyn, yr hyn sydd ryfedd yn ein golwg ni!

# DARLITH XV.

## ENWOGION O GYMRY A RAGORASANT MEWN AMRYFAL GANGHENAU O WYDDONAETH.

---

Testyn y Ddarlith hon ydyw yr enwogion a gyfodasant o fysg ein cenedl, ac yn enwedig y rhai a weithiasant eu ffordd—trwy feithriniad priodol eu hythrylith naturiol, a hyny o dan anfanteision, ac o sefyllfa isel—i enwogrwydd a bri: ac un amcan neillduawl genyf mewn golwg, wrth ddewis y fath destyn i'r Ddarlith olaf o'r gyfres hon, ydoedd er mwyn cymhell y lluaws ieuenctyd ydynt eisoes wedi amlygu llawer o ddyddordeb yn y Darlithiau blaenorawl, i benderfynu gwneuthur y defnydd goreu a allant o'u manteision i amaethu eu meddyliau, ac i ochel pob arferion iselwael a llygredig, y rhai nis gwnant ddim amgen na nychu athrylith, niweidio cymmeriad, a thrysori anghysuron erbyn henoed.

Un o wir-eiriau sylweddawl ein tadau ydyw—"*Yn mhob gwlad y megir glew;*" ac y mae treigliad pob oes rhagddi yn ychwanegu y profion o wirionedd y ddiareb uchod.

Efallai mai glew mewn rhyfel ydoedd yr hyn a olygid yn benaf yn nghyfansoddiad y ddiareb; canys y rhagoriaeth a anrhydeddid yn fwyaf yn mysg pob cenedl o'r bron, dros yr oesoedd a aethant heibio, ydoedd gwroldeb a medr rhyfelgar. Ond yn ein dyddiau ni, y mae y byd yn dechreu ymbwyllo, a choleddu syniadau cywirach ar yr hyn a rydd drwydded gyfreithlawn i gyssegrfeydd teml enwogrwydd; a thebygwn nad ydyw yr amser yn mhell, pryd na chyfrifir gwrolder Napoleon a Ney, Nelson a Wellington, yn ddim amgen na chreulondeb, a medrusrwydd lleiddiaid dynion; ac o ganlyniad, yn beth i'w ffieiddio, yn hytrach nag i'w fawrygu. Ac os bu glewder rhyfelgar i'w ganmawl dan unrhyw amgylchiad, diau mai yn y rhai a safasant yn wrol dros ryddid ac annibyniaeth eu gwlad, yn erbyn gormeswyr trahaus, y mae i'w ganmol. Am y cyfryw lewion, y mae cofion ein cenedl mor gyfoethawg o honynt a'r eiddo odid i genedl yn Ewrop.—Gallwn fostiaw o'n *Casfelyn*, yr hwn a wrthsafodd gadgyrchiadau olynawl Julius Caisar, gyda'r fath ddewrder anorchfygol, fel y bu yn dda gan y gŵr hwnw a'i lengau, y rhai a gyfrifid gynt yn anorchfygadwy, gael rhyw esgus, a hyny fwy nag unwaith, i groesi y weilgi yn ol i'r cyfandir, fel y gallent ymwneyd â chenedloedd haws i'w darostwng o dan iau Rhufain, na brodorion

Ynys Prydain.—Gallwn fostiaw hefyd o'n *Caradawg*, yr hwn a wrthsafodd arglwyddes y byd, mewn deg cad ar hugain; ac yn y diwedd a orchfygwyd yn yr ymgyrch, âc a gymmerwyd yn garcharor, drwy gael ei fradychu gan frenines ffals y Brigantwys, yn ffyddlondeb a chyfeillgarwch yr hon yr ymddiriedai efe.—Gallem fostiaw o'n *Arthur* frenin, gorchestion milwraidd a gwroldeb dihafal yr hwn sydd wedi bod yn destynau caniadau a thraithodau arwrawl prif ysgrifenwyr y cyfandir, dros oesau lawer.—Gallem gyfeiriaw at *Gruffudd ab Cynan*, yr hwn, wedi ei fradychu trwy dwyll a chelwydd i ddwylaw y Saeson, yn nghoed Rug, a'i garcharu am flyneddoedd lawer ar ol hyny, yn nghastell Caerlleon ar Ddyfrdwy—a ffodd pan oedd ei geidwaid yn feddwon, a adenillodd y dywysogaeth er gwaethaf gelynion a bradwyr, a sefydlodd annibyniaeth ei genedl yn gadarn, ac a gadwodd ei arswyd ar ei elynion oddiamgylch hyd ddiwedd oes faith, fel na feiddient ormesu ei genedl yn ei ddyddiau ef.—Gallem gyfeirio hefyd at wroldeb *Owain Gwynedd*, yr hwn a lwyddodd amryw weithiau i yru Harri yr Ail, tra yn cael ei gyfnerthu gan fradwyr o Bowys, a holl gadernid Lloegr, i encilio yn ol o Wynedd, yn warthus a cholledus, heb lwyddaw, mewn un cadgyrchiad o'i eiddo, i gyflawni ei amcan o ddarostwng Gogledd Cymru o dan ei awdurdod.—Gallem draethu yn helaeth am enwogrwydd *Llewelyn ab Iorwerth*, *Llewelyn ab Gruffudd*, ac *Owain Glyndyfrdwy*, gwŷr a deilyngent eu cyfresu am eu gwladgarwch a'u gwroldeb, gyda Kossuth, Bem, a Denibinsky, gwroniaid Hungari; neu gyda Mazzini a Garibaldi, enwogion yr Eidal.

Ond fy mhrif amcan yn y Ddarlith hon ydyw galw sylw at rai o'n cydgenedl, a weithiasant eu ffordd, trwy ymdrech a llafur diwyd, i enwogrwydd yn yr amryfal ganghenau buddiawl o'r gwyddiannau a'r celfyddydau.

Mor foreu a chanol y bedwaredd ganrif, y canfyddaf impyn o Gymro yn cael ei feithrin yn athrofa Bangor is y Coed, yr hwn yn fuan a enillodd enw a dylanwad tra mawr trwy yr holl fyd adnabyddus; ac er annghymmeradwyo o honom ei syniadau fel duwinydd, y mae yn rhaid i ni gydnabod enwogrwydd ei gyrhaeddiadau mewn dysgeidiaeth. Y gŵr hwn ydoedd *Morgan*, yr hwn a gyfenwir *Pelagius*, ond a elwir *Morien* yn yr hen goflyfrau Cymreig; ac yn gyssylltiedig â'i enw ef ynddynt, dywedir ei fod "*y dysgedicaf yn yr holl fyd.*"

Edrychwn eto tuag athrofa tref Fynwy, neu Dy Ddewi, a gwelwn yno efrydydd ieuanc, o'r enw *Asser*, yr hwn ydoedd fab i Tudwal, fab Rhodri Mawr, medd yr achlyfrau Cymreig. Aeth y son am ei ddysgeidiaeth ar led cymmaint, fel y gwahoddid ef i lys y brenin Seisnig Alffred, tua'r flwyddyn 880, gan yr hwn y'i derbynid gyda phob caredigrwydd a pharch; a mawr mor daer a fu y brenin am iddo aros gydag ef yn wastadawl. Ond pan omeddai, yn wylaidd, gydsynio â'r cais hwnw, y brenin a wasgai arno am ranu ei amser rhwng yr athrofa yn Nhy Ddewi a'i lys yntau; a chyda'r cynnygiad yma, wedi ymgynghori yn gyntaf â'i frodyr, y cydsyniodd Asser. Rhoddai y brenin doeth hwnw roddion gwerthfawr ac anrhydedd yn bentyrau ar Asser, ar gyfrif ei chwaeth goethedig, a'i ddysgeidiaeth aruchel.

Tybir yn gyffredin iddo gyfieithu yr hen gyfreithiau Cymreig i'r brenin Alffred, yr hwn a gafodd lawer o gymhorth drwy hyny at ffurfio deddflyfr i'r Saeson. Trwy ei ddylanwad ef hefyd y dywedir

i brif ysgol Rhydychain gael ei sefydlu; a bernir ei fod ef yn un o'r athrawon blaenaf yno, ac iddo dreulio gweddill ei oes yn archesgob Ty Ddewi.

Yn y flwyddyn 926, cawn grybwylliad am ŵr o'r enw *Blegwryd ab Owain*—yr hwn ydoedd "athraw yn nghyfraith yr amherawdr, ac yn nghyfraith yr eglwys," a'r dysgedicaf, meddir, yn ei oes—wedi cael ei ddewis i fyned gyda Martin, esgob Ty Ddewi, Mordaf, esgob Bangor, a Marchlwys, esgob Llandaf, fel cynghorwyr a chymdeithion i'r tywysawg Hywel Dda, ar ei daith i Rufain, pan ydoedd y penadur enwog hwnw yn gwneuthur ei ymchwiliadau er adgyweirio y cyfreithiau Cymreig; ac efe a ysgrifenodd y cyfreithiau hyny a elwir "Cyfreithiau Hywel Dda."

Ond gan fod cylch y Ddarlith hon yn rhy gyfyng i mi allu cymmaint ag enwi lluaws o brif enwogion ein cenedl, o'r oesoedd boreuaf hyd yn awr, cyfyngaf fy sylwadau at rai o'r enwogion Cymreig o'r oesoedd diweddaraf hyn.

Oddeutu y flwyddyn 1572, y genid bachgenyn yn Llanrwst, swydd Ddinbach, a elwid *Ynyr;* yr hwn, drwy ei athrylith gref, a weithiodd ei ffordd i sylw pendefigion a phenaduriaid, megys adeiladydd digyffelyb. Cymmerodd Iarll Penfro—noddwr haelfrydig y celfion teg—sylw o hono, ac a'i galluogodd i ymweled â'r Eidal, fel y gallai efrydu parthluniadaeth; a thra yr ydoedd yn *Venice*, darfu i weithoedd Paladio gynnyrchu chwaeth ynddo at y gelfyddyd o adeiladu, yn yr hon y cyrhaeddodd enwogrwydd digyffelyb. Ei enwogrwydd a dynodd sylw Christiern IV., brenin Denmarc, yr hwn wedi hyny a'i hanrhydeddodd trwy ei benodi i'r swydd o fod yn brif adeiladydd iddo ef. Wedi dychwelyd o hono i Loegr, efe a benodwyd yn adeiladydd i'r frenines a'r tywysawg Henry, ac wedi hyny i brwyaduron adeiladau; ac yn wir, ar y cyfnod hwnw, nid oedd nemawr adeilad odidawg yn cael ei chyfodi yn un cwr o'r wlad, na cheisid cyfarwyddiadau a chynlluniau y celfyddydwr cywrain hwn. Tra y bu efe yn preswylio yn yr Eidal, efe a newidiodd ei enw Cymreig *Ynyr*, am yr enw Eidalaidd *Inigo*, gan gadw y cyfenw *Jones* i fynu; ac felly, fe'i hadwaenir gan haneswyr yn gyffredinawl wrth yr enw "*Inigo Jones.*"

Fel hyn, gwelwn fod geiriau y "gŵr doeth" wedi eu gwiriaw yn y Cymro hwn, yn gystal ag mewn llawer ereill:—"A welaist ti ŵr diesgeulus yn ei orchwyl? efe a saif ger bron breninoedd, ac ni saif ger bron rhai iselwael."

Yr oedd efe yn un o'r prwyaduron appwyntiedig er adgyweiriaw eglwys gadeiriol St. Paul, yr hon a anrheithiwyd trwy y tân mawr a dorodd allan yn y brif ddinas; ond a ail adeiladwyd yn ol cynllun gwreiddiol Inigo Jones.—Gorfodwyd ef i dalu dirwy drom yn ystod y rhyfel cartrefawl, ar gyfrif ei ymlyniad adnabyddus wrth y teulu breninol; ac efe a fu farw yn mis Gorphenhaf, yn y flwyddyn 1652, wedi cyrhaedd yr oedran teg o bedwar ugain mlwydd.

Yn y flwyddyn 1582, y genid mab i Edmwnt Williams o Gonwy, yn swydd Gaerynarfon, yr hwn a elwid *John Williams.* Efe a dderbyniodd elfenau ei ddysgeidiaeth yn ysgol ramadegawl Rhuthyn, o'r lle y symudodd i brif-ysgol Caergrawnt; yn y fan yma efe a hynododd ei hunan yn dra buan drwy ei ymroad digyffelyb i lafuriaw am wybodaeth a dysg; ac i'r perwyl hyny, ni threuliai onid yr wythfed ran o'i amser i gysgu, ac er hyny oll nis niweidid ei iechyd. Gweithiodd hwn ei ffordd, trwy ei lafur difiino i feithrin ei athrylith

naturiol, i'r sefyllfa uchaf yn y deyrnas, o'r bron. Cyrhaeddodd y swydd urddasol o glwysbrwyaeth y brif-ysgol; etholwyd ef i fod yn gapelwr i'r Arglwydd Ganghellwr Ellesmere—yr hwn, ar gyfrif ei dalentau dieilfydd, a bentyrodd ddyrchafiadau eglwysig arno, ac efe a benodwyd yn un o'r capelwyr breninol. Yn y flwyddyn 1619, efe a wnaed yn ddeon Salisbury; ac yn fuan wedi hyny, cafodd ddeoniaeth Westminster. Yn mhen ychydig amser drachefn, efe a wnaed yn aelod o'r cyfrin-gynghor, yn Arglwydd Ganghellydd, yn esgob Lincoln, ac yn archesgob Caerefrawg. Fel hyn, trwy lafur, diwydrwydd, a gwir deilyngdod, cyrhaeddodd y bachgenyn dysyml yma o Gonwy, y swyddi anrhydeddusaf y gall deiliad yn Mrydain eu cyrhaedd. Efe a fu farw yn Ngloddaeth, yn agos i'r lle y'i ganesid, ar y diwrnod yr oedd yn cael pen ei wythfed a thriugain mlwydd oed, sef yn y flwyddyn 1650.

Y *Dr. John Owen*, duwinydd annghydffurfiol tra dysgedig, llafurus, ac enwog—er nas ganwyd yn Nghymru—ydoedd o dylwyth Cymreig, o gymmydogaeth Cadair Idris, yn swydd Feirionydd. Ei gyfansoddiadau ydynt yn gwneuthur i fynu uwchlaw ugain cyflyfr wythplyg; a'i esponiad ar yr epistol at yr Hebreaid, yn bedair cyfrol wythplyg mawr, sydd yn dra gwerthfawr. Y mae amryw o'i draethodau dwyfyddawl, neu dalfyriadau o honynt, wedi eu cyfieithu a'u cyhoeddi yn yr iaith Gymraeg, a chawsant dderbyniad tra chroesawgar gan ein cenedl.

*Richard Wilson*, y parth-luniedydd annghydmarol, ydoedd fab i'r Parchedig John Wilson, person Penegwest, yn swydd Drefaldwyn—lle y'i ganwyd, yn y flwyddyn 1714; ei fam ydoedd o deulu Wynniaid Coed llai, gerllaw y Wyddgrug. Aeth i'r brif ddinas yn fachgen tra ieuanc, oddeutu pymtheng mlwydd oed, lle y gwasanaethodd fel egwyddorwas gydag ardebydd; ac wedi hyny efe a ddechreuodd ar y gelfyddyd drosto ei hunan. Ond yn gymmaint ag na chyfarfu â'r llwyddiant a ddysgwyliasai yn Llundain, efe a aeth drosodd i'r Eidal, lle y cyfarfu gydag Iarll Dartmouth; yr hwn, pan ganfu alluoedd godidawg yr ardebydd ieuanc, a gynnygiodd iddo gael ei ganlyn ef i Naples, er mantais ychwanegol i goethi ei chwaeth yn ei gelfyddyd; a chyda hyn y cydsyniodd yntau yn rhwydd. Tra yn aros yn Naples, efe a ddeallodd y gallai ragori fel parth-luniedydd; at yr hyn yr ymroddodd; ac fel y cyfryw cyrhaeddodd enwogrwydd mawr trwy holl Ewrop yn fuan. Efe a ddychwelodd i Loegr yn y flwyddyn 1755; ond drwy eiddigedd gwrthymgeiswyr, ni chafodd y gefnogaeth a deilyngai; ac ni werthfawrogid ei ddarluniau yn ddyledus hyd wedi ei farwolaeth. Treuliodd y gweddill o'i einioes yn y Colomendy, gerllaw y Wyddgrug, yn swydd Fflint; ac yno y bu efe farw, yn y flwyddyn 1782, yn yr wythfed flwyddyn a thriugain o'i oedran; a gellir gweled ei feddfaen dysyml yn mynwent plwyf y Wyddgrug.

Tua'r flwyddyn 1680, y genid *William Jones*, mab i un Sion Siors, tyddynwr bychan, o Lanmihangel Tre'r Beirdd, yn Mon—yr hwn, o ganlyniad, ni allai roddi llawer o fanteision addysg i'w fab; ac os gwir y chwedl a adroddwyd i mi, ers llawer blwyddyn yn ol, gan y diweddar hynafiaethydd cywrain, "Sion William Prisiard," o Lys y brain—bu ei dad farw pan nad ydoedd efe ond lled ieuanc; a'i fam, yr hon a elwid *Efa*, a symudodd i fyw i dyddyn bychan a adnabyddir wrth yr enw Clymmwr, yn mhlwyf Llanbabo. Yno yr amlygai y bachgen amddifad chwaeth nodedig at rifyddiaeth, yr hyn

a hysbysid gan rywun i feistr tir ei fam—yr Arglwydd Bulkeley. Y boneddwr gwladgarawl hwnw a gymmerodd sylw o hono, ac a'i cymmerth gydag ef i Lundain, lle y llwyddodd yn fuan i gaffael rhyw swydd iddo ar fwrdd un o longau rhyfel y deyrnas; a thra y bu yno, efe a enillodd sylw a chyfeillgarwch y llyngesydd enwog hwnw, Arglwydd Anson. Pan ydoedd yn ddwy flwydd ar hugain oed, efe a gyhoeddodd draethawd wythplyg ar y Gelfyddyd Forwr-iaethawl, yr hwn a gymmeradwyid yn fawr iawn. Wedi dychweliad y llynges i Loegr, efe a ymsefydlodd yn Llundain fel athraw mesur-oniaeth; ac yn y flwyddyn 1706, efe a gyhoeddodd draethawd gor-chestol ar Rifyddiaeth a Mesuroniaeth. Yn y cyfamser hefyd, efe a enillodd sylw a chyfeillgarwch pendefig tra enwog—sef, yr Arglwydd Hardwicke, yr hwn a'i cymmerai i'w ganlyn, fel ei gydymaith, ar ei gylchdaith pan yn brif farnydd; ac wedi hyny, cafodd ryw swydd iddo fel ysgrifenydd o dan y llywodraeth. Cymmerid ef hefyd fel cyfaill mynwesawl gan yr Arglwydd Parker, yr hwn a fu wedi hyny yn llywydd y Gymdeithas Freninawl, a pharhaodd y gyfeillach hyd farwolaeth ei arglwyddiaeth. Etholid yntau yn aelod, ac wedi hyny yn is-lywydd y Gymdeithas anrhydeddus uchod; a gellid enwi, yn mysg ei gyfeillion mwyaf mynwesol, y cawri hyny yn y gwyddonau—Syr Isaac Newton, Halley, Mead, a'r Dr. Johnson. Wedi i'r Arglwydd Macclesfield ymneillduo i gastell Sherborne, trigai Mr. Jones gydag ef, fel aelod o'r teulu, gan ei hyfforddi yn y gwyddiannau. Tra fu yn y lle yma, cafodd segur-swydd dra gwerthfawr o dan y llywodraeth, drwy ddylanwad ei arglwyddiaeth; a thra yn y sefyllfa hon, efe a aeth i'r ystad briodasol, a bu iddo dri o blant; yr ieuengaf o ba rai ydoedd yr ysgolhaig enwog hwnw yn ieithoedd y gwledydd dwyreiniol—sef, *Syr William Jones;* ond efe a fu farw yn mis Gorphenhaf, yn y flwyddyn 1749, pan nad oedd ei fab ieuengaf yn llawn dair blwydd oed. Dywedir ei fod yn feddiannol ar y lyfrfa fesuronawl oreu yn y deyrnas—yr hon, trwy ei gymmun-weiniaeth, a ddaeth yn eiddo yr Iarll Macclesfield.

*Syr William Jones*, ei fab ieuengaf, a anwyd yn Llundain, yn mis Medi, yn y flwyddyn 1746. Anfonwyd ef i ysgol Harrow, pan yn wyth mlwydd oed; a'i athrylith rhagorol a dynodd sylw yr athrawon yn fuan. Derbynid ef i mewn i'r brif athrofa, yn Rhydychain, yn y flwyddyn 1764; a thra y bu yma, cynnaliai frodor o Aleppo ar ei draul ei hunan, er mwyn gallu dysgu cynganiad cywir yr Arabaeg; ac wedi cymmeryd arno y swydd o fod yn athraw i'r Arglwydd Althorpe, efe a aeth gyda'i arglwyddiaeth i'r Almaen, yn mha le y perffeithiodd ei hyddysgrwydd yn yr Ellmynaeg. Ar ei ddychweliad i Loegr, cyfieithodd fuchedd-draith *Nadir Shah* i'r Ffrancaeg, yr hon iaith a ysgrifenai efe gyda choethder nodedig. Wedi hyny, efe a ymroddes i astudio y gyfraith, a chynnyddai yn gyflym yn ei enwogrwydd fel un medrus yn y gyfraith; ac yn y cyfamser, cyhoeddai amrywiol gyfansoddiadau o'i eiddo, yn benaf ar lenyddiaeth ddwyreiniawl, y rhai a barent syndod mawr i'r byd. O'r diwedd, yn y flwyddyn 1783, efe a benodwyd yn brif farnwr Bengal, yn yr India Ddwyreiniawl; ac ar yr achlysur hwnw yr urddwyd ef yn farchog. Priododd â Miss Shipley, merch i esgob Llanelwy; ac yn nghorph yr un flwyddyn, cyrhaeddodd Calcutta. Tra yn aros yn yr India, efe a ysgrifenodd amryw gyfieithiadau o'r Hindwaeg; ac a ffurfiodd hefyd gymdeithas yno, gyffelyb i'r Gymdeithas Freiniawl yn Llun-

dain, ar yr hon y dewiswyd ef yn llywydd cyntaf. A thra yr oedd holl ddysgedigion Ewrob yn llawn o syndod o herwydd ei ddysgeidiaeth a'i lafur, efe a fu farw o ennynfa yr afu, ar y seithfed dydd ar hugain o Ebrill, yn y flwyddyn 1764, ac yn yr wythfed flwydd a deugain o'i oed, wedi meistroli naw ar hugain o ieithoedd, o ba rai yr oedd y Gymraeg yn un.

Yn y flwyddyn 1700, genid *Lewis Morus*, yn y Tyddyn Melus, yn mhlwyf Llanfihangel Tre'r Beirdd, Mon. Efe ydoedd fab henaf i Morus ab Rhisiart Morus, o Fargaret, ei wraig, yr hon ydoedd yn ferch i Morus Owain, o Fodafon y Glyn, yn yr un plwyf. Ei dad ydoedd gylchwr wrth ei alwedigaeth, a bu yntau yn ei gynnorthwyo yn yr alwedigaeth hono yn ei flyneddoedd boreuol. Ond ymddangosai yn lled gynnar ei fod yn feddiannol ar athrylith gref; canys pan ydoedd eto yn las-lanc, dywedir am dano, y gallasai feiddiaw undyn trwy Gymru a Lloegr i ymgystadlu gydag ef mewn tair gorchest—sef, "gwneyd telyn, a'i chwareu; gwneyd llong, a'i hwylio; a gwneyd cywydd, a'i ddatgan gan dant."

Trodd ei fryd pan yn lled ieuanc at y gelfyddyd o dirfesuriaeth; ac fel un cywrain yn y gelfyddyd hono, tynodd sylw amryw o foneddigion ei wlad, yr hyn a achlysurodd ei ddyrchafiad ef i swyddau anrhydeddus a buddfawr o dan y llywodraeth. Y swydd gyntaf a gafodd ydoedd yn y gyllidfa, yn Nghaergybi; ac wedi hyny, pan oedd tua dwy flwydd ar bymtheg ar hugain oed, efe a bennodwyd i arolygu, mesur, a darluniaw porthladdoedd, aberoedd, ac arfordiroedd Cymru; yr hyn orchwyl a gyflawnodd efe mewn llestr fechan a thlos, o'i gynlluniad ac mewn rhan o'i saernïaeth ef ei hunan, yr hon oedd ar gael rai blyneddoedd yn ol, odditan yr enw "Pegi bach o Ddulas." Cyhoeddwyd ffrwyth y llafur yma, yn y flwyddyn 1748, dan yr enw "*Plans of Harbours, Bays, and Roads, in St. George's Channel.*" Y gwaith yma a enillodd iddo barch ac anrhydedd mawr gan bob dosbarth o ddynion, am ei gywirdeb, a'i ddefnyddioldeb i fordwyaeth.

Heblaw y swyddau uchod, efe a wnaethpwyd yn arolygwr tiroedd a mwn-gloddiau y brenin yn Nghymru; ac i'r perwyl hwnw, ymsymudodd i Geredigion i breswylio, lle y priododd efe, yn ail wraig, un o'r enw Anne Lloyd, o Benbryn, yr hyn a gymmerodd le yn y flwyddyn 1749.* Yn Mhenbryn y treuliodd efe weddill ei oes, ac yno y bu farw, Ebrill 11eg, yn y flwyddyn 1765; a'i ran farwol ef a roddwyd i orphwys yn mynwent eglwys Llanbadarn Fawr, yn swydd Aberteifi.

Mewn cyfeiriad at ei swyddau o dan y llywodraeth, yn nghyda'i fedrusrwydd i'w cyflawni, y dywedai Goronwy Owain, yn ei farwnad, fel y canlyn:—

"Bu'n wastad ddifrad ddwyfron—ddiysgog
I'w hydr eneinniog dëyrn union;
Rhyngodd ei fodd â'i ufuddion—swyddau,
A chwys ei aeliau, a chysulion.

Mesurai, gwyddai bob agweddion—
Llun daear ogylch, llanw dw'r eigion;

* Ei wraig gyntaf oedd Elisabeth Griffith, o Dy Wrdyn, gerllaw Caergybi.

Amgylchoedd moroedd mawrion—a'u cymlawdd
Iawn y dangosawdd, nid annghysson.

Daear a chwiliodd drwy ei chalon,
Chwalai a chloddiai ei choluddion;
A'i dewis wythi, meini mwynion,
A thew res euraid ei thrysorion,
A'i manylaf ddymunolion—bethau,
Deuai i'r golau ei dirgelion.

Olrheiniodd, chwiliodd yr uchelion,
Llwybrau'r taranau a'r terwynion;
Fflamawg fellt llamawg, folltau llymion,
Is awyr ganaid, a ser gwynion,
Nodau'r lloer a'i newidion,—hynt cwmwl
O fro y nifwl i for Neifion.

Ebrwyddaf oedd o'r wybryddion—hyglod,
A llwyr ryfeddod holl rifyddion!
Traethai, fe wyddai foddion—teyrnasoedd,
Rhoi o hen oesoedd wir hanesion."

Lewis Morus a osododd i fynu argraffwasg yn mhentref Bodedeyrn, yn Mon, â'r hon yr argraffodd amryw lyfrau; ac wedi hyny efe a'i gwerthodd i un Dafydd Jones, o Drefriw, yn swydd Gaerynarfon. Heblaw ei fod yn fardd gorchestawl ei hunan, efe a fu yn offerynawl hefyd i gyfodi cyfnod newydd ar farddoniaeth cenedl y Cymry; ac ystyrid ef yn athraw barddonol y Parchedigion Goronwy Owain, Efan Efans, neu "Ieuan Brydydd Hir," William Wynne o Langynhafal, ac amrywiol feirdd da ereill, fel y tystia y rhan ganlynol o'i farwnad:—

"Goleuodd wedi ei gywleiddiadon
A gwir hyfforddiant, geiriau hoff heirddion;
Athrawai'n fuddiawl, a thrwy iawn foddion
'E gaed moes wiwdda gyda masweddion;
Lle bu'r diddysg hyll brydyddion,—prin ddau,
Fe ro'dd ugeiniau o hoywfeirdd gwynion.

Ar y sydd i'r oes hon
Yn fawrddysg awen feirddion,
A gwiw lesfryd i'w glwysfron,
Bryd arail i'w bro dirion,
Agos oll ynt, deg weis llon,
O ddysg abl, ei ddysgyblion;
A phoed maith goffhad a mawl
I'w arglwyddawl ryglyddon.

A thra bo urddawl athro beirddion,
A mwyn dysg wiwles mewn dwys galon,
Gwiwdeb ar iaith, a gwaed y Brython,
Ac awen Gwyndud, ac ewyn gwendon,
Daear a nef, a dw'r yn afon,
Ef a gaiff hwyaf wiw goffeion."

Yr oedd i Lewis Morus ddawn ystwyth ryfeddol i osod allan ei feddwl, pa un bynag ai mewn rhyddiaith neu gynghanedd, a chryn duedd ynddo at y digrifol yn lled fynych; megys ag y gwelir yn ei gyfansoddiadau perthynawl i William Dafydd, alias "*Bol Haul,*" ei lythyrau arabawl, ei gywyddau campus, &c., y rhai a ganfyddir yn y "Diddanwch Teuluaidd, neu Waith Beirdd Mon." Ei enw barddonol oedd "Llewelyn Ddu o Fon."

Yr oedd i Lewis Morus ddau frawd tra thalentawg fel ei hunan—sef, *Rhisiart Morus* a *William Morris.* Y cyntaf a gafodd swydd yn y morlys yn Llundain, a'r llall yn y gyllidfa yn Nghaergybi.

Yr oedd Rhisiart Morus yn ieithydd a bardd da; efe a adolygodd ddau argraffiad o'r Beibl Cymraeg, y rhai a gyhoeddwyd yn y blynyddoedd 1746 a 1752. Efe a fu farw yn y flwyddyn 1779. Heblaw fod William Morus yn Gymro da, ac yn hynafiaethwr cywrain, yr oedd yn llysieuydd tra medrus hefyd.

Tra yr oedd y tri brawd hyn gartref gyda'u tad, efallai, y darfu i'r hen ŵr gymmeryd tyddyn mwy a gwell na'r un a ddaliai o'r blaen—sef, lle a elwir "Pentref Eirianell;" ac yno weithiau yr elai gwraig dlawd i un Owain Goronwy, eurych, o'r Rhos fawr, a chanddi fachgenyn bychan penddu a henffel yn ei llaw. Un tro, fel yr oedd yr hen Fargaret Morus, yn dra charedig, yn rhoddi brechtan fêl i'r bachgenyn tlawd, efe a edrychai yn ei hwyneb, a'i lygaid yn gloywi fel ser ar noswaith rewlyd, ac a'i cyfarchai yn siriawl, gan ddywedyd yn ddirodres, "*D'asai gen i gynffon, mi f'aswn yn ei hysgwyd hi!*" gan gyfeirio at ddull ci yn amlygu ei ddiolchgarwch am damaid. Hyny, a rhyw amlygiadau cyffelyb o wreichioniad athrylith yn mab yr eurych, a barai i'r Morusiaid ei gymmeryd, pan yn dra ieuanc, i Bentref Eirianell, i wneuthur rhyw fân gymmwynasau iddynt, ac fel y byddai wrth eu llaw, i gael ei ddysgu ganddynt. A chlywais hen bobl gall o'r gymmydogaeth hono—megys y diweddar Gruffudd Edward o Fodafon, &c.—yn adrodd y chwedl ddigrifol a ganlyn, yr hon ydoedd yn draddodiad byw yn y cymmydogaethau hyny tua deng mlynedd ar hugain yn ol—sef, bod Lewis Morus ar ryw achlysur yn ymbarotoi i fyned ar un o'i deithiau, i fesur tiroedd rhai o'r boneddigion efallai; ac yn ei ffwdan, wrth fethu rhoi dau grys yn ei goden groen, heblaw llyfrau ac offer angenrheidiol, dywedai yn lled arw a chostogaidd—

"Nid â'n y croen ond un crys!"

I'r hyn yr atebai y bachgenyn oedd yn ei gynnorthwyo, yn y fan—

"Digrif, nad elai deugrys!"

Tynai hyn sylw neillduol Llewelyn arno, a phenderfynai dynu allan yr athrylith oedd ynddo; a'r canlyniad fu, rhoddi dysgeidiaeth deilwng iddo, a'i ddwyn i fynu i'r Eglwys Sefydledig.* Cafodd ei urddo

* Y mae yn lled anhawdd cyssoni y traddodiad uchod â'r hyn a ddywaid ef ei hun, yn ei lythyr o Donnington, dyddiedig Mehefin 22ain, 1752, at Mr. Rhisiart Morus, yr hwn ydoedd y pryd hyny yn Llundain; yn y llythyr hwnw y mae efe yn cyffesu nas gwelsai Rhisiart Morus erioed â'i lygaid; oddieithr i ni dybied bod Rhisiart Morus—yr hwn, efallai, ydoedd ugain mlynedd yn hŷn na Goronwy—wedi gadael cartref cyn iddo ef ddyfod i sylw ei frawd.

yn ddiacon yn y flwyddyn 1745; a thros beth amser bu yn gweinidogaethu fel curad yn ei blwyf genedigawl—sef Llanfair-mathafarneithaf, lle y mwynhai ddedwyddwch tra mawr, yn mysg ei geraint a chyfeillion ei ieuenctyd. Ond bu raid iddo roddi y lle yma i fynu cyn pen ychydig wythnosau, er mwyn gwneyd lle i gyfaill yr esgob; ac er nad ydoedd y gyflog yno ond ugain punt yn y flwyddyn, yr oedd ymadawiad mor ebrwydd o Lanfair yn groes fawr iawn iddo. Ac o'r pryd hyny bu yn ymguraw ac yn ymdreiglaw o le i le, ac mewn byd mawr yn cael tamaid iddo ei hunan a'i deulu, am wasanaethu yr Eglwys, a chadw ysgolion; a'r byd gerwinaf arno i dori ei awydd diwala i ddysgu cymmaint ag a allai—ond yn methu a chael y llyfrau i'w dysgu a dalent i'w dysgu. Er hyny, o dan yr holl anfanteision hyn, cyfansoddai amryw ddarnau barddonawl gwir orchestol; a gallwn gasglu iddo ymwthio i wybodaeth dra eang o'r ieithoedd dwyreiniol. O'r diwedd, symudodd i'r Amerig, lle y treuliodd weddill ei oes—yn fwy cysurus o ran amgylchiadau y bywyd hwn, dybygid, nag y buasai yn Mrydain; eto yn ebychiaw llawer ochenaid drom o hiraeth am anwyl wlad ei dadau.

*Henri Owen* a anwyd yn Nhan y Gadair, yn agos i Ddolgellau, yn swydd Feirionydd, yn y flwyddyn 1716. Efe a dderbyniodd ei addysg yn ysgol ramadegawl Rhuthyn; a phan yn bedair mlwydd ar bymtheg oed, efe a aeth i Goleg yr Iesu, yn Rhydychain. Un o hoff ganghenau ei efrydiaeth ydoedd meintoniaeth, yn yr hyn y rhagorodd pan yn dra ieuanc. Wedi cymmeryd ei raddau yn y celfyddydau, efe a ymroddodd i astudio physygwriaeth; ac yn nghorph y flwyddyn 1746, efe a gafodd ei raddu yn Febydd Meddygiaeth, a bu yn gweithredu fel meddyg dros dair blynedd; ond afiechyd, yn nghyda'i anhoffder yntau o'r alwedigaeth honno, a barodd iddo ei rhoddi i fynu, a throi ei fryd yn llwyr at yr offeiriadaeth.

Nis meddwn unrhyw hysbysiad pa bryd y derbyniwyd ef i urddau cyssegredig; ond fe'n hysbysir ei fod yn lled ieuanc wedi ei wneyd yn gapelwr i Syr Matthew Featherstonehaugh, yr hwn a'i cyflwynodd i fywioliaeth Torling, yn Essex. Yn y flwyddyn 1748, efe a gyhoeddodd draethawd byr ar Dryfaliaeth, dan yr enw "*Harmonia Trigonometrica*," wythplyg. Yn y flwyddyn 1750, efe a gyflwynwyd i arberigloriaeth *St. Olave*, Heol-yr-hydd, yn ninas Llundain, pan y rhoddes i fynu fywioliaeth Torling. Yn fuan wedi hyn, efe a wnaed yn gaplan i esgob Llandaf, wedi hyny esgob Durham.

Yn y flwyddyn 1753, efe a gymmerth ei raddu yn Athraw Meddygaeth (M.D.) yn Rhydychain; ac yn y flwyddyn 1755, cyhoeddodd gyfansoddiad rhagorol, dan yr enw, "Sylwadau ar y Gwyrthiau Ysgrythyrol." Yn y flwyddyn 1760, efe a briododd ferch Dr. Butts, yr hwn a fuasai ar y cyntaf yn esgob Norwich, ac wedi hyny yn esgob Ely. Yn mhen pedair blynedd ar ol hyn, efe a gyhoeddodd ei "Sylwadau ar y Pedair Efengyl," wythplyg; yr hwn a ddylynid, yn y flwyddyn 1766, gan draethawd tra gwerthfawr o'i eiddo, dan yr enw, "Cyfarwyddiadau i Efrydwyr ieuainc mewn Dwyfyddiaeth." Yn y flwyddyn 1769, cyhoeddodd ei "Ymchwiliad i ansawdd Cyfieithiad y Deg a Thriugain"—gwaith a brofai yn amlwg ei fod yn feddiannol ar alluoedd meddwl cryfion, a dysgeidiaeth eang, a'i fod wedi llafuriaw yn dra helaeth mewn efrydiaeth ar lenyddiaeth gyssegredig. Y pryd hyn, efe a benodwyd i bregethu y Lenlith, seiliedig gan yr Anrhydeddus Robert Boyle: ac yn y flwyddyn 1773,

efe a gyhoeddodd y pregethau a draddodasai, o dan y cyfenwad—"Amcan a phriodoldeb y Gwyrthiau Ysgrythyrol yn cael eu hystyried a'u hegluro, mewn cyfres o bregethau a draddodwyd yn Eglwys blwyfol St. Mary-le-Bow," &c., mewn dwy o gyfrolau wythplyg. Yn ystod y flwyddyn ganlynol, efe a gyhoeddodd ei "*Critica Sacra*," sef math o arweiniad byr i feirniadaeth Hebreaidd; yr hwn a ddylynwyd wedi hyny gan "Adchwanegiad," mewn atebiad i ryw nodiadau arno, gan Iuddew dysgedig o'r enw Mr. Raphael Baruh. Yn y flwyddyn 1775, cyflwynid Dr. Owen, gan yr Esgob Barrington, i ficeriaeth Edmonton, yn Middlesex. Yn y flwyddyn 1778, efe a wnaeth wasanaeth pwysig i'r byd llenyddol, trwy y llafur a'r manylrwydd â pha un y golygodd gydgymhariad y llaw-ysgrif Cottonaidd werthfawr o lyfr Genesis, â chopi y Vatican, yr hwn a wnelsid gan y dysgedig Grabe, yn y flwyddyn 1703, ond a adawsid heb ei gyhoeddi ganddo, ar ei farwolaeth. Ei deitl yw—"*Collatio Codicis Cottoniani Geneseos cum Editione Romanâ, a viro clarissimo Joanna Ernesto Grabe, jam olim facta; nunc demum summâ curâ edita ab Henrico Owen, M.D.*" &c. Yr hyn a wna y cydgymhariad yma yn fwy gwerthfawr, yw yr amgylchiad fod y llaw-ysgrif grybwylledig—yr hon, efallai, yw yr henaf yn Ewrob—wedi cael agos ei llwyr ddystrywio trwy dân, yr hwn a gymmerodd le yn y llyfrgell Cottonaidd, yn 1731.

Efe a wnaeth wasanaeth pwysig arall i ddysgedigion y byd, yn y flwyddyn 1785, trwy y gofal a'r llafur a arferodd efe yn nghyhoeddiad yr argraffiad wythplyg o "*Xenophon's Memorabilia*," yr hwn a adawsid yn anorphen gan y Dr. Edward Edwards, o Goleg yr Iesu, Rhydychain; yr hwn a fu fyw yn unig i argraffu y testyn, yn nghyd a'r cyfieithiad. Ryw bryd cyn ymddangosiad y gwaith uchod, efe a gyhoeddasai ddau "Archwiliad Beirniadol"—y cyntaf a gynnwysai sylwadau ar argraffiad Masius o lyfr Josua; a'r ail ar Chwe'phlyg enwog Origen. Y traethodau hyn oeddynt fanol a galluawg, ac a ychwanegent at enwogrwydd yr awdwr yn mysg llenorion dysgedig. Y gweithiau galluog hyn a ddylynid yn fuan gan draethawd arall ar Ysgrythyrau yr Hen Destament, yr hwn a gyhoeddwyd yn ystod y flwyddyn 1787, dan y teitl—"Sylw byr, hanesyddol a beirniadol, ar Gyfieithiad y Deg a Thriugain o'r Hen Destament; at yr hwn y chwanegwyd traethawd ar ragoroldeb cymhariaethol Pum' llyfr Moses, yn yr Hebraeg a'r Samariaeg." Mae yr awdwr, yn y gwaith bychan hwn, wedi crynhoi llawer o hysbysiaeth werthfawr o barth i'r amser y gwnaed y cyfieithiad hwn—y personau a'i gwnaethant—a'r modd y'i gwnaed; y dystiolaeth o'i gywirdeb a'i ffyddlondeb, ac o'r bri cyffredinol yn yr hwn y'i cyfrifwyd dros yspaid maith o flyneddoedd, a'r achosion o'r cyfnewidiadau a wnaethpwyd ynddo o bryd i bryd.

Y cyfansoddiad olaf o eiddo y Cymro diwyd a dysgedig yma, ydoedd anrheg ddefnyddiol a gwerthfawr i efrydwyr ysgrythyrol, yr hwn a gyhoeddwyd yn y flwyddyn 1789, dan y teitl—"Amddiffyniad ac eglurhad ar y moddau o ddyfynebu a arferid gan yr Ysgrifenwyr Efengylaidd," wythplyg.

Yn y rhan olaf o'i oes, efe a gystuddid â nychdod blin, o'r hwn y bu farw, Hydref 15eg, 1795, yn y bedwar-ugeinfed flwydd o'i oedran, wedi enill iddo ei hunan enwogrwydd Ewrobaidd am ei ddysgeidiaeth.

*Abraham Rees* ydoedd fab i weinidog ymneillduol, ac a anwyd yn agos i Drefaldwyn, yn Ngogledd Cymru, yn y flwyddyn 1743. Efe

a dderbyniodd elfenau addysg yn ysgol ramadegol Caerfyrddin; ac wedi hyny fe'i rhoddwyd yn athrofa Hoxton, lle yr ydoedd ei gynnydd yn gyfryw, fel y cafodd ei benodi yn athraw gwyddonawl i'r athrofa, yn mhell cyn terfynu yr amser prawf gosodedig i efrydwyr; ac efe a gyflawnai ddyledswyddau y swydd hono mor foddhaol, fel y cafodd ei ddewis yn fuan yn athraw trigianol, a llywadur gweithredol y sefydliad. Dan ei arolygaeth alluog bu ffyniant annghyffredin ar yr athrofa, dros fwy na thair blynedd ar hugain; yn ystod yr hwn gyfnod y dygwyd talentau rhai o addurniadau penaf ymneillduwyr Lloegr i addfedrwydd. Er ei fod wedi ei ddoniaw â thalentau hynod o gyfaddas i'r pwlpud, efe a fu dros lawer o flyneddoedd heb arfer pregethu onid yn achlysurol; ond yn y flwyddyn 1768, efe a ddaeth yn weinidog cynnulleidfa o Henaduriaethwyr, yn *St. Thomas's, Southwark*, lle y bu yn gweinyddu hyd y flwyddyn 1783, pryd y dewiswyd ef yn weinidog ar gynnulleidfa yn *Old Jewry*. Yn y lle hwn, yr hwn a gadwodd tra fu byw, bu ei ymdrechiadau yn hynod o lwyddiannus—ychwanegwyd ei gynnulleidfa i fwy na phedair gwaith yr hyn ydoedd pan aeth efe yno; a chynnyddai mewn cyfritoldeb, cystal ag mewn nifer. Efe a ddarlithiai hefyd dros ryw yspaid yn *Salter's Hall;* ac ar seiliad y sefydliad byr-hoedlawg hwnw—Coleg Hackney—efe a benodwyd yn athraw Hebreig ynddo. Ond fel awdwr y daeth y Dr. Rees i enwogrwydd annghydmarol yn y byd llenyddol a gwyddonawl. Yn y flwyddyn 1781, efe a ddechreuodd gyhoeddi Gwyddoniadur Chambers, yn rhanau, yn nghyda chwanegiadau; ac efe a gwblhaodd y gwaith mewn pedair cyfrol unplyg, yn y flwyddyn 1786. Yr ydoedd mwy na haner y gwaith yn newydd, ac wedi ei arlwy ganddo ef ei hunan; a'r cyfan wedi ei drefnu mor fedrus, fel y cydunai holl ddysgedigion y dydd i ddwyn eu tystiolaeth i'w deilyngdod. Yn fuan wedi hyny, efe a etholwyd yn gymmrawd o'r Gymdeithas Freninol; a darfu i brifysgol Edinburg—ar gais neillduol y Dr. Robertson, yr hanesydd—ei raddu yn Athraw Dwyfyddiaeth. Etholwyd ef hefyd yn gymmrawd o'r Gymdeithas Linaeaidd, ac o'r Gymdeithas Lenyddol Freninol; ac amryw gymdeithasau llenyddol a gwyddonol o wledydd tramor a'i hanrhydeddasant, trwy ei gyfresu yn mysg eu haelodau.

Ond er ei holl lafur—llenyddol a gwyddonol—ni pharai hyny iddo esgeuluso ei ddyledswyddau gweinidogaethol: ac amryw bregethau o'i eiddo, a gyhoeddid ar gais neillduol ei gynnulleidfa, a amlygent ei dduwiolfrydedd gwresog, ac a roddent fantais ragorol i'r byd farnu am ei dalentau fel pregethwr. Tua'r pryd hwn hefyd efe a ragluniai Wyddoniadur newydd dan ei enw ei hun, a chafodd yr hyfrydwch o weled ei orphen; yr oedd hwn yn waith o'r fath faintiolaeth ac amrywiaeth, fel y gellid meddwl y buasai yr oes hwyaf yn rhy fer i ddyfod drwyddo, a'r diwydrwydd mwyaf diflin yn annigonawl i'w gwblhau. Ond ymddangosai y cyflyfr cyntaf yn y flwyddyn 1802, a dygid cyflyfr allan bob chwe' mis, hyd oni orphenid y cyfan mewn 45 o gyflyfrau pedwarplyg.

Yr oedd iddo amryw gynnorthwywyr galluog yn y gorchwyl gorchestawl yma; ond ysgrifenid rhan fawr o'r erthyglau ganddo ef ei hun, a chynlluniad a threfniad y cyfan ydoedd yr eiddo ei hun yn hollol. Y mae yn anmhossibl llafaru yn rhy uchel am y ddysgeidiaeth goeth, y diwydrwydd, a'r gofal a amlygid yn y gwaith dihafal hwn.—Ei weithiau ereill oeddynt "Cynnildeb yn cael ei egluro, a'i arganmol."—"Gwrthebydd i'r arswyd Goresgyniad."—"Egwyddorion

Ymneillduwyr Protestanaidd yn cael eu datgan a'u hamddiffyn,"—heblaw amrywiol bregethau, &c.

Bu farw y dyn hynod hwn ar y nawfed dydd o Fehefin, yn y flwyddyn 1825, wedi cyrhaedd yr oedran teg o bedwar ugain a dwy flwydd, ac yn y cyflawn feddiant o'i holl alluoedd. Efe a gladdwyd yn Bunhill Fields.

*Edward Williams*, bardd a hynafiaethydd tra enwog, a adwaenir yn fwy cyffredinol wrth ei enw barddonawl, "Iolo Morganwg"—a anwyd yn y flwyddyn 1745, yn Mhenon, swydd Forganwg. Yr ydoedd yn afiachus yn blentyn, ac felly y parhaodd drwy ystod oes faith. Gan nad ystyrid ef yn ddigon cryf i'w ddanfon i ysgol, cedwid ef adref; ond efe a ddysgodd adnabod y llythyrenau wrth sylwi ar ei dad yn tori ar gerig beddau. Ymddangosai ei duedd at farddoniaeth pan yn dra ieuanc; canys fel yr oedd ei fam yn ei ddysgu i ddarllen, ni allasai byth gael ganddo ddefnyddio un llyfr i ddysgu, ond hen lyfr o ganeuon Seisnig. Ei fam hefyd a'i dysgodd i ysgrifenu, ac i ymgydnabod â phrif reolau rhifyddiaeth, ac âg elfenau cyntaf peroriaeth. Er mai Saesoneg ydoedd iaith tŷ ei dad, ei gynnygiadau cyntaf ef at farddoni a wnaed yn Gymraeg.

Efe a ddechreuodd weithio ar alwedigaeth ei dad, megys naddwr meini, pan nad ydoedd ond naw mlwydd oed; ac arosodd gartref yn dilyn yr alwedigaeth hono, hyd farwolaeth ei fam yn 1770. Yna, wedi claddu ei fam, o'r hon yr oedd yn dra hoff, efe a aeth i Lundain, a rhanau ereill o Loegr, lle y bu yn dilyn ei alwedigaeth am flyneddoedd.

Yn y flwyddyn 1777, efe a ddychwelodd i Forganwg, ac a dreuliodd y rhan fwyaf o'i oes yn mhentref *Flimstone*, o fewn tua dwy filldir i'r man y'i ganwyd; ac yma parhai i ddilyn ei alwedigaeth isel, gan iddo ymbriodi yn y flwyddyn 1781.

Yn y flwyddyn 1794, efe a gyhoeddodd ddau gyflyfr o farddoniaeth Seisnig, y rhai oeddynt gynnwysedig o gyfansoddiadau gwreiddiol, a chyfieithiadau o'r iaith Gymraeg. Wedi hyny rhoddwyd ef ar waith gan Mr. Owain Jones (Owain Myfyr,) i dramwy hyd a lled y dywysogaeth, i chwilio am hen gyfysgrifau Cymreig, yn yr hyn y bu yn fwy llwyddiannus o lawer nag y dysgwylid; ac o'r defnyddiau a gesglid fel hyn, trwy ei lafur dybryd ef, y crynhowyd y "*Myvyrian Archaiology*," yr hwn a gyhoeddid o dan gyd-olygiaeth Owen Jones, Ysw., y Dr. Pughe, ac Iolo; ac ynddo, hyd heddyw, y cynnwysir y gronfa werthfawrocaf o henafiaethau Cymreig. Efe a adysgrifasai tua 100 o gyflyfrau allan o hen gyfysgrifau Cymreig, ac o'r rhai hyn y cyhoeddid "Cyfrinach y Beirdd," ychydig cyn ei farwolaeth; a chyhoeddid cyflyfr lled fawr o ddetholion o'r casgliad uchod, yn y flwyddyn 1849, gan Gymdeithas y Cyfysgrifau Cymreig. Iddo ef hefyd yr ydys yn ddyledus am gadwraeth "Coelbren y Beirdd"—henafiaeth yr hwn a brofwyd yn ddiamheuol mewn traethawd o eiddo ei fab, *Taliesin ab Iolo*, yr hwn oedd fardd a hynafiaethydd enwog fel ei dad.

Yr oedd Iolo Morganwg yn ŵr tra rhyddfrydig, a hynod annibynol ei feddwl, fel y dangosir yn y mân gofion canlynol am dano.—Tra yr oedd yn Llundain, yn ŵr lled ieuanc, yn naddu cerig at bont y *Blackfriars*, adnabyddid ef gan amryw o'i gydweithwyr fel diwygiwr o feddwl eang; ac yn rhyw fodd rhoddwyd ar ddeall i Mr. Pitt, nad oedd y *saer maen Cymreig* yn un hollol ddiberygl i'w oddef yn

y brif ddinas; felly anfonwyd swyddog i'w letty, a chymmerwyd ef a'i holl bapurau i fynu, i'w dwyn i swyddfa Pitt. Wedi chwilio ei holl bapurau yn fanol, a chael allan nad oeddynt namyn darnau o farddoniaeth, a hen gyfysgrifau Cymreig, dywedai Pitt wrtho yn dra moesgar—"Y mae yn ddywenydd mawr genyf allu sylwi wrthych, Mr. Williams, nad oes dim eich papurau yn cyfiawnhau y cyhuddiad a roddid yn eich erbyn; gan hyny, chwi a ellwch eu cymmeryd, a dychwelyd adref." I'r hyn yr atebai Iolo, gan ddywedyd—"Syr, chwi a barasoch ddwyn fy mhapurau yma heb fy nghais na'm cenad i, *efallai y byddwch dirioned a'u hanfon yn ol i'm llety.*" "Gwir iawn, Mr. Williams, mae hyny yn rhesymol, ac fe'i gwneir," medd Pitt—ac felly fu; a'r bardd a ddychwelai at ei gynion a'i gerig.

Yn mhen blyneddoedd ar ol hyn, efe a fu yn cadw siop llyfrau fechan yn Mhont Fon; a rhyw swyddog cymmydogawl, wedi clywed ei fod yn gwerthu llyfrau bradwrus—yn enwedig "*Hawlion Dyn,*" gan Thomas Paine—a gadwai lygaid tra eiddigus ar ffenestr ei siop, gan ddysgwyl cael arfod yn fuan i enill y gwobrwy a addawai y llywodraeth am ddwyn y cyfryw i ddalfa. Ond ryw fodd neu gilydd daeth cyfrinach y swyddog i glustiau Iolo; yr hwn, gan fod ganddo ystôr go fawr o Feiblau ysgolion, a gymmerth un, ac wedi gludio dernyn o bapur gwyn ar ei gefn, ysgrifenodd arno, HAWLION DYN, ac a'i dodes mewn lle amlwg yn y ffenestr. Yn fuan iawn deuai y swyddog gwladgarawl i mewn—gofynai bris y llyfr, a thalai am dano yn ddiymorol yn y fan; wedi hyny efe a frysiai ymaith, gan feddwl yn ddiau ei fod yn meddu yn ei law brawf diamheuawl o fradwriaeth y llyfrwerthwr. Ond ar yr heol, pan y safai i edrych i'r llyfr, er ei syndod canfyddai mai Beibl ydoedd; dychwelai yn ol yn uniongyrchol i'r siop, gan ddywedyd—"Edward Williams, Beibl ydyw hwn; ac yr oedd arnaf fi eisiau prynu Hawlion Dyn."—"Fy nghyfaill," medd y bardd, "*yn y llyfr yna y canfyddwch chwi holl wir hawlion dyn.*"

Yr oedd iddo dri o frodyr, oll yn seiri meini fel ei hunan; aeth y tri i'r India Orllewinol, lle y daethant yn gaethfeddianwyr, ac y casglasant gryn lawer o gyfoeth. Bu y tri feirw heb hiliogaeth, fel mai ein bardd ydoedd etifedd cyfreithlawn y tri. Buasai yr etifeddiaeth yma yn ei gyfodi ef a'i dylwyth yn gydwastad â boneddigion Morganwg, ac yr oedd yn meddu pob cymhwysder mewn gwybodaeth a lledneisrwydd i ragori ar y rhan fwyaf o honynt. Ond pan ddaeth y newyddion drosodd, efe a ddywedai, dan ddylanwad dwys deimlad calon ryddgarawl—"*Yr holl arian hyn ydynt werth gwaed; gwerth esgyrn, giau, cyhyrau, ac eneidiau dynion. Ni fynaf ddim o honynt—ni chaiff fy mhlant ddim o honynt. I ba le bynag yr elont, dygant felldith Duw Hollalluog i'w canlyn. Myfi a'u cadwaf hwynt, a'r felldith a'u canlynant, oddiar fy mhen fy hun, a'r eiddo fy mhlant. Ni chânt groesi gorsing fy nhy, na chrogi oddiwrth fy nenbren.*" Ac efe a gadwodd at ei benderfyniad yn ddigyfnewid.

Y gŵr gwir dalentawg a dysgedig hwn a fu farw ar y deunawfed dydd o Ragfyr, 1826, wedi cyrhaedd yr oedran teg o un flwydd a phedwar ugain.

Yr enwog *Ddr. William Owen Pughe* a anwyd yn Nhy'n y bryn, yn mhlwyf Llanfihangel y Pennant, swydd Feirionydd, ar y seithfed dydd o Awst, yn y flwyddyn 1759. Yn fuan wedi ei eni ef, symmudai ei rieni i Egryn, yn Ardudwy, swydd Feirion, lle y treul-

iodd ei ddyddiau ieuengaidd, hyd oni ddanfonwyd ef i'r ysgol, yn Altringham, gerllaw Manchester; a phan gyrhaeddodd ddwy flwydd ar bymtheg oed, efe a ymsefydlodd yn Llundain. Yn y brif ddinas, ei holl feddwl a gymmerid i fynu gan lyfrau a llenyddiaeth Gymreig, er na wyddai fod neb ond ei hunan o'r tueddiad hwnw yn y ddinas fawr hono hyd y flwyddyn 1782, pan y digwyddodd iddo yn ddamweiniol gyfarfod â Robert Hnghes, neu "Robyn Ddu o Fon," bardd a beirniad rhagorawl. Trwy gyfryngwriaeth Robert Hughes efe a ddaeth yn adnabyddus o "Owain Myfyr," ac amryw aelodau ereill o Gymdeithas y Gwyneddigion, y rhai oeddynt dra eiddigeddus dros hen iaith eu hynafiaid.

Yn y flwyddyn 1789, efe a olygai argraffiad o gyfansoddiadau y bardd Dafydd ab Gwilym, a chynnorthwyid ef yn y gwaith gan ei gyfaill Owain Myfyr; ac yn y flwyddyn 1792, cyhoeddodd farddoniaeth Llywarch Hen, yn nghyda chyfieithiad o'r unrhyw i'r iaith Seisnig. Dechreuai gasglu defnyddiau at ei waith mawr—y Geiriadur Cymreig a Seisnig—mor foreu a'r flwyddyn 1785; a llafuriai gyda'r gorchwyl pwysig yma, ar amserau, dros yspaid deunaw mlynedd—gan ddarllen yr holl lyfrau argraffedig, a'r cyfysgrifau Cymreig, a allai gael, er casglu defnyddiau at y drysorfa ddigyffelyb yma o'r iaith Gymraeg; a'r canlyniad o'r llafur dybryd yma a fu corphoriad geiriadur digyffelyb o ran nifer y geiriau a gynnullwyd, a chywirdeb eu darnodiad—yr hyn a welir pan yr ystyriom fod geiriadur Saesonaeg y Dr. Johnson, wedi ei helaethu gan Todd, yn cynnwys 58,000 o eiriau; geiriadur Saesonaeg Webster, tua 70,000; ond cynnwysai yr argraffiad cyntaf o eiriadur Cymreig a Seisnig y Dr. Pughe dros 100,000 o eiriau, a 12,000 o ddyfynebau. Cyhoeddwyd ail argraffiad o hono yn Ninbach, yn y flwyddyn 1832, mewn dau gyflyfr wythplyg mawr, yn yr hwn yr ychwanegid amryw filoedd o eiriau at ei gynnwysiad.

Gwaith mawr arall y bu yn llafuriaw llawer wrtho—yn nghyda'i gyfeillion Owain Myfyr ac Iolo Morganwg—ydoedd grynhoad o hen gyfansoddiadau Cymreig, yn dri chyflyfr wythplyg mawr, o dan yr enw "*Myvyrian Archaiology of Wales.*" Cyhoeddwyd hwn yn ystod y blyneddoedd 1801—7. Ei fuchdraith Cymreig a ymddangosai yn y flwyddyn 1803. Golygai y "*Cambrian Register,*" y "Greal," &c., ac ysgrifenai lawer o erthyglau i wyddonyr Rees—i Hanes Cymru, gan Warrington—yn nghydag amryw gyhoeddiadau ereill, Cymreig a Seisnig.

Yn y flwyddyn 1806, daeth etifeddiaeth fechan iddo yn agos i dref Ddinbach, lle yr ymsefydlodd o'r diwedd; a thra yn y lle hwn y cyhoeddodd efe ei gyfieithiad dihafal o Goll Gwynfa orchestawl y bardd Milton, yn y flwyddyn 1819. Etholid ef yn gymmrawd o Gymdeithas yr Hynafiaethwyr, ychydig cyn gorphen o hono ei eiriadur; ac yn y flwyddyn 1826, y darfu i brif ysgol Rhydychain ei anrhydeddu â'r urdd o D.C.L., fel cydnabyddiaeth o'i lafur a'i enwogrwydd llenyddol.

Bu farw Mehefin 4ydd, 1835, yn Nolydd y Cae, wrth odreu Cadair Idris, yn 76 mlwydd oed.

*Dafydd Thomas*, neu "Dafydd Ddu o Eryri," ydoedd fardd a hynafiaethydd gorchestawl, ac a anwyd mewn lle a elwir Penybont y Creunant, yn mhlwyf Llanbeblig, swydd Gaerynarfon, yn y flwyddyn 1760. Nid oedd ei rieni ond isel o ran eu hamgylchiadau bydawl;

a dilynai ei dad alwedigaeth gwehydd, yn yr hon gelfyddyd hefyd yr addysgwyd Dafydd Thomas, a dilynodd hi hyd onid oedd tuag un ar hugain oed.

Trwy ei fod wedi cael addysg gwell na'r cyffredin yn yr oes hono, anogwyd ef—tua'r flwyddyn 1781—i ddyfod i gadw ysgol i blwyf Llanddeiniolen; ac wedi dwys ystyriaeth, cytunodd â'r alwad. Yn mhen peth amser efe a ymsymudodd, ar ddymuniad ei gyfeillion, i arolygu ysgol yn Mettws Garmon; ac oddiyno drachefn i Lanystumdwy, ar yr un perwyl. Tra yr oedd fel hyn yn dilyn yr alwedigaeth isel ond fuddiol hon, o fan i fan, efe a ymroddai i ddiwyllio ei feddwl, ac i ychwanegu ei gydnabyddiaeth âg ieithoedd estronol; a thrwy ddiwydrwydd a llafur, cyrhaeddodd wybodaeth lled helaeth, nid yn unig o'r iaith Saesoneg, ond hefyd o'r Lladin, y Groeg, &c.

Yn fuan ar ol hyn, tynodd ei lafur a'i hynodrwydd llenyddawl sylw Paul Panton, Yswain, o'r Plas gwyn, yn Mon; y boneddwr hwn a'i gwahoddai i Bentraeth, a bu o wasanaeth fawr iddo megys llyfrydd. Tra yn y fan yma, efe a ddefnyddiai ei seibiant i goethi a diwyllio ei feddwl, ac i ychwanegu at y drysorfa fawr o wybodaeth gyffredinol a hanesyddawl a gasglasai efe.

Treuliodd beth amser wedi hyn yn Amlwch, Mon, yn gweinyddu rhyw swydd a dderbyniasai trwy garedigrwydd Mr. Panton. Ond nid ydoedd hyn yn cytuno âg archwaeth ein bardd cystal a chadw ysgol; canys yr ydym yn cael iddo yn fuan adgymmeryd y gorchwyl hwnw, a pharhau ynddo hyd o fewn ychydig flyneddoedd i ddiwedd ei einioes.

Treuliodd y rhan olaf o'i oes yn mhlwyf Llanrug, gerllaw tref Caerynarfon, mewn amgylchiadau tra chysurus. Bu farw ar y ffordd wrth ddychwelyd adref o Fangor, lle y buasai yn talu ymweliad â chyfeillion, ar y degfed dydd ar hugain o Fawrth, yn y flwyddyn 1822, yn ddwy flwydd a thriugain oed. Claddwyd ef yn mynwent eglwys Llanrug, lle y mae beddfaen hardd wedi ei gyfodi er coffadwriaeth am dano.

Ystyrid Dafydd Ddu yn hynafiaethydd medrus, ac y mae ar ei ol brofion digonol i arddangos ei hyddysgrwydd yn y ganghen hon o wybodaeth. Ond fel bardd yr ymddysgleiriodd efe fwyaf ger bron ei gydwladwyr. Yn y blyneddoedd 1778 a 1779, bu yn fuddugoliaethus mewn dwy ymdrech ar destynau anrhydeddus Gymdeithas y Gwyneddigion, yn Llundain; ac yn fuan wedi hyny, etholwyd ef yn un o'i hanrhydeddus aelodau: ac yn y flwyddyn 1820, etholwyd ef yn aelod o Gymdeithas y Cymmrodorion, yn Mhowys. Yr oedd hefyd yn athraw ac yn gynghorydd cyffredinol yr holl feirdd ieuainc o'i adnabyddiaeth; ac efallai nad hollawl anmhriodol ydoedd i un o feirdd enwocaf y Deheudir, alw y rhai ag oeddynt yn canu yn ol rheolau Dafydd ab Edmwnd, yn yr amser hwnw, yn "Gywion Dafydd Ddu."

Ei barodrwydd i gynnorthwyo ei gydwladwyr, yn eu llafur llenyddawl, ydoedd hynod; a derbyniodd amryw lyfrau, nid yn unig o natur farddonawl, ond rhai hanesiol hefyd a fyddent mewn rhyw fodd yn dwyn perthynas â Chymru, gynnorthwy oddiwrtho ef. Bu hefyd yn olygydd ar gyhoeddiad misol, a elwid yr "Eurgrawn Cymreig," yr hwn, o ddiffyg cael cefnogaeth ddigonol, ni pharhaodd ond un flwyddyn. Argraffwyd ei weithiau barddonawl mewn un cyflyfr, dan yr enw "Corph y Gaingc," o'r hwn y cyhoeddwyd ail argraffiad hardd yn y flwyddyn 1834.

*Walter Davies* a anwyd Gorphenhaf 15fed, yn y flwyddyn 1761, mewn lle a elwid "y Wern," yn mhlwyf Llanfechain, yn swydd Drefaldwyn; ac mewn cyfeiriad at ei blwyf genedigawl y cymmerth efe arno ei enw barddonol—"Gwallter Mechain." Yr oedd efe yn disgyn o Davies, Nant yr Erw Hardd—yr hwn a briododd aeres Kyffin Trebrys, canghen o dylwyth Kyffinau Bodfach a'r Garth.—Ond er ei fod yn hanu fel hyn yn llinach rhai o uchelwyr ei wlad, nid ydoedd ei rieni ef ond tra isel eu hamgylchiadau: ac y mae yn rhaid addef bod ei waith ef yn ymddyrchafu, trwy fendith ddwyfawl ar ei ymdrechion canmoladwy ei hunan, gymmaint goruwch sefyllfa ei faboed, yn dra anrhydeddus i'w gymmeriad.

Nid oedd y manteision addysg a gafodd efe yn moreu ei ddyddiau ond bychain iawn; a thrwy lafur dirfawr, heb nemawr iawn o gynnorthwyon allanawl, y cyrhaeddodd efe i enwogrwydd mawr yn ngwahanol ganghenau llenyddiaeth—fel bardd, ysgolhaig, a duwinydd. Pan ydoedd yn blentyn, tair neu bedair blwydd oed, efe a ymhyfrydai yn ceisiaw efelychu unrhyw ysgrifen, neu arluniau cywrain a dynent ei sylw, ar ddernyn garw o lechfaen; a hyny—yn nghydag amlygiadau ereill o athrylith foreuawl, a'i gynnydd cyflym mewn gwybodaeth fel yr elai rhagddo mewn dyddiau—a barai i'w gymmydogion a'i gydnabod edrych arno fel bachgen tra gobeithiol; ac un gŵr boneddig cymmydogawl a arferai ei alw—"yr esgob ieuanc." Wedi ei anfon i ysgol a gedwid yn y plwyf y preswyliai ynddo, efe a ddaeth yn fuan yn well ysgolhaig na'i feistr; ac wedi iddo ddyfod yn dipyn henach—gan nas gallai ei rieni ei gadw yn hwy yn yr ysgol—bu raid iddo, er mwyn ei gynnal ei hun, droi allan i weithio i ddechreu; ac wedi hyny efe a ddaeth yn ysgolfeistr, ac arferai yn achlysurol dori ar gerig beddau.

Fel hyn y parhaodd hyd onid oedd yn naw mlwydd ar hugain oed; ac yn y cyfamser, defnyddiai bob awr o seibiant a allai gael i ddiwylliaw ei feddwl, trwy ddarllen unrhyw lyfrau y deuai ar eu traws. Yn y flwyddyn 1790, cynnygiai Cymdeithas y Gwyneddigion, yn Llundain, wobrwy am y traethawd Cymreig goreu ar Ryddid—i'w ddarllen yn eu heisteddfod yn Llanelwy. Yr ydoedd y cyfryw destyn ar y pryd yn dra phoblogaidd; a daeth Mr. Davies yn un o'r ymgystadleuwyr, ac efe a enillodd y wobr. Wrth edrych dros y traethawd crybwylledig, ychydig o fisoedd cyn ei farwolaeth, efe a ddywedai—nad oedd yn meddwl y gallasai wneuthur ei well y pryd hwnw. Yn y flwyddyn flaenorawl i hyn, efe a fuasai yn ymgystadleuydd llwyddiannus am y traethawd Cymreig goreu ar destyn arall—sef, Bywyd Dyn. Y traethodau hyn a'i dygasant i gryn sylw yn y byd llenyddawl; a'r canlyniad fu, iddo gael ei anog a'i gynnorthwyo yn fuan i fyned i'r coleg, yn Rhydychain, yn mha le yr ymroddodd i lafur dybryd—gan aros yno y gwyliau, yr un modd â thymhorau efrydiaeth, er mwyn gwneuthur y defnydd goreu a allai o'r cyfleusterau rhagorach a fwynhai yno i goethi ei feddwl. Yn y flwyddyn 1795, efe a gafodd ei raddio yn B.A. yno; ac yn mhen ychydig flyneddoedd wedi hyny, efe a raddiwyd yn M.A. yn mhrif ysgol Caergrawnt, lle y daethai yn aelod o Goleg y Drindod i'r perwyl hyny.

Wedi derbyn urddau eglwysig, efe a ddaeth yn gurad Meifod, yn swydd Drefaldwyn; ac yn y flwyddyn 1799, efe a benodwyd, gan y gwir anrhydeddus Arglwydd Mostyn, i guradiaeth barhaol Yspytty Ifan, yn swydd Ddinbach, yr hon a ddaliodd efe hyd ddydd ei farw-

olaeth. Wedi hyny, efe a anrhegwyd â phersonoliaeth Llanwyddelen, yn swydd Drefaldwyn, gan yr esgob Horseley; yr hon a roddes efe i fynu yn y flwyddyn 1807, ar ei gyfodiad i bersonoliaeth Manafon, gan yr esgob Cleaver—yr hyn a wnaed iddo fel cydnabyddiaeth o'r cynnorthwy effeithiol a roddasai i ddiwygio llythyraeth y Beibl Cymraeg a gyhoeddwyd tua'r pryd hyny, gan y Gymdeithas er lledaeniad Gwybodaeth Gristionogawl. Efe a roddes fywioliaeth Manafon i fynu yn y flwyddyn 1837, ar ei benodiad i ficeriaeth Llanrhaiadr yn Mochnant.

Yn y flwyddyn 1803, efe a briodai Mrs. Price, gweddw ei gyfaill Rice Price, Yswain, o Ros-bryn-bwa, ac o'r briodas honno bu iddo fab a merch.

Yr oedd efe erbyn hyn yn sefyll yn dra uchel yn mysg beirdd a llenorion Cymru, gan ei fod wedi enill lluaws o wobrwyon am gyfansoddiadau barddonawl a rhyddieithawl; fel y gwaherddid iddo ef, a Dafydd Ddu o Eryri, fod yn ymgystadleuwyr yn Eisteddfodau 1793 a 1794—rhag na byddai nemawr siawns i neb gael yr un wobrwy ond hwy. Ysgrifenai lawer iawn hefyd i'r cyhoeddiadau cyfnodawl a berthynent i Gymru—megys, y "*Cambrian Register*," y "*Cambro-Briton*," y "*Cambrian Quarterly*," y "Greal," y "Gwyliedydd," yr "Haul," &c. Y rhan fwyaf o'r ysgrifeniadau hyn a ddygent berthynas â hanes Cymru, yr iaith Gymraeg, &c. Cyhoeddwyd hefyd draethawd campus o'i waith, ar Amaethyddiaeth a Theuluyddiaeth Deheudir a Gogledd Cymru, yn dair cyfrol wythplyg; a chyhoeddwyd, o dan ei olygiad, farddoniaeth Huw Morus, yn ddwy gyfrol deuddegplyg; a gweithiau barddonawl Lewis Glyn Cothi, wythplyg, yr hwn a gyd-olygid ganddo ef a'r Parchedig John Jones—sef, Ioan Tegid.

Bu farw y gŵr enwog hwn, yn ficerdy Llanrhaiadr yn Mochnant, ar y pummed dydd o Ragfyr, 1849, yn y nawfed flwydd a phedwar ugain o'i oedran.

Yn y flwyddyn 1773, ganwyd *Joseph Harris* (Gomer,) yn mhlwyf Llantydewi, yn agos i Hwlffordd. Nid oedd ei rieni yn feddiannol ar gyfoeth, ac felly ni allent roddi nemawr o fanteision addysg iddo—dim ond hyny a allai efe ei gael yn ysgolion cyffredin y wlad, y rhai oeddynt yn llawer gwaelach y pryd hyny nag ydynt yn bresenawl; ond gwnelid y diffyg yma i fynu, i raddau helaeth, drwy awyddfryd angerddol y bachgenyn am wybodaeth, a'i lafur didor i ddarllen pob llyfr y gallai gael gafael arno, a hyny gyda manylrwydd a dwys ystyriaeth. Dywedir y byddai ei dad yn ei geryddu yn fynych am ei ymroad diwyd a dwys i ddarllen, gan ei fod yn ofni i hyny effeithio yn niweidiawl ar ei iechyd, os nid ar ei synwyrau. Ond nid oedd ymliwiadau a cheryddon ei dad yn ddigon grymus i ysgaru rhwng Joseph Harris a moddion gwybodaeth. Yna ei dad a'i llwythai â gwaith a'i cadwai yn dra phrysur ar hyd y dydd; ond y bachgenyn, yn hytrach na chymmeryd ei lesteirio yn ei erlyniad ar ol gwybodaeth, a eisteddai i fynu nosweithiau cyfain. Ac y mae yn ddiau ei fod y pryd hwn wedi gosod i lawr sylfaen ei gymmeriad dyfodawl, fel un yn meddiannu ar feddwl wedi ei ystorio âg amrywiaeth annghyffredin o wybodaeth, trwy yr hyn y'i hynodid yn mhlith ei frodyr, ac y'i galluogid i wasanaethu ei genedl mor fedrus ac effeithiol.

Efe a ddygid gan ei rieni, pan yn blentyn, i wrando y gair yn

yr Eglwys Sefydledig, lle yr arferent hwy gyrchu; ond fel y tyfai i fynu, efe a gyrchai weithiau i Langloffan, lle ag oedd yn sefyll amryw filldiroedd o'i gartref, i wrandaw ar yr Ymneillduwyr; ac yno, yn y flwyddyn 1793, pan yn bedair blwydd ar bymtheg oed, efe a ymunodd â'r Bedyddwyr, ac a fedyddiwyd ar broffes foddhaol o'i ffydd yn Nghrist, gan y Parchedig H. Davies; ac yn y flwyddyn 1796—pan nad ydoedd namyn dwy flwydd ar hugain oed, a thua teirblwydd o grefyddwr—dechreuai bregethu, ar anogaeth y frawdoliaeth yn Llangloffan: ac wedi bod yn pregethu yn nghylch tair blynedd yn ei gymmydogaeth artrefol, gyda defnyddioldeb a chymmeradwyaeth cynnyddol, efe a gymmerodd daith trwy rai o'r eglwysi tu allan i gylch ei gydnabyddiaeth. Daeth i Abertawe gyntaf yn y flwyddyn 1799—y lle a amcanasid gan Ragluniaeth Ddwyfawl i fod yn faes ei lafur hyd derfyn ei oes. Gan fod yr eglwys yn yr Heol Gefn yn amddifaid o weinidog ar y pryd, a'u bod wedi cael llawer o foddlonrwydd yn ngweinidogaeth ac ysbryd Mr. Harris, hwy a roddasant wahoddiad taer iddo i ddychwelyd atynt wedi terfynu ei daith—â'r hyn y cydsyniodd yntau; ac efe a arosodd yn eu plith dros rai misoedd, gan enill cymmeradwyaeth mawr yn eu mysg; ond bu am agos i ddwy flynedd cyn cydsynio i gymmeryd eu bugeiliaeth yn gyflawn arno ei hunan, gan ranu ei amser rhwng Llangloffan ac Abertawe. Ond yn y flwyddyn 1801, efe a symudodd i Abertawe yn hollol; a dyfal fu ei lafur, a rhyfeddol fu ei lwyddiant yno am dymhor maith.

Yr oedd ansawdd llenyddiaeth Gymreig yn dra isel ar gyfodiad Harris; nid ydoedd nifer llyfrau sylweddawl yn yr iaith, ar wahanol gangenau o wybodaeth grefyddol, wladol, a chelfyddydol, ond bach iawn; ac yr oedd yr amddifadrwydd o ysbryd darllen ydoedd yn ffynu mor gyffredinol yn mysg y genedl, yn ddigon i ddigaloni neb un a feddyliai am gyhoeddi dim drwy y wasg Gymreig, gan nas gallent ddysgwyl llai na bod yn golledwyr arianawl trwy yr anturiaeth. Yn yr adeg yma y dechreuai Mr. Joseph Harris ar ei lafur awdurol; a daeth rhagddo yn fuan, fel y cydnabyddid ef yn Dad llenyddiaeth Gymreig y ganrif bresenol.

Yn y flwyddyn 1804, efe a gyhoeddodd draethawd bychan yn erbyn Undodiaeth; yr hwn—er nad oedd ond byr—ydoedd yn dra galluog, ac yn profi ei fod yn gynnyrchiad meddwl annghyffredin. Yn y flwyddyn 1816, cyhoeddodd draethawd arall, "Ar briodol Dduwdod ein Harglwydd Iesu Grist; yn nghyd ag attebion i holl wrthddadleuon y Sosiniaid," yn yr iaith Saesoneg; a'r flwyddyn ganlynol yn Gymraeg. Bu y traethawd hwn yn foddion i beri cynnhwrf annghyffredin yn y wlad: esgob Ty Ddewi—y Dr. Burgess—yn ei gyfarchiad i offeiriaid ei esgobaeth, a arganmolai y llyfryn hwn i'w sylw manylaf; ac Ymneillduwyr uniawngred, o'r gwahanol enwadau, a'i cymmeradwyent yn fawr iawn, ac a gefnogent ei ledaeniad yr un modd.

Ond yr hyn a hynododd Mr. Harris yn benaf ydoedd sefydliad cyhoeddiad cyfnodawl, a'i amcan i ledaenu gwybodaeth gyffredinol yn mysg trigolion yr holl dywysogaeth. Ar ddydd Sadwrn—y dydd cyntaf o Ionawr, yn y flwyddyn 1814—y daeth y rhifyn cyntaf o'r wasg o "Seren Gomer, neu Hysbysydd Wythnosol cyffredinol dros holl dywysogaeth Cymru." Mr. Harris ei hun ydoedd y golygydd, a rhyw ychydig o'i gyfeillion yn ei gefnogi a'i gynnorthwyo yn yr anturiaeth arianol. Yr oedd llafur Mr. Harris gyda'r "Seren Wyth-

nosol" yn fawr iawn, ac yr ydoedd amryw o'r dynion galluocaf a feddai Cymru yn mysg ei ohebwyr—megys y Parch. Eliezer Williams o Lanbedr, Ioan Tegid, Daniel Ddu, P. A. Mon, Iolo Morganwg, Gwilym Morganwg, y Parch. Christmas Evans, y Parch. D. Saunders, y Parch. John Roberts o Lanbrynmair, Iago Trichrug, &c. &c. &c. Ond er y cyfan, bu raid rhoddi y "Seren Wythnosol" i fynu cyn pen y ddwy flynedd, a'r perchenogion gwladgarawl wedi eu colledu *uwchlaw mil o bunnau* yn eu hymdrechion teilwng i wasanaethu eu cenedl!

Ond ar y dydd cyntaf o Ionawr, yn y flwyddyn 1818, efe a gyhoeddai y rhifyn cyntaf o "*Seren Gomer, neu Gyfrwng Gwybodaeth Gyffredinol i'r Cymry,*" i'w gyhoeddi yn fisol; a thrwy ei ymdrechion digyffelyb, llwyddodd i ddwyn y "*Seren*" hon i sefydlogrwydd, drwy gael derbynwyr lluosawg iddi; ac y mae yn ddiameuol iddi fod y moddion penaf i ddeffroi ein cydgenedl i feddwl a barnu drostynt eu hunain, ar destynau crefyddol a gwladol.

Wedi gwasanaethu ei genedl mewn llawer ffordd, heblaw a grybwyllir uchod—yn enwedig trwy gyhoeddiad Beibl Dwy-ieithawg tra hardd—efe a fu farw, er colled yr holl genedl, ar y degfed dydd o Awst, yn y flwyddyn 1825, yn 52 mlwydd oed, wedi cael y saeth angeuawl trwy farwolaeth ei unig fab, "Ieuan Ddu"—gŵr ieuanc annghydmarol o obeithiol.

Gyda golwg ar ddefnyddioldeb y "Seren," dywaid yr enwog fardd a beirniad, *Gwilym Caledfryn*, fel y canlyn—yn ei farwnad i Gomer ac Ieuan Ddu:—

"Wele'r "Seren" wen drwy wi!
O geudod niwl ar godi;
Trwy ei wyll torai allan,
A'r niwl oer wasgarai'n lân:
Ernes a roes o ddiwrnod
Mawr ei ddawn ar Gymru i dd'od.

Rhoes adgyfodiad i fâd ddefodau
Y dywysogaeth; ei dewis seigiau;
A hi a ddygodd ddeg deg o ddegau
O feirddion, o argelion i'r golau;
A thaniodd ddiffrwyth ddoniau—
Hen feirddion,
Oedd wyneb-lwydion, i ail ddwyn blodau.

Gwnaeth ddarllenwyr, cyfansoddwyr,
Bâr yn awdwyr a beirniadon;
Dwnedyddwyr, cywrain rifwyr,
Wych anturwyr, a chantorion.

Allan y daeth llu'n ei dydd—o liwdeg
Oleuadau newydd;
Arweiniai drwy'r wybrenydd
Draw, y rhai'n, â'i phelydr rhydd.

Torodd allan dân doniau—ar unwaith,
Drwy Wynedd a Dehau;
Egin awdwyr, yn gnydau,
Miwail o hyd yn amlhau."

Yn y flwyddyn 1774, y ganwyd *John Elias*, yn mhlwyf Abererch, gerllaw Pwllheli, yn swydd Gaerynarfon. Ei rieni oeddynt dlodion; ond yr oeddynt o ymarweddiad dichlynaidd, ac yn dwyn arnynt eu hunain nodwedd crefyddol, fel y cafodd yntau ei ddwyn i fynu yn ddiargyhoedd o'i ieuenctyd. Ond ni chafodd nemawr ddim manteision dysgeidiaeth—yn unig efe a ddysgid i ddarllen Cymraeg yn dra ieuanc, drwy offerynoliaeth ei daid: a phan nad ydoedd ond bachgenyn bychan—o ddeg i ddeuddeg oed—fel yr oedd efe gyda'i daid yn y Pentref uchaf, un Sabboth, yn hir aros am bregethwr a ddysgwylid yno, dywedai yr hen ŵr wrtho—"Y mae yn drueni fod y bobl yn segur fel hyn; dos di i'r pwlpud yna, a darllen bennod o'r Beibl iddynt;" a chan agor y drws, efe a'i gwthiodd ef i fewn, ac a gauodd arno yno: a'r bachgenyn a ddarllenai ran o bregeth Crist ar y mynydd, gyda'r fath fedrusrwydd ac eglurdeb nes yr ydoedd pawb o'r gynnulleidfa yn synu ac yn rhyfeddu. Dyma y tro cyntaf iddo fod yn yr areithfa, lle yr ydoedd i ragori cymmaint yn ei oes.

Fel llenwr ac awdwr y rhagorai Joseph Harris; ond fel pregethwr ac areithiwr y rhagorai John Elias: ac nid oedd, o holl gawri ei oes, neb yn Nghymru yn deilwng i'w gystadlu âg ef mewn doniau areithyddawl; na neb a gadwodd y fath boblogrwydd âg ef dros oes mor faith.

Dywedai un gweinidog cyfrifawl a pharchus am dano, yr hwn a fuasai yn ei wrando ddegau o weithiau, fel y canlyn:—"Yr oedd rhyw hynodrwydd yn ei ddawn ar bawb a glywais erioed—yn ei bregethu nerthol, yn ei ddull difrifol, ac yn yr argraff a fyddai ei ymadroddion yn ei wneyd ar ei wrandawwyr. Yr oedd yn feistr arno ei hun—yn feistr ar ei fatter—yn feistr ar ei lais—yn feistr ar y gynnulleidfa; ac yn wir, ar ba beth bynag yr ymaflai ynddo. Tebygaf nad gormod a fyddai dweyd am dano, a chymmeryd pob peth at eu gilydd, mai *pen pregethwr ei oes ydoedd.* Llefarai mor nerthol am gwymp dyn, nes y byddem yn teimlo ein hunain megys yn syrthio dros y dibyn i'r eigion obry, ac yn gweiddi wrth ddisgyn, 'Darfu am danom? Nid oes i ni ond carchar tragywyddol? Beth a wnawn!' Ac wedi ein dodi yn euog o flaen y frawdle; ac yn noeth, heb un cerpyn am danom; yn y fan, dangosai drefn Duw yn Nghrist o'n blaen, nes y byddem megys yn teimlo ein hunain yn cael ein codi i fynu o ddyfnderoedd y codwm mawr, yn anghofio ein tylodi, ac heb feddwl am ein blinfyd mwy."

Ychwanegwn y darluniad canlynol o'i nodweddiad fel pregethwr, o waith ysgrifenydd tra medrus:—

"Yr oedd hyawdledd *Mr. John Elias* o'r fath—materion ei bregeth, hylithrwydd ei ymadroddion, grym ei iaith, melltenrwydd ei athrylith, a gwir ysbryd areithyddiaeth yn lluchedenu allan, ac yn bwrw ffaglau fel mynyddau tanllyd mawrion—nes ydoedd y miloedd gwrandawwyr megys pe buasent wedi cael eu synu, a'r pregethwr yn myned adref gyda hwynt, gan aros, byw, a bod yn eu meddyliau, yn eu teimladau, ac yn eu serchiadau." . . . . "Yr oedd ei glywed yn pregethu uwch ben tyrfa o bobl; yr oedd teimlo ei hyawdledd yn ngwres y nef, yn disgyn yn nghyflawnder gwlith Hermon ar y teimladau—ar yr *enaid;* ac yr oedd ei glywed a'i weled yn yr *oll* o hono yn y pulpud, yn gorchfygu y dyn o archwaeth mor hollol, fel nad oedd ganddo lygad i weled, na chlust i glywed,

na thafod i lafaru, gan mor lwyr y llyncid ef gan y pregethwr rhyfeddol hwn."

A thrachefn yr un awdwr a ddywaid—"Y mae yn anhawdd iawn cael pregethwr cyflawn yn mhob peth; oblegyd y mae tuedd mewn pregethwyr, fel ag y mae mewn dynion ereill, i ochri at ryw bethau, ac i fod yn enwog ynddynt yn fwy nag mewn pethau ereill. Ambell bregethwr a ragora fel esponiwr, y llall fel beirniad, un arall fel athrawiaethwr, arall fel pregethwr dyledswyddau, arall fel taranwr, arall fel efangylwr; ac fel hyn y mae un yn enwog ac yn rhagorawl gyda'r peth hwn, ac arall gyda phethau ereill. Ond am Mr. John Elias, nid ydoedd yn fwy rhagorol yn y naill mwy na'r llall. Pwy yn rhagorach nag efe fel beirniad? Pwy yn eglurach nag efe fel esboniwr? Pwy yn gadarnach nag efe fel ysgrythyrwr? Pwy yn fanylach nag efe gyda phwnc o athrawiaeth? Pwy yn alluocach nag efe i bregethu dyledswydd? Yr oedd yn gyflawn yn yr hyn oll ag sydd yn perthyn i bregethu, ac ni ellir dywedyd ei fod yn rhagori yn y naill mwy nag yn y llall; oblegyd yr ydoedd mor ragorol, ac yn tra rhagori, yn mhob peth ag sydd yn hanfodawl i wneuthur pregethwr mawr. Os gellir dywedyd ei fod yn hynod mewn un peth, yn ei amrywiaeth yr oedd efe hynotaf; oblegyd yr ydoedd yn ddihysbyddedig ar bob peth, ac yn mhob dim a gymmerai mewn llaw. Yr oedd gartref ar bob pwnc; yr oedd pob llyfr ag ydoedd wedi ei ddarllen, yn ei ben, ac wedi ei argraffu ar ei gof; yr oedd wedi meddwl ar bob peth; a'r trysorau hyn yn barod ganddo wrth law, i'w defnyddio ar y prydiau yr oedd achlysuron yn gofyn am hyny, ac nid ar unrhyw amserau ereill."

Y mae yr un awdwr yn myned yn mlaen drachefn, ac yn dywedyd—"Annichonadwy a fuasai iddo ymgynnal yn ei boblogrwydd, oni buasai bod ffynhonell ei amrywiaeth yn ddihysbydd; nid mewn un gymmanfa, unwaith yn y flwyddyn, y pregethai efe; ond mewn llawer o gymmanfaoedd yn nghorff yr un flwyddyn; pregethai yn mhob cyfarfod misol yn sîr Fon, pan fyddai gartref; pregethai yn nghyfarfodydd mawrion y siroedd; pregethodd ugeiniau o weithiau yn achos Cymdeithas y Beiblau, yn achos Cymdeithas Genhadol Llundain, ac ar wahanol achosion ereill; ac y mae yn rhaid bod ei adgyfnerthion—ei gronfeydd—yn helaethion tu hwnt i amgyffred, amgen ni allasai ddal i fynu mewn sylw—cadw ei boblogrwydd—a gwneuthur y fath argraffiadau ar ei wrandawwyr ag oeddynt wedi ei wrandaw gannoedd o weithiau; a'i bregeth olaf yr un fwyaf blasus, ac yn cyfodi mwy o hiraeth am glywed pregeth newydd ganddo drachefn."

Dylanwadodd Mr. John Elias fwy na neb yn ei oes, efallai, er codi trigolion Cymru yn gyffredinol i wrando pregethiad yr efengyl; ac nid ychydig a fu ei ddylanwad yn ddiau er gwellhau yr arddull cyffredin o bregethu, yn mysg y Trefnyddion Calfinaidd o'r hyn lleiaf. Drwy ystod tymhor maith ei weinidogaeth, rhagorai yn mysg ei frodyr mewn ymdrechiadau gwresog i ddiwygiaw moesau ei gydgenedl, ac i wrthsefyll ffyniant llygredigaethau yn eu plith; a phan ymddangosodd y Gymdeithas Ddirwestol yn Nghymru, taflodd rym ei ddylanwad mawr o'i thu, a pharhaodd i'w phleidio hyd ddiwedd ei einioes.

Nis gallaf derfynu y crybwyllion hyn yn well nag y y llinellau

darluniadol a ganlyn, o eiddo yr hyglod fardd, *Mr. Ebenezer Thomas*, o Glynog:—

* * * *

"Pan esgynai i'r areithfa,
  Tawai myrddiwn ger ei fron;
A'i ddistaw wên yn creu teimladau,
  Pob amrywiau—prudd neu lon:
Edrych dro—yn fud, o amgylch,
  Ar y dyrfa f'ai gerllaw—
Saethai'i drem y fath ddylanwad
  A roddai luaws yn ei law!

Dywedai'r gair—tynerai anian!
  Lawr â'i law—ac wylai myrdd;
Gwrol wgai—beilchion grynent,
  Gwelwai'r coegddyn ffol ei ffyrdd:
Ei law codai—bloedd gorfoledd
  A ddadseiniai drwy y llu,
'Roedd hyd yn nod ei *atal-d'wedyd*
  Yn gyfwng o hyawdledd cu.

Pan f'ai rhes o feddylddrychau
  Yn llenwi'i enaid eang mawr,
A throellau iaith yn rhy ddiffygiol
  I gyfleu y rhai'n ar lawr;
Estynai'i fraich—dyrchafai'i olwg,
  Crynhoai ei wefusau per,—
A'i DDULL ro'i fawredd ar bob meddwl,
  Uwchlaw un iaith o dan y ser."

Bu farw Mr. John Elias—er mawr argyllaeth i'w gydwladwyr yn gyffredinol, ac i gyfundeb y Trefnyddion Calfinaidd yn neillduol—ar yr wythfed dydd o Fehefin, yn y flwyddyn 1841, yn saith mlwydd a thriugain oed. Rhoddwyd ei gorph i gydorphwys â chorph ei gyfaill a'i gydlafurwr, Mr. Richard Lloyd, yn mynwent Llanfaes, gerllaw Beaumaris, yn Mon.

*John Blackwell* a anwyd yn y Wyddgrug, yn swydd Fflint, yn y flwyddyn 1797. Ei rieni oeddynt mewn amgylchiadau isel; ac efe a ddygwyd i fynu yn grydd, yr hon alwedigaeth a ddylynodd efe am lawer o flyneddoedd; ond yr ydoedd ei awydd am lyfrau, a'i syched am wybodaeth, yn ddidor.

Ar gyfrif ei dalentau barddonawl ysplenydd, efe a etholwyd yn yn fardd i Gymdeithas Cymreigyddion Rhuthyn, yn y flwyddyn 1823, gan yr hon hefyd y derbyniodd efe ei dlws arian cyntaf, am ei awdl fuddugawl ar enedigaeth Iorwerth yr Ail, yn Nghymru—a gwobrwy arall, am araith ar ragoriaethau yr iaith Gymraeg. Yn mis Mai, yr un flwyddyn, efe a enillodd ddau wobrwy yn Eisteddfod Caerwys; ac yn Eisteddfod yr Wyddgrug, yn yr Hydref canlynol, enillodd y prif wobrwy am yr awdl oreu ar destyn y gadair—sef, "Maes Garmon;" ac un arall am yr araith oreu ar "Undeb a Brawdgarwch."

Yn Medi, 1824, enillodd dlws Eisteddfod Powys, yr hon a gynnelid yn y Trallwng—am y traethawd Cymraeg goreu ar yr "Iaith Gymraeg." Tua diwedd y flwyddyn hon, efe a alluogwyd i fyned i goleg yr Iesu, yn Rhydychain, trwy gyfraniadau haelfrydig rhai boneddwyr a fawrhaent ei athrylith; ac yn mis Mehefin, 1828, efe a gafodd ei raddu yn Febydd y Celfyddydau. Yn Hydref y flwyddyn hono, dyfarnwyd gwobrwy Eisteddfod Dinbach iddo, am ei bryddest ragorawl ar "Farwolaeth yr Esgob Heber." Yn mis Ionawr, yn y flwyddyn 1829, efe a ordeinid i guradiaeth Treffynon; a thra fu yn aros yno, ysgrifenai yn dra helaeth i'r cyhoeddiad misawl hwnw, y "Gwyliedydd."

Nid arosodd namyn pedair blynedd yn Nhreffynon; canys dygasid ef i sylw yr Arglwydd Ganghellydd Brougham—yr hwn, ar gyfrif ei dalentau gloywon, a'i cyflwynodd i'r fywioliaeth Gymreig gyntaf a ddaeth yn wag yn ei noddaeth; a hono ydoedd Manor Deifi, yn swydd Benfro, i'r hwn le y symudodd yn y flwyddyn 1833. Cafodd cyflyfr o fisolyn gwerthfawr—dan yr enw y "*Cylchgrawn*"—ei gyhoeddi o dan ei olygiad, trwy anogaeth a than nawdd y Gymdeithas er lledaeniad Gwybodaeth fuddiol, yn fuan ar ol ei ymsefydliad yn y lle hwn; ond er cystal ydoedd y cyhoeddiad, ac er galluoced y golygid ef gan Mr. Blackwell, aflwyddiannus a fu—yr un modd a'r rhan fwyaf o gyhoeddiadau ansectaidd a gynnygiwyd o dro i dro yn Nghymru.

Bu farw y dyn tra galluog yma ar y pedwerydd dydd ar bymtheg o Fai, yn y flwyddyn 1840, yn dair mlwydd a deugain oed. Y mae cyflyfr hardd—yn cynnwys ei gofiant, a detholion o'i gyfansoddiadau—wedi ei chyhoeddi yn ddiweddar, gan Mr. I. Clarke, Rhuthyn, dan yr enw "Ceinion Alun."

*Rice Rees* ydoedd fab i Mr. Dafydd Rees, o'i wraig Sara—ail ferch Mr. Rice Rees, o Lanymddyfri, swydd Gaerfyrddin—ac a anwyd yn Tonn, plwyf Llandingad, ar y 31ain o Fawrth, yn y flwyddyn 1804. Derbyniodd egwyddorion cyntaf addysg yn yr ysgolion cyffredinawl oeddynt i'w cael yn y gymmydogaeth lle y ganesid ef; ond yn y flwyddyn 1819, efe a symudodd i ysgol ramadegawl Llanbedr, yn swydd Aberteifi, yr hon ydoedd y pryd hyny o dan ofal y Parch. Eliezer Williams, ficer y plwyf hwnw. Gan i'r athraw a nodwyd farw cyn i Rees fod nemawr dan ei addysgiaeth, daeth y Parch. John Williams—archddiacon presenol Ceredigion, a phrif athraw yr athrofa Gymreig yn Llanymddyfri—i'w olynu fel athraw yr ysgol yn Llanbedr; a rhoddai y ddau athraw dysgedig a grybwyllwyd air da i Rees, fel gŵr ieuanc tra ymroddgar. Yn y flwyddyn 1822, efe a aeth i goleg yr Iesu, yn mhrif ysgol Rhydychain; ac efe a etholwyd yn ysgolor o'r Gymdeithas hono, yn mis Rhagfyr, yn y flwyddyn 1825, ac yn gymmrawd yn Rhagfyr, 1828. Efe a gymmerodd ei radd o Febydd y Celfyddydau yn y flwyddyn 1826—o Athraw y Celfyddydau yn 1828—ac o Febydd Dwyfyddiaeth yn 1837. Efe a ordeiniwyd yn ddiacon, yn Rhydychain, yn y flwyddyn 1827, ac yn offeiriad yn 1828.

Pan oeddid ar agor coleg Dewi Sant, yn Llanbedr, yr oedd yn ofynawl bod un o'r rhai a benodid i hyfforddi yr efrydwyr, yn hyfedr yn yr iaith Gymraeg, yn gystal ag yn yr ieithoedd clasurol; a phan wnaethpwyd ymofyniad am un meddiannol ar y cymhwys-

derau angenrheidiawl er cyflawni y fath swydd, meddyliwyd am Rees; a'i ymddygiad diargyhoedd, ei ddiwydrwydd llenyddawl, yn nghyda'i gymmeriad uchel fel ysgolhaig yn y brif ysgol, a barodd iddo gael ei ddewis i'r sefyllfa bwysig o fod yn Athraw Cymreig a chlasurawl, yn nghyda Llyfrgellydd y sefydliad; ac felly, efe a ddechreuodd ar ddyledswyddau ei sefyllfa ar agoriad y coleg—y dydd cyntaf o Fawrth, yn y flwyddyn 1827. Yn nghyflawniad ei swyddau, yr oedd ei fanylrwydd am gyflawni pob dyledswydd yn gydwybodawl, ei bryder am gynnydd yr efrydwyr, a'r modd galluawg yn yr hwn y cyfranai addysg, yn nghyda'i ledneisrwydd cyffredinol—yn peri nid yn unig i'w gydswyddwyr henach ei hoffi, ond hefyd i'r holl rai a arferent wrandaw ar ei ddarlithiau ei garu a'i barchu yn fawr iawn.

Yn fuan wedi dechreu ar ei ddyledswyddau colegawl, penodid yr Athraw Rees, gan ei esgob, yn un o'i arholyddion Cymreig—swydd y rhai ydoedd profi cymhwysderau offeiriaid i weini mewn plwyfau lle y ffynai yr iaith Gymraeg; ac o'r diwedd, efe a enillodd gymmaint o ymddiried ei esgob, fel am y ddwy flynedd olaf o'i fywyd, yr ydoedd rhan bwysig o'r arholiad cyffredinol—cystal a'r arholiad yn yr iaith Gymraeg—ar ymgeiswyr am urddau cyssegredig, wedi ei ymddiried iddo ef; ac yn mis Hydref, yn y flwyddyn 1838, efe a dderbyniodd y penodiad ffurfiawl o fod yn gapelwr teuluaidd i'w arglwyddiaeth.

Gan i bwyllgor Cymdeithas Gymreigyddawl y Deheubarth gynnyg gwobrwy am y "Traethawd goreu ar y Cofion o'r Prif Gristionogion, gan y rhai y seilid yr Eglwysi Cymreig"—efe a dueddid i fod yn ymgystadleuydd; ac yn y feirniadaeth ar y cyfansoddiadau, yn Eisteddfod Caerdydd, yn y flwyddyn 1835, cyhoeddid mai ei draethawd ef ydoedd yr un buddugol, a rhoddid cymhelliad cryf gan y beirniaid i'w gyhoeddi. Wedi cyfnod o rai misoedd, yn ystod yr hwn yr ychwanegid at y traethawd, ac y gwellheid llawer arno, fe'i cyhoeddwyd tua diwedd y flwyddyn 1836, o dan y teitl—"Traethawd ar y Seintiau Cymreig, neu y Prif Gristionogion, y rhai a gyfrifir yn gyffredin yn seilwyr Eglwysi yn Nghymru:" Llanymddyfri, wythplyg. Y farn gyffredinol am dano, ar ei ymddangosiad drwy y wasg, ydoedd—ei fod yn waith pwysig a galluog, ar ran dywell o hanesyddiaeth Gymreig; ac y mae yr awdurdod a gyfrifir yn perthyn iddo, gan awduron enwog, a'r dyfyniadau a wneir o hono, yn nghyda'r cyfeiriadau mynych a wneir ato, mewn cyfansoddiadau cyfrifol ar ol hyny—yn profi yn amlwg nad oedd y bri a roddid arno, ar ei ymddangosiad cyntaf, yn annheilwng.

Ar gyfrif ei gyrhaeddiadau rhagorol mewn llenyddiaeth Gymreig, darfu i esgob Ty Ddewi ei ethol ef i gydweithredu â gwŷr dysgedig ereill—y rhai a benodid mewn cyffelyb fodd, gan esgobion y taleithiau Cymreig ereill—i adolygu a diwygiaw y cyfieithiad Cymraeg o'r Llyfr Gweddi Gyffredin; a'r galluogrwydd anarferol a amlygai yn y gorchwyl hwnw, a barai i'w gydlafurwyr ei barchu yn fawr, er eu bod yn llawer henach nag ef.—Yr oedd yr adolygiad yma bron ar gael ei orphen pan y bu efe farw.

Un o'i orchwylion llenyddawl ef, ar yr un pryd, ydoedd adolygu pryddestau Cymreig y Parchedig Rees Prichard, gynt ficer Llanymddyfri, a elwid "Canwyll y Cymry." Yr ydoedd wedi myned can belled a'r canfed tudalen o'r gwaith yma, pan y daeth angeu heibio

iddo, ac y rhoddes derfyn disymwth ar ei orchwyl. Cyhoeddwyd y gwaith hwn, yn nghyda chofiant o'i awdwr duwiolfrydig, yn y flwyddyn 1841; ac y mae yn ddiau mai hwn yw yr argraffiad goreu o waith yr hen ficer a ymddangosodd yn ein gwlad.

Yr ystyriaeth o'i nodweddiad tra uchel, yn nghyda'i alluogrwydd llenyddawl, a barai i Gymdeithas yr Ysgriflyfrau Cymreig geisiaw ganddo ddyfod yn olygydd y "*Liber Landavensis*" (Llyfr Llandaf); ac er ei fod yn orlwythog eisoes gan orchwylion ereill, ei ddymuniad cryf i feithrin llenyddiaeth Gymreig a barodd iddo gydsyniaw â'u cais; ac yr oedd efe newydd ddechreu ar y gorchwyl, pan y'i cymmerwyd yn glaf yn ddisymwth, fel ag yr ydoedd yn teithio ar farch; ac efe a fu farw ar y ffordd fawr, yn agos i Bont Newydd ar Wy, yn swydd Frecheiniog, ar yr ugeinfed dydd o Fai, 1839, pan yn 36 mlwydd oed!

Heblaw adolygu Llyfr Llandaf, yr oedd efe hefyd yn bwriadu ysgrifenu Hanes Brydain yn yr oesoedd boreuaf, a chyhoeddi gramadeg o'r iaith Gymraeg; ond trwy ddyrnod disymwth marwolaeth, efe a gymmerwyd ymaith cyn canol dydd einioes, a siomwyd y byd llenyddol am ei gynnyrchion bwriadol.

*John William Thomas* (Arfonwyson,) a anwyd yn mhlwyf Llandegai, ger Bangor, yn y flwyddyn 1805. Pan yn saith mlwydd oed, anfonid ef i'r ysgol i Bentir, yn agos i'r lle y'i ganesid; ac yno y bu am tua thair blynedd, ac y dysgodd ddarllen ac ysgrifenu.

Yn y flwyddyn 1822, ymgymmerodd â'r gorchwyl o gario llyfrau ar hyd y wlad i'w gwerthu, o herwydd y manteision a fwynhai yn yr alwedigaeth hono i ymgydnabod â llyfrau, ac i foddio ei awydd didor am ychwanegiad gwybodaeth. Y flwyddyn ganlynawl i hyny, efe a'i rhoddes ei hun dan addysgiant y diweddar Robert Roberts o Gaergybi, awdwr y "Daearyddiaeth;" ond gan nas gallai ymgynnal yno yn hwy nag un chwarter blwyddyn, efe a ymadawodd, ac a agorodd ysgol ei hunan yn ei hen gymmydogaeth, yn mhentref Tref y Garth. Tra yn aros yno, efe a ddechreuodd ysgrifenu "Elfenau Rhifyddiaeth," ac "Athraw i'r Cymro Ieuanc," o'r rhai ni chyhoeddwyd onid ychydig rifynau, tua'r blyneddoedd 1831 ac 1832. Yn y flwyddyn 1834, cyhoeddodd "Eiriadur Cymreig a Seisonig" o faintiolaeth bychan; ac oddeutu yr un pryd, efe a olygai gyhoeddiad misawl o'r enw "Tywysog Cymru," yr hwn a gyhoeddid yn Nghaerynarfon.

Tua diwedd y flwyddyn hon, efe a symudodd i Lundain, a bu dros rai misoedd yn ngwasanaeth y diweddar Mr. W. Cobbett, A.S. Ac yn fuan wedi hyny, efe a benodwyd yn arolygydd yn yr Arsyllfa Freninawl yn Greenwich, lle y treuliodd efe weddill byr ei oes. Tra fu yn aros yn y brif ddinas, efe a gyhoeddodd lyfryn bychan tra gwasanaethgar i athrawon yr Ysgolion Sabbothawl, a elwir "Trysorfa yr Athrawon."

Bu farw y dyn hynod hwn ar y deuddegfed dydd o Fawrth, yn y flwyddyn 1840; a chladdwyd ef yn mynwent blwyfol Greenwich, heb gymmaint a chareg i nodi ei fedd!

Ni oddef fy ngofod i mi ymhelaethu, onite gallem adrodd pethau tra dyddorawl o berthynas i amryw ereill o'n cydgenedl a gyrhaeddasant enwogrwydd odditan anfanteision, ag ydynt wedi terfynu eu

dyddiau, a gorphwys oddiwrth eu llafur, Ond y mae yn mysg y byw rai Cymry heddyw ag y mae eu henwogrwydd yn gyfled â gwareiddiad dynoliaeth o'r bron. Mewn mesuroniaeth saif—

*Gruffudd Davies*, Yswain, Cymmrawd o'r Gymdeithas Freninol, yn dra uchel; a rhoddir yr ymddiried mwyaf yn ei daflenau rhifyddol, drwy Ewrob a'r Amerig, a'r holl drefedigaethau Prydeinaidd; yn gymmaint felly, meddir, fel nad oes un rhifyddwr o enwogrwydd a gynnygia edrych dros gyfrifon, os gwel eu bod wedi eu tanysgrifio âg enw Gruffudd Davies. Ond gweithiodd y gŵr hwn ei ffordd i'r sefyllfa uchel a derchafedig y mae ynddi yn bresenawl, trwy lafur dybryd, gonestrwydd, a chynnildeb; ac er ei fod yn cael edrych arno, a'i barchu, gan rai o'r gwŷr mwyaf yn y brif ddinas, y mae mor Gymreig ddirodres ag ydoedd pan yn gweithio yn galed, ac yn dysgu elfenau cyntaf Rhifyddiaeth, yn Nant Nantlle, yn fachgenyn gwledig.

Un o'r maen-gerfwyr enwocaf yn y byd ydyw *John Gibson*, Ysw. o Rufain; yr hwn a anwyd ar lanau afon Gonwy—a fagwyd tua'r Castellor, yn Mon—a fu yn egwyddorwas o goed-gerfiwr yn Llynlleifiad i ddechreu, ac oddiyno a symudodd i Lundain i ddysgu y gelfyddyd o faen-gerfiadaeth; ac yn awr y mae yn yr Eidal, yn flaenaf yn ei gelfyddyd, a Phrydain yn ymfalchïo ynddo fel un o'i meibion, a phendefigion a thywysogion yn ei ystyried yn anrhydedd iddynt gael eu cyfrif yn gyfeillion iddo. Ond y mae Cymru yn sefyll o'r neilldu, ac yn gwenu wrth eu canfod megys yn ymryson am anrhydeddu un o blant ei gwerin; ac nid yw yntau, yn nghanol ei holl urddas, wedi annghofiaw gwlad ei enedigaeth a'i faboed; a phan y bu efe drosodd yn Mrydain, rai blyneddoedd yn ol, efe a aeth i droedio gwyneb Cymru, gan alw i ymweled â rhai o'i geraint ydynt eto ar gael. A pha fodd y cyrhaeddodd efe y sefyllfa uchel a derchafedig hon? Trwy ymroad penderfynol i ragori yn ei alwedigaeth; trwy ymataliad cyssegredig oddiwrth bob afradlonrwydd ac oferedd; a thrwy gymmeryd y celfyddydwyr perffeithiaf yn gynlluniau i'w hefelychu.

---

Gwelwn gan hyny, oddiwrth y sylwadau blaenorawl, nad ydyw cenedl y Cymry yn ol i genedloedd ereill y byd, mewn galluoedd addas i ymwneyd â'r gwyddonau a'r celfyddydau goruchaf, ond iddynt gael moddion cyfaddas i dynu y galluoedd hyny i weithrediad priodol.

Y mae y meddwl dynol yn debyg i'r golofn farmor—yn yr hon y mae y ddelw harddaf yn gorwedd; ond rhaid cael cŷn y crefftwr medrus i'w thynu allan; ac o naddiad i naddiad, drwy ymroad a diwydrwydd, y dwg y celfyddydwr ei ddelw i amlygrwydd, yn ei gogoniant a'i mawrwychedd: ac megys y mae llafur dyfal yn angenrheidiol i wneuthur delw hardd o'r gareg arw, y mae cyffelyb lafur diwyd yn ofynol i goethi y meddwl dynawl, a'i gyfoethogi â gwybodaeth fuddiol.

Bydded yr ystyriaethau blaenorol yn effeithio er symbylu llawer iawn o ieuenctyd ein cenedl i ymroddi i lafur a gwyliadwriaeth, fel y byddo iddynt gynnyddu mewn gwybodaeth, medrusrwydd, a defnyddioldeb; ac yr enillont iddynt eu hunain, dan fendith y Goruchaf, "*radd dda.*"

# MYNEGAI I'R DARLITHIAU.

Darlith IX.



Darlith X.



Darlith XI.



Darlith XII.



Darlith XIII.



Darlith XIV.



Darlith XV.



ARGRAFFWYD GAN W. EDWARDS AND CO., PWLLHELI.

